# HANES CREFYDD
## YN NGHYMRU,
O'R
## AMSER Y DAETH Y CYMRY
I
## Ynys Brydain,
## HYD YR AMSER PRESENNOL,

---


GAN D. PETER,

*Gweinidog yr Efengyl, ac Athraw yr Athrofa, yn Nghaerfyrddin.*


---

YSTYRIAIS Y DYDDIAU GYNT, BLYNYDDOEDD YR HEN OESOEDD.
*Salmydd.*

Y GWIR YN ERBYN Y BYD.

---


*CAERFYRDDIN:*

ARGRAFFWYD GAN J. EVANS, YN HEOL-Y-FARCHNAD.

1816.

# RHAGYMADRODD.

MAE hanes crefydd yn gyffredinol yn ddefnyddiol i helaethu gwybodaeth o bethau perthynol i'n dedwyddwch, i gadarnâu ein ffydd yn athrawiaethau yr efengyl, i helaethu ein cariad at Dduw a dyn, ac i lanw ein calonau â sêl dros y gwirionedd. Llawer o hiliogaeth Gomer, wrth ystyried y pethau hyn, a hiraethent er ys blynyddoedd lawer am gael hanes rheolaidd o grefydd yn Nghymru. Ond gan nad oedd neb yn debygol i gymmeryd y gorchwyl hwnw yn llaw yn fuan, a minnau yn cael annogaeth ddigonol gan lawer o'm cydwladwyr dëallus i ysgrifenu y cyfryw hanes, mi a ddechreuais y gwaith, a thrwy gymhorth Duw y mae yn awr wedi ei orphen. Pa dderbyniad bynag a gaffo yr Hanes hwn gan y cyffredin, gallaf ddywedyd yn hŷ, na atteliais na thraul na llafur, i'w wneuthur yn deilwng o sylw y dysgedig, y dëallus, a'r diduedd, y'mhlith pob plaid o Gristianogion; ac er mor anmherffaith yw, gobeithio y bydd yn foddion i helaethu gogoniant Duw, ac i wneuthur lles i'r Cymry. Gorphenaswn y llyfr hwn er ys talm, oni buasai i amgylchiadau annysgwyliadwy i'm lluddias. Cynnyddodd hefyd i faintioli mwy nag oeddwn ar y cyntaf yn ei fwriadu, oblegid i mi, gwedi ei ddechreu, gael gwybodaeth o lawer o bethau ychwanegol, ag oedd yn deilwng o gael eu gosod ynddo; ond hyderaf na bydd yn llai cymmeradwy oblegid hyny. Gan na chefais enwau yr holl dansgrifwyr, bernais mai gwell oedd gosod i lawr enwau y gweinidogion, ac ereill, at y rhai yr anfonid yr hanes, a'r nifer a gymmerent, nac argraffu cofrestr anmherffaith o'r tansgrifwyr.

Gan ddymuno bendith yr Arglwydd ar y llyfr hwn i bawb a'i darlleno,

Ydwyf eich ewyllysiwr da yn Nghrist,

D. PETER.

*Caerfyrddin*, *Ebrill*, 1816.





# COFRESTR O DANSGRIFWYR.

A.

Abel, Parch. J. Cydweli, 9
Aaron, Mr. L. Abergwyli
Astudwyr, 12

B.

Bagnall, Parch. J. Caerfyrddin, 2
Bowen, Mr. D. Brynchwith, 5
Bowen, Mr. H. Wernfadog, 24
Batten, Parch. Mr.
Beynon, Mrs. Pilrhoth

C.

Cooper, Mr. R. Llangollen, 6

D.

Davies, Parch. D. Llanybri, 22
David, Mr. T. Pencader, 12
Davies, Mr. T. Gwernoge, 36
*Davies*, Parch. D. Sardis, 37
*David, Mr. E.* Caerfyrddin, 24
Davies, Parch. W. Abergwaun, 10
Davies, Mr. D. Hawen, 24
Davies, Parch. D. Llwynrhydowen, 20
Davies, Parch. E. Cilgwyn, 20
Davies, Parch. R. Casnewydd, 24
Davies, Parch. S. Maendy, 12
Davies, Parch. J. Alltwen, 24
Davies, Parch. D. Castellnedd, 2
Davies, Mr. B. Llangefni, 12
Davies, Parch. J. Llandilo
Davies, Dr. Caerfyrddin
Davies, Mr. W. Voelycwen
David, Mr. J. Ironmonger

E.

Evans, Parch. B. Student, 15
Evans, Parch. J. St. Clears, 12
Evans, Parch. B. St. Florence, 6
Evans, Parch. W. Hebron 12
Evans, Mr. E. Fron-goch, 32
Evans, Parch. B. Trewen, 7
Evans, Parch. Mr. Rhaiadr, 2
Edwards, Parch. Mr. Castellnedd, 24
Evans, Parch. T. Merthyr, 2
Evans, Mr. E. Llanbrynmair, 24
Evans, Parch. B. Ruthin, 24
Evans, Mr. J. Argraffydd, 124
Evans, Parch. Mr Towycastle
Edwards, Parch. E.
Evans, Mr. E. Caerfyrddin
Evans, Mr. Ed. o'r un lle
Evans, Mr. D. o'r un lle
Evans, Mr. Felin-esgob
Evans, Mr. W. Abergwyli
Edwards, Yswain, R. Nant yr Eglwys
Edwards, Mr. Caerfyrddin

F.

Francis, Parch. D. Ludlow

G.

George, Parch. H. Brynberian, 13
Griffiths, Mr. J. Grove, 9
Griffiths, Parch. B. Trefgarn, 19
Griffiths, Parch. G. Machynlleth 18
Griffiths, Parch. T. Horeb, 13
Griffiths, Parch. G. Llechryd, 14

H.

Harries, Mr. J. Saron, 33
Harries, Parch. Mr. Rhodiad, 25
Harries, Parch. Mr. Fenni, 2
Hughes, Parch. W. Crocswen, 24
Howells, Parch. R. Baran, 12
Hopkins, Mr. J. Abertawe, 42
Hughes, Parch. W. Dinasmawddi, 13
Harries, Mr. J. Pistillgwyn
Hodges, Mr. R. Caerfyrddin
Hughes, Parch. Mr.
Harries, Mr. Maesyprior

J.

Jones, Parch. M. Treleach, 15
Jones, Parch. J. Rhydybont, 24
Jones, Parch. D. Crugybar, 24
Jenkins, Parch. P. Brychgoed, 36
Jones, Parch. D. Maesyronen, 28
Jones, Parch. E. Pontypool, 13

James, Parch. W. Caerdydd, 24
Jones, Parch. J. Aberdare, 36
Jones, Parch. M. Cymmar, 55
Jones, Parch. M. Merthyr, 24
Jones, Parch. A. Bangor, 36
Jones, Parch. T. Dinbych, 48
Jones, Mr. J. Caernarfon, 26
Jones Mr. R. Llanfyllin, 12
Jones, Parch. W. Salem, 36
Jones, Mr. D. Cwmmanog, 12
Jones, Parch. W. Trawsfynydd, 12
Jones, Parch. B. Pwllheli, 30
Jones, Mr. Ed. Llanerchmedd, 12
Jones, Mr. En. o'r un lle 12
Jenkins, Parch. Mr. Meydrim
Jones, Parch. Mr.
James, Parch. Mr.
Jones, Mr. H. Caerfyrddin
Jones, Mr. D. o'r un lle
Jones, Mr. C. o'r un lle
Jones, Mr. D. o'r un lle
Jones, Mr. E. Penycoed
Jones, Mr. H. Rhiwdywyll

L.

Lewis, Mr. E. Pant, 12
Lewis, Parch. W. Tredwstan, 28
Lewis, Parch. Dr. Llanuwchlyn, 24
Lewis, Parch. J. Bala, 18
Lewis, Mr. L. Ffósgota, 7
Loyd, Parch. J. Henllan, 30
Loyd, Parch. Mr. Cilpull, 12
Lewis, Mr. D. Bank, Caerfyrddin
Lewelyn, Mr. J. Postmaster
Lewis, Mr. T. Caerfyrddin
Lewis, Parch. Mr. Conwyl
Loyd, Miss. E. Pontgowyn
Lewis, Mr. M. Merchant

M.

Morgans, Parch. J. Pentretygwyn, 17
Morgans, Parch. Mr. Wernole, 20
Morse, Mr. Graig, 14
Maurice, Parch. P. Ebenezer, 14
Meredith, Mrs. Bermo, 2
Morris, Parch. J. Buckley Mountain, 12
Morgans, Mr. T. Caerfyrddin
Morris, Mr. J. Caerfyrddin
Morgans, Miss E. Caerfyrddin

P.

Phillips, Parch. T. Neuaddlwyd, 56
Powel, Parch. Mr. Cross Inn, 12
Powel, Parch. T. Dinbych, 36
Phillips, Mr. H. Caerfyrddin
Price, Parch. Mr. o'r un lle

R.

Rhydero, Mr. W. Caerfyrddin, 36
Roberts, Mr. T. Nazareth, 24
Rees, Parch. W. Bridgend, 6
Rees, Mr. T. New Inn, 12
Rowlands, Mr. S. New Inn
Rogers, Parch. Mr.
Rowe, Mr. Cwme
Roberts, Parch. G. Warminster
Rees, Mr. W. Landilo

S.

Shadrach, Parch. A. Talybont, 26
Smith, Mr. R. Caerfyrddin

T.

Thomas, Mr. B. Narberth, 2
Thomas, Mr. D. Penllyn, 10
Thomas, Mr. J. Cwmmawr, 17
Thomas, Parch. D. Penmain, 24
Thomas, Parch. O. Carrog, 24
Thomas, Parch. W. Langynwyd, 24
Thomas, Mr. J. Llundain, 24
Thomas, Mr. D. Caerfyrddin
Thomas, Mr. R. o'r un lle
Thomas, Mr. J. o'r un lle
Thomas, Mr. D. o'r un lle
Thomas, Parch. W. Llangendeyrn

V.

Vaughan, Mr. G. Wernchwyth, 17

W.

Waters, Parch. Mr. New Inn, 24
Williams, Parch. D. Lanwrtyd, 48
Williams, Parch. A. Llanbedr, 12
Williams, Parch. D. Llanfairmuallt, 20
Williams, Parch. Mr. Tabernacle, 12
Williams, Mr. D. Merthyr, 14
Williams, Parch. M. Nottage, 6
Williams, Parch. W. Wern, 30
Williams, Mr. J. Caerfyrddin

# Y CYNNWYSIAD.

## CYN GENEDIGAETH CRIST. *Tu dalen* 1—45.



## CANT I. *Tu dalen* 46—66.

CANT VI. *Tu dalen* 145—189.

CANT VII. *Tudalen* 189—216.

CANT XIII. *Tu dalen* 318—341.



CANT XIV. *Tu dalen* 342—357.

CANT XVII. *Tu dalen* 489—603.

# HANES CREFYDD

YN

# Nghymru.

---

DUW, yr hwn sydd bob amser yn ymhyfrydu yn nedwyddwch ei greaduriaid, a chydâ'r doethineb a'r cyfiawnder mwyaf yn trefnu eu holl achosion hwynt, a ranodd y ddaear rhwng meibion Noah. Yn y rhaniad mawr hwnw, yr hwn a wnaethpwyd ynghylch can mlynedd yn ôl y diluw,[a] rhoddwyd ynysoedd y cenhedloedd || i Japheth a'i hiliogaeth.[b] Ond fel ag y mae y mesurau doethaf yn cael eu diystyru yn fynych gan feibion dynion, llawer o hiliogaeth Noah a amlygasant radd fawr o anewyllysgarwch i fyned i'r gwledydd hyny a roddasid iddynt gan eu Creawdwr a'u Llywodraethwr doeth. A chydâ bwriad i wrthwynebu amcanion yr Hollalluog, a thragywyddoli eu henwau eu hunain, hwy a ddechreuasant adeiladu dinas a thŵr i fod yn ganolbwynt

Duw yn rhanu y ddaiar rhwng meibion Noah.

A

[a] Gen. x. 25. || Europ a rhanau gorllewinol Asia a elwid felly yn nyddiau Moses. [b] Gen. x. 5.

bwynt undeb iddynt hwy a'u hiliogaeth, ac yn brif ddinas eu hymerodraeth.[a] Ond Duw ag oedd gwedi pennu terfynau eu preswylfod hwynt, a chyngor pa un a saif byth, trwy gymmysgu eu hiaith, a ddiddymodd eu gwag amcanion hwynt, ac a barodd iddynt symmud i'r gwledydd hyny ag oedd efe gwedi roddi iddynt.[b] Pan welodd meibion Noah nad oedd yn bosibl iddynt gyflawni eu hamcanion, hwy a ymostyngasant i osodiad Duw, ac a ymadawsant â gwlad Sinar, ac a aethant i'r gwledydd hyny a roddasai efe iddynt. Gomer a'i hiliogaeth i ba rai y rhoddasid ynysoedd y cenhedloedd, a ddaethant yn raddol i barthau gorllewinol Asia; [c] ac a wasgarasant oddi yno i wahanol wledydd, fel ag yr oedd angenrheidrwydd neu dueddiad yn eu cymmell hwynt. Sefydlodd y gangen honno o hiliogaeth Gomer a elwir y Cimmeriaid, neu y Cymry, yn mharthau gorllewin-ogledd Asia leiaf,[d] hyd oni pharodd rhuthrad y Scythiaid iddynt ymofyn am breswylfeydd mwy heddychlon. Pan ddarfu y Scythiaid yrru y Cymry o Asia leiaf, aeth llawer o honynt i Thracia, ac a breswyliasant yn gyfagos i'r fan lle mae Constantinople yn awr.[e]

Mynediad y Cymry o wlad Sinar.

Y Cymry yn hiliogaeth Gomer.

Mae'n ddiamheuol mai hiliogaeth Gomer, ŵyr Noah, yw y Cymry;[f] ac nid anhebygol yw, mae o

[a] Gen. xi. 4. [b] Gen. xi. 8. [c] Herodotus. Archaiol. Vol. I. p. 76. [d] Wells's Geo. Vol. I. [e] Archaiol. Vol. II. p. 57. Herodotus. [f] Josephus. Pezron Antiq. Celt. Ch. III. Camden. Wells's Geo. Vol. I.

o Ascanas mab hynaf Gomer y discynasant.[a] Gwedi i'r Cymry drigo yn Thracia nes iddynt fyned yn rhy liosog i fod yn gysurus yno yn hŵy, cawsant eu dosparthu yn llwythau, llawer o ba rai a gymmerasant eu taith tu a'r gorllewin, gan geisio preswylfëydd newyddion a helaethach.[b] Dilynodd y llwythau hyny redfa yr afon Danube nes eu dyfod i'w ffynon hi; ac wedi trafaelu rhan o Germany a Switzerland, nes cael gafael yn yr afon Rhine, hwy a ddilynasant redfa yr afon honno, nes eu dyfod i gyffiniau môr Germany.[c] Llawer o'r llwythau hyny ag a ddaethant o Thracia, a drigasant yn Ffraingc, ac mewn amser a feddiannasant y rhan fwyaf o wledydd gorllewinol Europe:[d] a gelwid hwynt y *Cimmerii*, *Celtæ*, neu Gauls.

Dyfodiad y Cymry i Frydain.

Gwedi i'r Cymry ddyfod i gyffiniau môr Germany gan geisio preswylfëydd mwy heddychlon a pharhaus, tybiodd rhai o honynt y gallasent fod yn fwy diogel yn yr ynys hon; ac ynghylch mîl o flynyddoedd cyn geni Crist, daeth llwyth o honynt dros fôr Germany, ac a feddiannasant y wlad hon.[e] Y Cymry oedd y bobl



[a] Celtic Researches. p. 135.
[b] Archaiol. Vol. II. p. 67. [c] Strabo. [d] Parson's Remains, Chap. II. Blair's Lect. Vol. I.
[e] Whitaker's Hist. of the Britons asserted, Chap. I. Nid ymddengys i'r Cymry ddyfod i Frydain dan un arweinydd neillduol; oblegid arweinydd cysgodol oedd Hu Gadarn, a grybwyllir am dano yn Nhrioedd ynys Brydain, fel ag yr ymddengys yn y man.

gyntaf a diriodd yn ynys Brydain;[a] ac wedi iddynt ddeall ei bod yn cael ei hamgylchynu, a'i hamddiffyn gan y môr, a'i bod yn wlad eang a ffrwythlon, hwy a ganiatasant i Prydain ab Aedd Mawr, ar Lloegrwys o dir Gwâsgwyn, oddi amgylch i'r afon Loire, a'r Brython o dir Llydaw yn Ffraingc, i ddyfod yma.[b] Gan fod y tri llwyth hyn gwedi tarddu o brif-genedl y Cymry, ac yn llefaru yr un iaith, hwy a feddiannasant yr ynys trwy gyd-syniad eu gilydd, ac a unasant yn fuan yn un pobl.[c]

Ar eu sefydliad cyntaf yn yr ynys, nid oedd gan y Cymry un gyfraith ond defod, nac un llywodraeth ond yr hyn ag oedd yn deilliaw oddiwrth uwch nerth. Pob un a wnai yr hyn a fyddai da yn ei olwg ei hun; ac oblegid hyny, bu annhrefn a gormes mawr ymhlith y Cymry, hyd oni ddaeth y Lloegrwys, a'r Brython yma.

Prydain yn dosparthu yr ynys yn dair talaith: ac yn rhoddi cyfreithiau i'r Cymry.

Prydain gan hyny, yn deimladwy o'r anghysflcusdra ag oedd yn cyfodi yn naturiol oddiar ddiffyg o lywodraeth reolaidd, a ddosparthodd yr ynys yn dair talaith, sef Cymru, Lloegr, ac Alban; ac a roddodd iddynt gyfreithiau, trwy ba rai y gallasai hawl a rhagor-fraint pob talaith gael eu diogelu, a hapusrwydd yr holl genedl ei ddwyn yn mlaen.[d] Yn ol trefniad Prydain, yr oedd pob talaith yn anymddibynol, ac amryw

[a] Archaiol. Vol. II. p. 57. [b] Archiol. Vol. II. p. 58.
[c] Ibid. [d] Ibid. p. 57.

amryw o dywysogion yn mhob un o honynt. Ond mewn amser o berygl cyffredinol, hwy oll a unent yn un corph, ac a ddewisent un o dywysogion Cymru (yn mha dalaith y gorphwysai awdurdod penaf y llywodraeth) i fod yn flaenor arnynt;[a] a gelwid y blaenor hwnw, Brenin Prydain oll.[b] Parhaodd y dull hwn o lywodraeth yn Mrydain heb un cyfnewidiad hanfodol arno hyd oddi amgylch i hanner can mlynedd cyn geni Crist, pan oresgynodd Julius Cæsar yr ynys, ac a'i dygodd dan deyrnged i'r Rhufeiniaid. Julius Cæsar yn dyfod i Frydain.

Cyn i'r ynys gael ei phobli, Clâs Merddin * y gelwid hi; gwedi i'r Cymry ddyfod yma, gelwid hi, y Fel ynys; ond gwedi i Prydain roddi *cyfreithiau* i'r Cymry, a sefydlu llywodraeth y wlad, cafodd o anrhydedd iddo ef, ei galw yn ynys Prydain;[c] yr hwn enw sydd arni hyd y dydd heddyw. Yr ynys yn cael ei galw yn ynys Prydain.

Gan fod Noah yn ŵr cyfiawn a pherffaith yn ei oes, y mae yn ddiammeu iddo gymmeryd gofal neillduol i hyfforddi ei blant mewn gwybodaeth o'r gwir Dduw. Nid esgeulusodd efe unrhyw foddion i argraffu ar eu mheddyliau hwynt ystyriaethau cyfaddas o'r Duwdod, yn nghyd â theimlad gywir o'u rhwymedigaethau i'w ofni, a'i garu, a'i wasanaethu, trwy eu holl fywyd. Ond

[a] Archaiol. Vol. II. p. 57. [b] Rowland's Mona Antiq. p. 170. * Green space of smooth hills. Owen's Dic. V. Clâs. [c] Archaiol. Vol. II. p. 57.

Ond gan fod dyn yn dueddol i ddrygioni, a chan mae trwy draddodiad yn unig, yr oedd gwirioneddau dwyfol yn cael eu traddodi o dâd i fab y pryd hyny; dynol-ryw a ddirywiasant yn raddol oddiwrth burdeb y grefydd batriarchaidd, ac a syrthiasant i ddwfn anwybodaeth a choel-grefydd. Y mae'n ansicr pa hŷd yn ol y diluw, y parhaodd hiliogaeth Noah yn y grediniaeth a'r ymarferiad o wir grefydd; ond oddiwrth y tebygolrwydd hynod sydd rhwng egwyddorion arweiniol yr amrywiol grefyddau paganaidd â'u gilydd, ni a allwn benderfynu yn ddiogel, fod dynol-ryw gwedi dirywio yn mhell oddiwrth burdeb y grefydd batriarchaidd flynyddoedd cyn i'r gwasgariad cyffredinol o wlâd Sinar gymmeryd lle. Gwedi i hiliogaeth y patriarch duwiol, yr hwn a ddiogelwyd mor rhyfedd yn yr arch, i'w barchu ef trwy ei holl fywyd fel gwr doeth a chyfiawn, a gawsai y fath amlygiadau neillduol o gariad Duw; yn ol ei farwolaeth, hwy a ddechreuasant yn raddol i feddwl fod Noah yn fwy nâ dyn; ac mewn amser hwy a'i gwnaethant ef yn dduw, ac a'i haddolasant ef dan amrywiol enwau. Ac fel ag yr oedd yr arch wedi bod yn foddion yn llaw Duw i achub Noah a'i deulu, pan foddwyd yr holl fyd, dynol-ryw a edrychasant arni hi ar y cyntaf gydâ syndod; ac fel ag yr oedd anwybodaeth a choel-grefydd yn cynhyddu, anghofiwyd y Duw a gynhaliodd yr arch ar wyneb y dyfroedd,

Noah yn cael ei wneuthur yn dduw, ac yn cael ei addoli.

dyfroedd, a thybiwyd fod yr arch ei hun yn wrthddrych cymmwys o addoliad; a rhoddwyd addoliad eilun-addolgar iddi hi.[a] * Oddiwrth y parch coel-grefyddol hwn i Noah a'r arch, y tarddodd yn raddol yr eilun-addoliaeth, ac a ymdaenodd gwedi hyny dros y byd. Canys, a dynol-ryw yn adnabod Duw, ni's gogoneddasant ef megis Duw, ac ni buant ddiolchgar iddo; eithr ofer fuant yn eu rhesymau, a'u calon anneallus hwy a dywyllwyd. Pan dybient eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid; ac a newidiasant ogoniant yr anllygredig Dduw, i gyffelybiaeth llûn dyn llygredig, ac ehediaid, ac anifeiliaid pedwar-carnol, ac ymlusgiaid, ac a add-*olasant ac* a wasanaethasant y creadur yn fwy *nâ'r Creawdwr*, yr hwn sydd fendigedig yn dragywyddol.[b]

Yr arch yn cael ei haddoli.

Gan fod hiliogaeth Gomer gwedi cael eu llygru gan goel-grefydd cyn iddynt ymadael o dir Sinar, ac yn gorfod myned trwy lawer ymdrech galed ar eu teithiau i'w preswylfëydd gorllewinol, ni feddyliasant ond ychydig am grefydd, nes eu dyfod i'r meddiant llonydd o'u gwahanol wledydd. Yn ganlynol yr ydym yn cael fod cynnydd coel-grefydd ac eilun-addoliaeth yn chwyrn

a Davies's Mythology, p. 91, 92. * Yr Israeliaid mewn dyddiau mwy goleu, a addolasant y sarph brês a wnelsai Moses. 2 Bren. xviii. 4. b Rhuf. i. 21—25.

chwyrn iawn yn yr oesoedd cyntaf yn ol y diluw.

Ond er mor anwybodus a choel-grefyddol oedd y Cymry ar eu dyfodiad cyntaf i'r ynys hon, nid oedd pob argraff o wir grefydd gwedi ei ddileu allan o'u mheddyliau hwynt. Yr oedd ganddynt y pryd hyny radd o ddynion mewn parch mawr yn eu plith, a elwid beirdd, neu dderwyddon; prif swydd pa rai oedd hyfforddi yr anwybodus, annog i rinwedd, a dwyn ymlaen heddwch.[a] Ond er fod y derwyddon * yn dilyn y swydd hon, nid oeddent yn mwynhau un ragorfraint neillduol nes i'r wlâd ddyfod yn ddarostyngedig i lywodraeth reolaidd.

Y derwyddon.

Gwedi i Prydain roddi cyfreithiau i'r Cymry, efe a ymddiriedodd eu gweinyddiad hwynt i'r derwyddon;[b] ac o'r pryd hyny allan, ymddangosodd y grefydd dderwyddol mewn dull rheolaidd, ac a barhaodd yn grefydd sefydledig yn y wlad hon, hyd oni's cafodd crist'nogrwydd ei dwyn i mewn.

Mewn canlyniad i'r trefniad hyn o eiddo Prydain, cynhyddodd y derwyddon mewn rhifedi, a rhoddid parch mawr iddynt oblegid eu gwybodaeth, awdurdod, a'u moesau llym.

Yr

[a] Archaiol. Vol. II. p. 67. * Cawsant eu galw yn dderwyddon oddiwrth dderwen; oblegid y parch oedd ganddynt i'r pren hwnnw. [b] Ibid.

Yr oedd y derwyddon wedi eu rhanu yn dair gradd, yn gyfattebol i'r gwahanol swyddau ag oeddent yn wasanaethu; a gelwid hwynt beirdd, ofyddion, a derwyddon. Graddau y derwyddon.

Prydyddion, achwyr, a haneswyr oedd y beirdd. Physygwyr, dewiniaid, a cherddorion oedd yr ofyddion; a'r derwyddon a wasanaethent swyddau crefyddol.[a] Yr oedd pob un o'r graddau hyn yn myned dan yr enw cyffredinol o dderwyddon, ac yn cael eu hystyried fel yn perthyn i'r offeiriadaeth; ond y derwyddon oedd yr unig radd ag oedd gwedi eu neillduo i'r swydd honno; ac arnynt hwy yr oedd y gwaith pwysfawr o hyfforddi ieuengctyd yn egwyddorion eu *crefydd* â'u mhoesoldeb, yn disgyn.[b] Beirdd. Ofyddion. Derwyddon.

I ddiogelu heddwch, a dwyn yn mlaen lwyddiant a hapusrwydd y corph lliosog hwn, yngbyd â'r wlad yn gyffredinol, dewisid y gwr mwyaf enwog yn mhlith y derwyddon i fod yn ben arnynt oll. Yr oedd yr archoffeiriad hwn, neu arch-derwydd y Cymry, yn cael ei ddewis trwy lais y rhan fwyaf lliosog o'r bobl; ac, oblegid fod llawer o awdurdod, elw, ac anrhydedd, yn gyssylltedig â'i swydd ef, yr oedd etholiad person i'w gweini, rai troion, yn achos o ryfel cartrefol.[c] Yr oedd yr arch-derwydd yn pres- Arch-derwydd.

B wylib

[a] Archaiol. Vol. III. p. 296. Henry's Hist. of Brit. Vol. I. [b] Owen on Bardism. Archaiol. Vol. III. p. 296. [c] Cæsar's Com. L. VI. Chap. 13.

wylio yn fwyaf cyffredin yn sir Fôn,[a] ac yr oedd efe yn farnwr uchaf yn mhob matterion gwladol a chrefyddol.*

Y derwyddon yn gorph dysgedig.

Dywedir fod derwyddon Brydain mor enwog am eu gwybodaeth mewn duwinyddiaeth, philosophyddiaeth, astronomyddiaeth,‡ physygwriaeth, a chelfyddydau ereill, fel ag yr oedd yn arferol ynghylch amser Julius Cæsar, i wyr ieuaingc gael eu hanfon o Ffraingc i Frydain, i gael eu hyfforddi yn y celfyddydau. Y derwyddon a hyfforddent eu dyscyblion, yn gyffredin, yn y llwyni cyssegredig; ac yr oedd eu trefn o ddygiad i fynu mor eang, fel ag yr oedd rhai o'u dyscyblion ugain mlynedd yn myned trwy'r holl gylch.[b] Er fod y derwyddon yn hyspys

[a] Rowland's Mona Antiq. p. 84.

* Yr oedd yr arch-derwydd mewn ffordd o ardderchawgrwydd yn cael ei alw yn Dryw; ac y mae y lle yr oedd ef yn preswylio yntho yn sir Fôn yn cael ei alw, Tre'r Dryw. Ac yn nghymmydogaeth Tre'r Dryw, y mae lleoedd a elwir, Tre'r beirdd, Bod-drudau, a Bod-owyr, lle yr oedd y beirdd, y derwyddon, a'r ofyddion, ag oedd yn gweini i'r arch-derwydd yn preswylio. Rowland's Mona Antiq. p. 84.

‡ Y mae y mynydd Cader Idris, yn Ngwynedd, yn bytholi coffadwriaeth Idris, un o'i hastronomyddion hwynt. Feallai fod Cader Idris yn y prif oesoedd yn ddysgwylfa, lle yr oedd astronomyddion yn tremio ar y ser. Fe ddywedir fod ar ben y mynydd, gafniad yn y graig, yn debyg i orwedd-le, ac fe dybia rhai, pe byddai un yn gorphwys yn yr orwedd-le honno dros nôs, y byddai yn y boreu, naill ai yn farw, neu yn wallgofus, neu wedi ei gynnysgaeddu âg anian goruwch-naturiol. Celtic Researches, p. 173.

[b] Cæsar's Com. L. VI. Chap. 13, 14.

hyspys o lythyrenau, ac yn eu hymarferyd ar rai achosion, etto ni thybient ei bod yn gyfreithlon i ysgrifenu dim o'u mheddyliau crefyddol; yr hyn oedd yn rhwystr mawr i gynnydd eu dyscyblion mewn gwybodaeth, ac yn foddion i gadw y bobl yn gyffredin mewn mwy o dywyllwch.

Gwahanol liwiau y derwyddon.

Mae yn hoff gán ddynol-ryw rodres, yn mhob oes. Fel ag y byddai y derwyddon, gan hyny, i ymddangos yn fwy parchus yngolwg y werinos, ac i gael eu gwahaniaethu oddiwrth y bobl yn gyffredin, hwy a wisgent gadwyn o aur [a] oddi amgylch eu gyddfau, a gwisg o liw priodol pan fyddent yn gweinidogaethu. Glâs oedd lliw neilltuol y beirdd; yr hwn a dybient, fod yn arwydd o heddwch. Yr ofyddion a ymddangosent mewn gwisg o liw gwyrdd, yr hwn, yn eu tyb hwynt, oedd yn arwyddo dysgeidiaeth; a'r derwyddon a ymddangosent mewn gwisg wen, fel arwydd o'u purdeb.[b] Gwedi gwisgo yn y dull gwageddus hyn, y derwyddon a gyflawnent eu swyddau yn y deml, yn y llys, ac yn y bwthyn; canys anaml y byddai un weithred grefyddol yn cael ei chyflawni heb bresennoldeb, a chynnorthwy derwydd. Fel arwydd neillduol o'i swydd, yr oedd gan bob derwydd, ŵy celfydd, a elwid ŵy nadredd, fel delw o'r arch;* yn mha un yr oedd



[a] Archaiol. Vol. I. p, 212. [b] Owen on Bardism.

* Fel ag y mae ŵy yn cynnwys ynddo egwyddorion bywyd, y derwyddon a dybient ei fod yn arwydd neu ddelw briodol o'r arch, yr hon oedd yn cynnwys, tra parhaodd y diluw, egwyddorion y byd yn ol y diluw.

modrwy o wydr, o liw priodol, ond yn fwy trwchus nâ'r modrwyau aur cyffredin. Yr oedd y modrwyau hyn yn cael eu gwneuthur gan y derwyddon eu hunain, ac yn cael eu galw, gleiniau nadredd;‡ a gwerthfawrogid hwynt yn fawr, oblegid y rhinweddau anghyffredin a dybid eu bod yn feddu. Y modrwyau gleision, a berthynent i'r beirdd; y gwynion, i'r derwyddon; y gwyrdd, i'r ofyddion; a'r modrwyau cymmysgedig o'r tri lliw, a berthynent i'r dysgyblion.*

Natur y grefydd dderwyddol.

Corph o goel-grefydd gwedi ei seilio ar lygriad o'r grefydd batriarchaidd, oedd y grefydd dderwyddol, ac a fu yn cael ei phroffesu dros gynnifer o oesoedd yn y wlâd hon; ac nid oedd eu duwiau ddim amgen nâ dynion meirw. Er nad

‡ Fel ag y mae y neidr yn bwrw ei chroen bob blwyddyn, yr oedd y paganiaid yn ei hystyried hi yn gysgod priodol o adnewyddiad: a'r beirdd a alwent y derwyddon yn nadredd, oblegid eu bod yn credu yr athrawiaeth o erchywynedigaeth, hyny yw, fod enaid ar farwolaeth y corph, yn myned i greadur arall. Yn ganlynol yr oedd y modrwyau gwydr ag oedd gan y derwyddon fel nod neillduol o'u swydd, yn cael eu galw yn gleiniau nadredd, neu gerrig nadredd. Yr oeddynt yn cael eu hystyried yn effeithiol i ddarostwng dadleuon; a dwyn y meddiannydd o honynt i ffafr y tywysog. Mae yn hawdd deall pa fodd yr oeddynt yn gwneuthur hyny, pan ystyriom awdurdod mawr y derwyddon. Y mae gleiniau nadredd i'w cael mewn amryw leoedd yn Nghymru; ac fe dybia rhai mae cwlwm o nadredd sydd yn eu chwythu hwynt.

* Gibson's Camden Col. 815. Owen's Dic. V. glain.

nad oedd y derwyddon yn hollol anwybodus o Fôd, a rhagluniaeth yr unig wir Dduw, etto ni's gwasanaethasant ef megis Duw, ac ni's buant ddiolchgar iddo am eu bod a'u cynnaliaeth: ond fel paganiaid ereill, hwy a addolent liosogrwydd o gau-dduwiau, ac a ddysgent y bobl i'w heddychu hwynt âg aberthau dynol.*

Dros oesoedd gwedi i'r Cymry ddyfod yma, dynion gwedi eu gosod yn lle Duw, oedd eu hunig dduwiau hwynt; ond pan ddechreuodd y Phœniciaid fasnach yma am alcan,† cafodd addoliad llu y nefoedd, ag oedd mewn arferiad gan y bobl hyny, ei ddwyn i mewn i Frydain; ac yn raddol ei uno â'r grefydd dderwyddol.[a] O'r amser *hwnw* allan, yr oedd gau-dduwiau y Cymry i'w canfod yn y bodau wybrennol; ac yn cael eu haddoli mewn cyssylltiad â'r haul, a'r lloer, a rhai o'r ser. Ac nid annhebygol yw, i'r Rhufeiniaid hefyd, gwedi iddynt ddarostwng yr ynys dan eu llywodraeth, i ddwyn rhai o'u duwiau hwyntau i blith y Cymry.

Oddiwrth ysgrifenadau beirdd Cymru, y rhai a broffesant hollol wybodaeth o'r grefydd dderwyddol,

* Peth rhyfedd yw fod neb ag sydd gwedi darllen gwaith Taliesin, Aneurin, ac ereill o feirdd Cymru; yn nghyd â gwaith Cæsar, yr hwn oedd yn adnabyddus iawn o Divitiacus, un o'r derwyddon; yn abl honni nad oedd derwyddon Brydain ddim yn cilun-addolwyr.

† Tin. [a] Archaiol. Vol. II. p. 6, 72. Davies's Mythology.

wyddol, fe ymddengys yn eglur fod y Cymry yn eu cyflwr paganaidd yn addoli lluosogrwydd o gau-dduwiau. Ac y mae yn amlwg i bob dyn dyallus, a diduedd, a ddarlleno waith beirdd Cymru, ac a'u cydmaro hwynt âg ysgrifenadau y paganiaid, mai Noah, gwedi ei osod yn lle Duw, dan amrywiol enwau, yw llawer o dduwiau y derwyddon.

Duwiau y derwyddon.

Hu Gadarn.

Hu Gadarn * oedd y duw mwyaf a addolid gan y derwyddon. Y mae Hu Gadarn yn cael ei ddarlunio yn y trioedd chwedlaidd, fel un enwog iawn mewn doethineb, cyfiawnder, a heddychlondeb. Fe ddywedir ei fod yn bresennol yn amser y diluw, ac iddo gyflawni y fath orchestwaith y pryd hyny, ag a fu yn foddion effeithiol i ragflaenu ail-ddyfodiad yr adfyd mawr hwnw.§ Fe ddywedir hefyd, mae efe oedd y cyntaf a roddodd addysg pa fodd i drin tir, a chyfreithiau i drefnu cymdeithasau gwladol, a chyfarwyddiadau i ddynion i fyw yn gysurus; a chwedi dosparthu'r Cymry yn llwythau, iddo eu harwain hwynt i'w preswylfëydd gorllewinol.[a] Gellir

* Nid yw y gan dduw hwn, gwedi ei hollol anghofio yn Nghymru etto. Llawer o ddynion anystyriol, pan fyddont mewn cyfyngder, neu ddychryn, a waeddant allan, 'Hu anwyl, pa beth a wnaf?'

§ Un o'r tri prif orchest-waith ynys Brydain, oedd llusgo Afanc y llynn i dir, gan ychain bannog Hu Gadarn, fel na thorres y llyn mwyach. Archaiol. Vol. II. p. 71.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 57, 58, 67, 71.

llir casglu yn naturiol oddiwrth yr hanes hwn, mae Noah yw y person a ddarlunir dan yr enw Hu, a bod y patriarch yn un o dduwiau penaf y derwyddon.[a] Er fod y patriarch yn cael ei gydnabod fel dyn, ag oedd yn ddarostyngedig i awdurdod uwch, cafodd ei ail-gydnabod gan y derwyddon dan yr enw Hu Gadarn, a'i ddyrchafu gan anwybodaeth a choel-grefydd i eisteddle y Goruchaf. Oblegid yr oedd y derwyddon yn ystyried Hu Gadarn, fel y duw mwyaf, a bywyd pob beth yn y byd; yr hwn oedd yn meddu llywodraeth gyffredinol, yn marchogaeth ar belydr yr haul,[b] ac yn cael ei addoli ganddynt yn gyssylltedig â'r bod wybrenol, dysglair hwnw. *Hu Gadarn* oedd y duw penaf, i ba un yr oedd *Stonehenge* gwedi ei chyssegru; ac yn y deml honno yr addolid ef yn wastadol dan rith tarw. Hu Gadarn oedd duw penaf sir Fôn hefyd, yn yr amser gynt; ac y mae Taliesin yn galw'r sir honno, 'Ynys moliant Hu.'†

Yr oedd Arthur, neu Uthyr Pendragon, yn dduw mawr ac enwog gan yr hen Gymry, ac yn cael ei addoli dan lawer o enwau. Darlunir Arthur Arthur

[a] Davies's Mythology, p. 105. [b] Owen's Dic. V. Hu. Rhys Brydydd.

† Archaiol. Vol. I. p. 70. Yn gymmaint ag mae'r un peth yw môn, a buwch; nid annhebygol yw, i ynys Fôn gael ei galw felly, oblegid fod Hu yn cael ei addoli ynddi dan rith tarw neu fuwch.

thur * fel duw wybrenol, wedi ei wregysu â bwa'r arch, a'r cŷd-ser a elwir Lyra, yn delyn iddo. Dywedir hefyd ei fod yn dduw rhyfel, yn ddiogelwr mewn tywyllwch, yn llafurwr, yn amddiffynwr temlau, yn fardd, yn gerddor, ac yn swynwr. Gwedi iddo gael ei osod dan y iau gydâg ychen, dywedir iddo ddyoddef ei gaethiwed yn amyneddgar, gorchfygu cewri'r diluw, a'i fod yn dad i holl ddynol-ryw. Dyma'r darluniad cymmysgedig a roddir gan y beirdd o'r duw Arthur. Y cŷd-ser, a elwir, Ursa major, neu yr Arth fawr, oedd ei gynnyrchiolwr yn yr wybren; ac y mae llawer o'r cromlechau a elwir Coitan Arthur, yn gylchaidd, mewn cyfattebiad i'r cylch ag y mae yr Arth fawr yn wneuthur bob pedair awr ar hugain oddi amgylch i'r pegwn gogleddol. Yr oedd y deml dderwyddol a elwir Buarth Arthur, yn agos i Gilymaenllwyd, yn sir Gaerfyrddin, wedi ei chyssegru i'r eilun hwn. Ac y mae ei goffadwriaeth yn cael ei fythholi yn Nghymru, trwy yr amryw gromlechau, a elwir yn gyffredin, Bwrdd Arthur, a Choitan Arthur.[a]

Y

* Person gwahanol yw hwn i Arthur y brenin gwrol, ag oedd yn teyrnasu yn y chwechfed cant o oed Crist; er fod llawer o awdwyr yn tybied mae yr un ydynt, a thrwy hyny gwedi cymmysgu eu hanes hwynt. Yn y darluniad a roddir o'r duw Arthur yn y chwedl-ddysg Frytanaidd, mae yn hawdd canfod y patriarch Noah.

[a] Archaiol. Vol. I. p. 73. and Owen's Cam. Biog.

Y Cymry a dybient fod Taronwy yn rheoli yr tafenau; ac mai oddiwrtho ef yr oedd taranau, a mellt, a thymhestloedd yn deilliaw. Y tyb cyfeiliornus hwn a wnai iddynt fod yn ofalus iawn i ymdrechu gostegu ei ddigofaint, ac ennill ei ffafor trwy y fath offrymau, ac aberthau, ag oeddynt hwy yn ddychymmyg fod yn fwyaf cymmeradwy ganddo ef. Derwen oedd yn cynddrychioli y duw Taronwy, yn mhlith dynion.[a] Taronwy.

Yr oedd Beli yn cael ei ystyried fel ffynon goleuni a gwres, ac yn cael ei addoli dan enw tân; ac fe fyddai tân yn gyffredin yn cynneu yn ei demlau ef. Ac yr oedd y tânau ag oedd y derwyddon yn gynneu ar y dydd cyntaf o fis Mai, ac ar y dydd cyntaf o fis Tachwedd, gwedi eu cysegru iddo ef. Beli a addolid hefyd dan yr enw *Plennydd*,* Heilyn, Apollo, a'r haul.[b] Beli.

Gwydion ab Don, yr un a Mercury, a Hermes y Groegiaid, a berchid yn fawr gan y Cymry, fel llyfelwr llythyrenau, a thywysydd teithwyr. Rhoddent ddwyfol anrhydedd iddo hefyd. Gwydion ab Don.

Fel ag yr oedd y Cymry yn genedl ryfelgar, nid oeddent yn arbed unrhyw draul i ymlusgo i Gwaednerth.

C ffafor

[a] Archaiol. Vol. I. p. 62.

* Gelwir pelydr yr haul, a ymddengys yn crynu ar ddiwrnod gwresog, Tês ys Plennydd. 'Blin blaen blen Blenydd.' 'Irksome in front is the radiance of the sun.'

[b] Archaiol. Vol. I. p. 43, 73. [c] Ibid. p. 7, 30.

ffafor Gwaednerth, eu duw rhyfel hwynt.[a] Llwythid allorau yr eilun hwn, yn enwedig ar amser rhyfel, â'r fath aberthau, nad allasent fod yn gymmeradwy ond gan un ag oedd yn ymhyfrydu yn nystryw dynol-ryw.

Budd-ugre. Yn gymmaint a bod pob cenedl am gael y fuddugoliaeth ar eu gelynion; yr oedd y Cymry yn ofalus, na byddai iddynt esgeuluso addoliad Buddugre, neu Budd-Nêr, eu duw buddugoliaeth hwynt.[b]

Neifion. Dywedodd D. ab Gwilym, i Neifion, * duw y môr, i nofio o Droia fawr draw i Fôn. Dywedir hefyd iddo wneuthur llawer o bethau mawrion a rhyfedd heblaw hyn, a bod y Cymry yn gweddio arno megis duw.[c]

Gwyn ab Nudd. Gwyn ab Nudd, arglwydd y wlâd obry, oedd yr un a Phluto y Groegiaid; ac nid oedd heb anrhydedd yn ynys Brydain, mwy nag yn ngwlâd Groeg.[d] Y mae yn cael ei ddarlunio hefyd yn y chwedl-ddysg Frytanaidd, fel brenin y Tylwyth Têg, ag a dybia rhai dynion craff eu golwg, eu bod yn weled ar amserau, yn dawnsio ar fynyddoedd Cymru.

Yr

[a] Archaiol. Vol. I. p. 10. [b] Ibid. p. 10.

* Yn Nhrioedd ynys Brydain gelwir arch Noah, yn llong Nefydd Naf Neifion. The ship of the celestial Lord Neivion. Archiol, Vol. II. p. 71.

[c] Owen's Dic. V. Neivion. [d] Archaiol. Vol. I. p. 166.

Yr oedd yr afon Dyfrdwy,* yn cael ei haddoli gan y derwyddon; ac yr oedd ganddynt lawer o demlau wedi ei hadeiladu ar ei glân hi.[a] Y mae yr afon hon yn tarddu yn sir Feirionydd, o ddwy ffynnon a elwir Dwyfawr a Dwyfach; ac yn ol rhedfa fer, dywedir ei bod yn myned yn hollol, a di-gymmysg, trwy Lyn Tegid. Yr un enwau sydd ar y ddwy ffynon hyn, a'r ddau berson a ddywedir yn nhrioedd ynys Brydain, iddynt ddiangc mewn llong yn amser y diluw. Gan fod y derwyddon gynt yn ystyried Llyn Tegid, fel arwydd o'r diluw, yr oeddent yn darlunio y ffrwd ag a ddywedir ei bod yn myned yn ddigymmysg trwy y Llyn, fel ffrwd bywyd; ac yn ei hystyried hi fel cysgod o'r ddau berson dedwydd a ddiangasant yn ddiogel trwy y dwfr diluw. Fe ymddengys yn eglur gan hyny, fod y derwyddon yn addoli afon Dyfrdwy, fel cysgod o'r rhai a achubwyd yn yr arch; ac nad oedd eu duwiau hwynt ond dynion, ac elfenau meirw. Afon Dyfrdwy.

Ystyrid Ceridwen fel anian yr arch, a duwies ŷd; ac yr oedd yn wrthddrych o barch mawr gan y derwyddon. Megis ag yr oedd Hu yn cael ei addoli mewn cyssylltiad â'r haul, Ceridwen a addolid mewn cyssylltiad â'r lloer. Ceridwen yn Duwiesau. Ceridwen.



* Gelwir yr afon hon, Dyfrdwy, h. y. dwfr dwyfol: a Dyfrdonwy, h. y. dwfr yn rhoddi grâs: a Pheryddon, h. y. ffrwd ddwyfol. Owen's Dic.

[a] Davies's Mythology, p. 152, 153.

nhyb y derwyddon oedd yn ffurfio ieuengctyd i'r swyddau derwyddol, ac yn llywodraethu barddoniaeth. Yr oedd llawer o demlau gwedi eu cyssegru i'r dduwies hon, a rhoddid addoliad iddi hi, yn y Gyfylchi yn sir Gaernarfon, mor ddiweddar a'r ddeuddegfed cant o oed Crist.[a] Yr oedd Ceridwen yn gwedd-newidio yn aml, yn ymddangos mewn llawer dull, ac yn cael ei darlunio dan lawer o enwau; ac yr oedd y cyfan o'r grefydd dderwyddol yn gyffredin yn myned dan yr enw, Pair Ceridwen.

Llywy. Llywy, neu Creirwy, oedd ferch i Geridwen, a brenhines y wlâd obry; ac yr oedd yn cael ei haddoli yn nheml y Gyfylchi yn sir Gaernarfon.[b]

Andras. Andras, neu Andraste, oedd dduwies anrhaith, ac yn cael ei darlunio rai troion fel fall, a chenddi lawer o lwyni wedi eu cyssegru iddi mewn amrywiol ranau o'r wlâd; lle'r oedd y bobl yn rhoddi addoliad iddi, trwy y fath offrwm ac aberth, ag a dybient hwy fod yn rhyngu ei bodd hi.[c] Mae coffadwriaeth y dduwies hon, yn cael ei gadw hyd y dydd heddyw gan annuwiolion Cymru.*

Y

[a] Archaiol. Vol. I. p. 186, 278. [b] Ibid. p. 275. [c] Sammes Brit. Chap. IX.

* O'r Andras câs! Beth sydd ar yr Andras? Mae yr Andras ynot ti, &c. ydynt ymadroddion cyffredin yn ngeneuau annuwiolion yr oes.

Y Cymry a ddangosent barch mawr i Budd-ud, neu Buddug, duwies buddugoliaeth, ac a'i haddolent hi yn ddefosiynol yn nheml Stonehenge.[a] Buddud.

Fel ag yr oedd Brydain yn wlad goedog yn y dyddiau gynt, a helwriaeth yn ddifyrwch hoff gan y Cymry, fe dybia llawer fod Diana, duwies y goedwig yn cael ei rhestru yn mhlith eu duwiesau penaf hwynt.[b] Diana.

Heblaw y gau-dduwiau, a duwiesau, a grybwyllwyd eisoes, yr oedd gan y Cymry, fel y cenhedloedd paganaidd eraill, lawer o dduwiau is-raddol, i ba rai y rhoddent anrhydedd crefyddol.[c]

Yr oedd y derwyddon fel rhai o'r philosophyddion dwyreiniol,* yn credu y Bôd o egwyddor ddrwg, a elwid Gwarthawn, preswylfod pa un oedd yr eigion; a bod y byd, a'r holl greaduriaid sydd yntho, gwedi cael eu bod yn mhreswylfod Gwarthawn, yr hwn sydd ddrwg eithaf cwr eithaf; a lle y mae angenrhaid byth yn teyrnasu.[d]

Dywedent

[a] Archaiol. Vol. I, p. 164. [b] Sammes Brit. Chap. IX. [c] Ibid.

* Yr oedd rhai o'r philosophyddion paganaidd yn y dwyrain, yn meddwl i'r byd hwn, ynghyd â'r holl greaduriaid gael eu creu, nid gan y Duw mawr, ond gan Fod drwg, a elwid Demiurge. Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 72. Ac os nad oedd y derwyddon yn meddwl yr un peth; ni's gwn i pa beth i wneuthur o lawer o'u hysgrifeniadau hwynt.

[d] Archaiol. Vol. I. p. 20, 32. Williams's Poems, Vol. II.

Dywedent hefyd fod dyn wedi ei gyfansoddi o saith elfen, sef tân, daiar, dwfr, awyr, niwl, blodau, a gwynt: a bod gantho saith synwyr, sef yr ewyllys, y teimlad, y llafar, y chwythiad, y gweled, y clyw, a'r arogl.[a]

**Meddyliau y derwyddon am gyflyrau presennol a rhagllaw y creaduriaid.**

Mewn perthynas i gyflyrau presennol a rhagllaw y creaduriaid, y derwyddon a ymddiffynent y tybiau canlynol.

'Fod i bob creadur byw dri chyflwr o hanfod; y bywyd anifeiliaidd, yr hwn sydd hollol ddrwg; y bywyd dynol, lle mae drwg a da yn gyd-bwys; a bywyd o ddedwyddwch yn y nefoedd, lle mae pawb yn dda a dedwydd i dragywyddoldeb.'

'Fod pob creadur byw yn cael ei greu yn y cyflwr iselaf o hanfod, yr hwn sydd ddrwg eithaf cwr eithaf; a'i fod yn derchafu yn raddol trwy erchywyniad,* o'r cyflwr hwnw i gyflwr o ddynoliaeth, lle y maent yn dyfod yn oruchwylwyr rhydd; ac o'r cyflwr hwnw i gyflwr o berffeithrwydd eithaf yn y nef.'

'Fod enaid dyn yn beth corphorol; a bod yn bosibl

[a] Archaiol. Vol. I. p. 25.

* Yr oedd y derwyddon fel llawer o baganiaid ereill, yn credu yr athrawiaeth gyfeiliornus o erchywynedigaeth, (*transmigration*,) sef fod yr enaid, pan fyddo dyn yn marw, yn myned i ryw greadur arall, drwg neu dda, yn gyfattebol i'w haeddiant; ac felly o greadur i greadur nes caffo ei berffeithio.

bosibl iddo trwy bechod, golli ei gydwybodoldeb dros amser, ond na's gall byth farw.'

'Fod yn bosibl i greadur, gwedi dyfod i gyflwr o ddynoliaeth, syrthio drachefn i'r radd isellaf yn y cyflwr anifeilaidd, a thrwy hyny i gael ei ddifuddio o'i gôf a'i gydwybodoldeb; ond pa mor aml ac isel bynnag y syrthio trwy borth marwolaeth, oblegid pechod, islaw y cyflwr o ddynoliaeth, fe fydd y ffordd i hapusrwydd trwy erchywyniad yn agored iddo dros byth.'

'Fod y duwiau i'w heddychu trwy aberth; ac os bydd i ddyn ymostwng yn wirfoddol i'r gospedigaeth a dybia efe fod ei drosedd yn haeddu, ei fod *trwy hyny yn gwneuthur iawn am y trosedd*, a phuro ei enaid oddiwrth ddrwg.'

'Mae hapusrwydd pob creadur byw, yw prif ddyben dwyfol lywodraeth; a bod holl ddrygau y bywyd hwn gwedi eu bwriadu i brysuro y dyben hwnw.'

'Fod marwolaeth yn fendith i'r drwg, fel y da, yn gymmaint a'i bod yn foddion i brysuro taith y creadur tu ag at berffaith ddedwyddwch.'

'Fod dyledswydd ar bob dyn i chwilio am y gwirionedd, a'i gofleidio yn erbyn y byd: ond nad yw perffaith wybodaeth ddim yn gyrhaeddadwy, nes elo dyn trwy bob dull posibl o fod.'

'Fod

'Fod dyn, pan ddelo i gyflwr uwchlaw dynoliaeth, yn cael perffaith adgofiad o bob dull o hanfod ag y bu erioed ynddo; ac y ceidw efe y wybodaeth honno o hyny allan dros dragywyddoldeb; fel y gallo ddywedyd, Myfi oedd y cyfryw ymlusgiad, y cyfryw bysgodyn, y cyfryw anifail, y cyfryw ehediad, a'r cyfryw ddyn, &c.'

'Y bydd dyn gwedi iddo ddyfod i gyflwr o ddedwyddwch yn myned tan yr adnewyddiadau mwyaf hyfryd yn olynol dros byth; ond ni bydd i'r adnewyddiadau hyn, fel y marwolaethau a brofodd efe, yn y cyflyrau o hanfod îs, ddim ei ddifuddio ef o'i gôf o'r hyn a fu; canys yn ôl pob adnewyddiad efe a fydd yn gydwybodol mae yr un creadur yw.'[a] ‡

Nef y derwyddon.

Yn mharthau deheuol y ddaiar, mae yn debygol yr oeddent yn dysgwyl mwynhau y dedwyddwch hwn; canys yno yr oedd eu paradwys hwynt.[b]

Nid oedd y derwyddon yn hollol anwybodus o'r

[a] Williams's Poems, Vol. II.

‡ Y mae dyn â'i holl ymffrost a'i ddoethineb pan gaffo ei adael iddo ei hun, yn crwydro yn fuan o lwybr y gwirionedd, nes iddo golli ei hun yn nyrysfëydd cyfeiliornad. Pwy mor anfeidrol mwy cyson â natur Duw, llesol i hapusrwydd dyn, ac ardderchog yntho ei hun, yw yr hanes a gawn am greadigaeth, yn nghyd â chyflwr presennol a thragywyddol dyn, yn efengyl Crist, nac yn holl ysgrifeniadau y paganiaid?

[b] Archaiol. Vol. I. p. 25.

o'r diluw; ac yr oedd llawer o'u defodau hwynt yn cyfeirio yn union-gyrch at y damwain galarus hwnw. Y traddodiad cyffredin yn eu plith hwynt oedd, i lyn Llion i dori, a'i dyfroedd i orchguddio wyneb yr holl ddaiar, fel ag y boddodd holl ddynol-ryw ond Dwyfan a Dwyfach, y rhai, ynghyd â gwrryw a benyw o bob rhywogaeth, a ddiangasant mewn llong foel, ac o honynt hwy yr ail-boblwyd ynys Brydain. Y Cymry yn bleidiol i'w gwlâd eu hun, ac yn anmherffaith yn eu gwybodaeth o'r diluw a dybient i'r damwain ofnadwy hwnw, ddygwydd yn ol eu dyfodiad hwynt i'r ynys hon; ac yr oeddynt yn cyfrif adeilad llong Nefydd Naf Neifion, neu yr arch, yn nghyd â sychiad y diluw trwy i ychen Hu *Gadarn* i lusgo afanc y llyn i dir, yn mhlith gorchwest-weithiau ynys Brydain.[a] Y derwyddon a ystyrient y diluw, nid yn unig fel cosp am annuwioldeb yr hen fyd, ond hefyd fel dwyfol buredigaeth, ag oedd yn cario ymaith fudreddi yr hen drigolion, ac yn glanhau y ddaiar fel ag y byddai hi yn breswylfod addas i Noah sanctaidd, a'i deulu.

Traddodiad o'r diluw.

Gan fod y derwyddon yn meddwl ei bod yn anghyfreithlon i gyfyngu y Duwdod o fewn muriau, yr oeddynt yn cyflawni addoliad cyhoeddus yn y llwyni cyssegredig. Ond fel ag y byddai yr addolwyr i gael eu gwasgodi i ryw

Temlau y derwyddon.



[a] Archaiol. Vol. II. p. 69, 71.

radd oddiwrth rym y gwynt a'r gwlaw, ac na byddai iddynt gael eu haflonyddu yn y cyflawniad o'u defodau crefyddol, hwy a ddewisent y manau mwyaf unig, ac a blanent goed derw yn dew oddi amgylch iddynt.[a] Yn y llwyni hyny yr adeiladent eu temlau, olion pa rai sydd i'w gweled yn amrywiol ranau o'r ynys hyd y dydd heddyw.

Er fod y rhan fwyaf o'r temlau derwyddol gwedi eu hadeiladu er cyn geni Crist, mae olion llawer o honynt i'w gweled etto. Nid yw llithriad dwy fil o flynyddoedd, a'r amrywiol gyfnewidiadau a brofodd y wlâd yn yspaid yr amser hwnw, gwedi hollol anrheithio y coffadwriaethau hyn o hynafiaeth. Os nad ydynt mor lliosog a phan oedd y grefydd dderwyddol yn ei grym yn y wlâd, y mae digonol nifer o honynt etto yn aros i alluogi y cywraint i amgyffred eu trefniad cyffredinol, ac i'w argyhoeddi ef o wybodaeth a chywreinrwydd yr hên Gymry. Er eu bod yn drwsgl yr olwg, ac yn ddisulw gan y cyffredin, fel lleoedd wedi eu hadeiladu i ddybenion crefyddol, ac yn cael eu hystyried yn dra sanctaidd gan ein hynafiaid gynt, y maent yn deilwng o sulw yr haneswr; ac ni's gall hanes byr o honynt fod yn anghymmeradwy gan y meddwl ymofyngar.

Cafodd temlau y derwyddon eu hadeiladu ar egwyddorion

[a] Henry's Hist. of Brit. Vol. I. p. 175.

egwyddorion celfyddgar, ac y maent yn profi cynnydd mawr mewn astronomyddiaeth. Maent wedi eu gwneuthur i fynu yn gyffredin o ddeuddeg, pedair ar bymtheg, deg ar hugain, neu dri ugain o gerrig, yn gyfattebol i rifedi y deuddeg arwydd yn y ffurfafen, neu i rifedi y blynyddoedd ag oedd yn gynnwysedig yn y cylchau ag oedd mewn ymarferiad gan astronomyddion yr oes honno.* Yr oedd y cerrig hyny gwedi eu



gosod

* Yr achos o'r cylchau ag sydd mewn ymarferiad gan astronomyddion, yw yr anghymesuradwyaeth sydd rhwng cylch-droad ymddangosiadol yr haul, a'r bodau wybrenol ereill â'u gilydd. Y mae cylch-droad ymddangosiadol yr haul oddi amgylch i'r ddaiar gwedi ei rannu yn arglwyddiaethol yn 24 o oriau, a'r flwyddyn gyffredin yn 365 o ddiwrnodau: ond nid yw trogylch blynyddol yr haul na'r bodau wybrenol ereill yn cyfatteb i hyny. Y mae trogylch blynyddol yr haul yn 365 o ddyddiau, 5 awr, a 49 o funudau, a throgylch misol y lloer yn 29 o ddyddiau, 12 awr, a 44 o funudau. I'r dyben gan hyny, i lyngu i fynu y gwahaniaeth, a dyfod â throgylchau y bodau wybrenol i gyfatteb i'w gilydd mor agos ag y mae yn bosibl, fe ddyfeisiwyd y cylchau. Mae amryw gylchau mewn ymarferiad yn bresennol: megis cylch hyspysiad, cylch y lloer, cylch yr haul, &c. Y mae cylch hyspysiad yn cynnwys 15 mlynedd. Y mae cylch y lloer yn cynnwys 19 o flynyddoedd, ar ddiwedd pa rai, y mae y newydd a'r llawn lloer yn dygwydd drachefn ar yr un dydd o'r flwyddyn. Cylch yr haul sydd yn cynnwys 28 o flynyddoedd, a gwedi y delo y cylch hwn oddi amgylch, y mae llythyren y Sul yn dychwelyd fel o'r blaen; a dyddiau y mis yn dygwydd ar yr un dyddiau o'r wythnos; a lle yr haul yn dyfod i'r un arwydd a gradd yn nghylch y diffygion, ar yr un mis a diwrnod; a'r blynyddoedd naid yn dechreu yr un redfa mewn perthynas i ddyddiau yr wythnos, ar ba rai y mae dyddiau y mis yn dygwydd.

gosod yn union syth, ac yn y fath bellder y naill oddiwrth y llall, fel ag yr oeddent yn ffurfio cylch cyffelyb i gylch y deuddeg arwydd, neu y cylchau ereill ag oedd mewn ymarferiad y pryd hyny. Yr oedd mynediad i mewn y temlau hyn yn wastadol gyferbyn a'r dwyrain-ogledd, ac ar gyfer y mynediad i mewn, ac ychydig oddi wrtho, yr oedd tair neu ychwaneg o gerrig mawrion yn cynddrychioli y duwiau ag a addolid yno.*‡ Yn nghanol y temlau derwyddol yr oedd y

* Davies's Mythology, Sec. IV.

‡ Ynghylch cant neu ddau o flynyddoedd yn ol, yr oedd llawer mwy o demlau y derwyddon i'w gweled yn yr ynys hon, nâg sy'n bresennol. Caf ddarlunio rhai ag oedd i'w gweled rai blynyddoedd yn ôl, os nad ydynt oll i'w gweled yn awr. Yr oedd teml Carnllechart, yn mhlwyf Llangyfelach, yn sir Forganwg, oddi amgylch i gant a thri ugain troedfedd o gylched, a chromlech fawr a elwid Cistfaen yn ei chanol hi. Yr oedd Cistfaen hefyd ynghanol teml Mynydd-drymmeu, yn agos i Gastell-Nedd. Nid ymddengys yn bresennol i bwy dduwiau yr oedd y temlau hyn gwedi eu cyssegru. Buarth Arthur, neu Feini-gwyr, yn agos i Gilymaenllwyd, yn sir Gaerfyrddin, oedd gant a deg troedfedd a thri ugain o gylched, ac yn cynnwys mwy nag ugain o gerrig o dair i chwech troedfedd o hyd. Gyferbyn a mynediad i mewn y deml hon, yr oedd tair carreg fawr fel cysgod o'r duwiau ag a addolid yno. I'r duw Arthur yn fwyaf neilltuol y cyssegrwyd y deml hon.

Yn agos i Bentref Ieuan, yn mhlwyf Nefern, yn sir Benfro, yr oedd teml dderwyddol o gant a hanner o droedfeddi o gylched, a chromlech yn ei chanol o ddeunaw troedfedd o hŷd, a naw o lêd. Ac y mae yn debygol fod teml fawr ac ardderchog yn yr amser gynt yn mhlwyf Trefdraeth yn yr un sir. Nid oedd y deml ag oedd yn amgylchu Llech yr Ast

y cromlechau, neu gerrig mawrion llydain âg un pen iddynt yn gogwyddo 'tu a'r llawr, y rhai a gynhelid gan dair neu ychwaneg o gerrig gwedi eu

Y cromlechau.

yn mhlwyf Llangoedmor, yn sir Aberteifi, ond bychan o faint; ond oddiwrth y pum cromlech ag oedd gynt yn agos iddi hi, fe ellir casglu ei bod yn deml gyfrifol, a bod llawer o ddefodau yn cael eu cyflawni ynthi. Yr oedd gwedi ei chyssegru i Ceridwen a Llywy.

Y meini hirion yn yr un sir, oedd deml gylchaidd, gysseg-redig i Geridwen. Yn agos i'r Meini hirion yr oedd y Meini cyfrifol, y rhai oedd yn deml o bedair carreg ar bumtheg; ac yn mha un yr addolid Hu Gadarn a Cheridwen.

Yr oedd y Meini hirion yn mhlwyf Llan Ddwy Gyfylchi, yn sir Gaernarfon, yn deml gylchaidd o ddeuddeg carreg, yn gyfattebol i'r deuddeg arwydd yn y ffurfafen; ac oddi amgylch dau cant a deg ar hugain o droedfeddi o gylched. Ac ychydig oddi wrthi yr oedd tair carreg union syth, y rhai, mae yn debygol, oedd yn cynddrychioli Hu Gadarn, Ceridwen, a Llywy, y rhai, yn benaf, a addolid yno.

Fel ag yr oedd sir Fôn yn y dyddiau gynt yn ynys moliant Hu, ac yn brif breswylfod yr arch-derwydd, y ma'i yn llawn o olion temlau a chromlechau derwyddol. Y penaf o honynt yw y Gromlech yn agos i dre'r Dryw, a'r deml a elwir Cerrig y Bryngwyn. Yr oedd y deml hon ar wedd ŵy, ac yn cynnwys deuddeg o gerrig union syth, un o ba rai oedd ddeuddeg troedfedd o hyd.

Nid annhebygol yw fod y ddwy Gromlech yn mhlwyf Cerrig y Drudion yn sir Dimbych, yn nghanol temlau yn yr amser gynt, er nad yw eu hôlion i'w gweled yn bresennol.

Stonehenge yn agos i Salisbury oedd prif deml y derwyddon yn yr ynys hon, er fod rhai yn fwy eu mhaint. Bernir iddi gael ei hadeiladu bum can mlynedd cyn geni Crist. Nid ymddengys ei bod gwedi ei chyssegru i un duw yn neillduol,

eu gosod yn union syth, neu ar eu hymyl. Fe dybia rhai mae allorau, ar ba rai yr oedd y derwyddon yn aberthu i'w duwiau oedd y Cromlechau. Y mae ereill yn meddwl mae bedd-feini oeddent. Fe allasai fod rhai o honynt gwedi cael eu codi i'r dybenion hyny; ond amlwg yw oddiwrth amrywiol amgylchiadau, y mae cerrig cyfammod, ar ba rai y cyflawnid llawer o ddefodau derwyddol, oedd y rhan fwyaf o honynt.[a]

Y Carneddau. Beddau yn ddiammeu oedd llawer o'r Carneddau ag oedd oddi amgylch i'r temlau derwyddol, er fod rhai o honynt gwedi eu codi i'r dyben i gynneu tân arnynt ar uchel-ŵyliau.[b]

Y derwyddon a gynniweirient i'w temlau y nôs

ond ei bod yn deml gyffredinol, lle yr oedd yr holl eilunod a gyduabyddid gan y derwyddon yn cael eu gwastadol addoli. Y mae gwedi cael ei gwneuthur i fynu o bedair rhes o gerrig mawr, o chwech i ugain troedfedd o uchder. Y ddwy res bellaf allan ydynt gylchaidd, a'r ddwy nesaf i mewn ydynt ar wedd ŵy. Y mae y cylch pellaf allan yn mesur tri chan troedfedd a deg.

Abury, yn agos i Malborough, oedd y deml dderwyddol fwyaf, ysgatfydd, yn yr ynys. Y mae clawdd o dair mil a naw cant o droedfeddi yn amgylchynu yr adail hon. Y tu mewn i ba un, y mae cylch o gan carreg gwedi eu gosod yn union syth, o un droedfedd ar bumtheg o uchder, a gerllaw cymmaint a hyny o led. A thu fewn i'r cylch hwnw y mae dwy deml o'r un ffurf a maintioli â'u gilydd. Gibson's Camden. Col. 740—814. and Collison's Beauties of Brit. Antiq.

[a] Owen's Dic. V. Cromlech. [b] Owen's Dic. V. Carn. and Tolland's Hist. of the Druids, p. 68.

nôs[a] fel y dydd, i'r dyben i glodfori eu duwiau, i weddio arnynt, ac i ostegu eu digofaint trwy offrwm ac aberth. Yr oeddent ar amserau yn offrymu gwenith, a mêl, a llefrith, a gwlith, a mês, ac amryw o bethau ereill i'w heilunod.[b] Eu haberthau cyffredin hwynt oedd defaid ac ychen, ac anifeiliaid ereill; ond gan eu bod yn credu nad oedd dim ond bywyd dyn, a allasai fod yn iawn digonol dros fywyd dyn, yr oeddent yn aberthu llawer o ddynion i'w duwiau gau.[c] Carcharorion a gymmerid mewn rhyfel, neu ddrwg-weithredwyr a fernid yn euog gan gyfreithiau eu gwlâd, oedd yr aberthau mwyaf cymmeradwy; ond pan na's gallasent gael y cyfryw aberthau, ni phetrusent i aberthu y diniweid. Ac fel ag yr oedd y derwyddon yn dysgu eu pobl i gredu, os ymostyngent yn wirfoddol i ddyoddef y gosp haeddiannol i'w pechod, y byddent trwy hyny i wneuthur digonol iawn am y trosedd, a phuro eu hunain oddiwrth bob drwg; y mae yn ddiammeu fod llawer gydâ dysgwyliad i gyrraedd dedwyddwch yn gynt, yn rhoddi eu hunain yn wirfoddol i gael eu haberthu. Ar rai achosion hynod, y derwyddon a wnaent ddelw fawr o wïail plethedig, a chwedi ei llanw hi o ddynion byw, gosodent dân o deni, nes byddai pawb ag a fyddai ynthi yn llosgi yn ulw.[d] Mewn

Aberthau y derwyddon.

Dynion yn cael eu haberthu mewn delw o wïail plethedig.

[a] Archaiol. Vol. I. p. 37. [b] Ibid. p. 37, 66. [c] Cæsar's Com. L. VI. Chap. 16. Archaiol. Vol. II. p. 9, 13, 65. [d] Cæsar's Com. L. VI. Chap. 16.

Mewn gair, hwy a ymdrechent trwy offrwm ac aberth, a llawer o ddefodau cywilyddus a chreulon, i wneuthur eu hunain yn gymmeradwy i'w duwiau dychymmygol.

Yr Wyddfa.

Heblaw y temlau yn 'mha rai yr oedd y derwyddon yn cyfarfod i addoli eu duwiau, yr oedd ganddynt leoedd a elwid Gwyddfau, lle yr ymgyfarfyddent yn flynyddol, neu yn chwartherol, i wrando a phenderfynu achosion gwladol. Yr oedd y cyfarfodydd gwladol hyn yn cael eu cynnal, nid yn ddirgel, fel llawer o'u cyfarfodydd crefyddol yn y llwyni cyssegredig, ond yn gyhoeddus ar leoedd uchel ac amlwg.[a] Ac y mae y lleoedd uchel ac amlwg a elwir yr Wyddfa arnynt, yn bytholi coffadwriaeth y cyfarfodydd hyn yn ein gwlâd.

Egwyddoriad ieuengctyd yn nirgeledigaethau y grefydd dderwyddol.

Fel mae y dduwies Ceridwen yn nhyb y derwyddon oedd yn ffurfio ieuengctyd i'r swyddau derwyddol, ac yn llywodraethu barddoniaeth, nid allasai neb yn ol eu trefn hwynt, gael eu hegwyddori yn rheolaidd yn nirgeledigaethau y grefydd dderwyddol, a chael eu gwneuthur (yn ol eu hiaith hwynt) yn ddynion newydd a pherffaith, heb dreulio rhyw amser mewn cyflwr o brofiad, a chyflawni rhyw ddefodau, y rhai oeddent bob amser yn boenus, ac weithiau yn

pryfio

[a] Owen's Dic. V. Gwyddfa, compared with Davies's Mythology, p. 72.

prysio yn farwol. Un o'r defodau a arferid ar yr achos hyn, oedd caethiwo y prawf-ddyn dros naw noswaith, neu naw mis,* yn nghrôth neu lys Ceridwen; sef rhyw gell ddirgel ag oedd yn dwyn enw y dduwies honno, ac yn gyssegredig iddi hi. Gwedi cyflawni y ddefod boenus hon, yr oedd y gwr ieuangc yn ddiweddaf oll, yn cael ei osod mewn corwgl cauedig, a'i droi yn benrhydd i'r môr, rhwng Dyfi ac Aberystwith, ac os dygwyddai iddo dirio yn ddiangol ar y cerrig a elwir Sarn Batrig, yr hon oedd tirfa enwog y derwyddon yn môr-gilfach Aberteifi, yr oedd efe yn cael ei dderbyn fel un o hiliogaeth deilwng y patriarch dedwydd, a ddiogelwyd yn yr arch; ac yn cael ei egwyddori yn union-gyrch yn nirgeledigaethau y grefydd dderwyddol. Y mae Taliesin, yr hwn oedd yn dderwydd proffesedig, yn darlunio ei hun fel un ag oedd gwedi myned trwy y defodau hyn; ac yn ganlynol gwedi ei eni deir-gwaith. Unwaith o'i fam; unwaith o Geridwen; ac yn ddiweddaf oll, o'r corwgl cysgodol. Mewn canlyniad i'r cyfnewidiadau hyn, yr oedd ef yn dywedyd fod holl wybodaeth y byd yn drysoredig ynddo; a'i fod yn gwybod yr hyn oll a fu o'r dechreuad; a'r hyn oll a ddygwyddai hyd ddiwedd amser.* Ymffrost Taliesin.

E Yr

* Naw mis yn ol hanes Taliesin, ond naw nôs yn ol y Trioedd. Archaiol. Vol. I. p. 17. Vol. II. p. 12.

* Archaiol. Vol. I. p. 17, 18, 76, 165.

Yr oedd y dduwies Ceridwen fel y rhan fwyaf o eilunod y cenhedloedd, yn cael ei darlunio dan lawer o enwau. Ar un amser, hi a ymddengys fel drycholaeth yr arch; pryd arall, y ma'i yn cael ei darlunio fel cawres; a chwedi hyny, ni a'i gwelwn hi gwedi newid ar ddull milast. Yn yr hanes a roddir am egwyddoriad Taliesin yn nirgeledigaethau y grefydd dderwyddol, y mae bwrdd crwn Arthur yn cael ei gyssylltu â dirgeledigaethau Ceridwen; yr hyn sydd yn brawf tebygol ei fod mewn ymarferiad at y cyfryw achosion. Ac yn mhlith yr amrywiol gromlechau ag y sydd yn Nghymru, gelwir rhai o honynt yn Faen Arch, ac ereill yn Wâl y Filast, a Llech yr Ast; gelwir ereill yn Fwrdd Arthur, a Choitan Arthur; ac fe fu cromlech yn sir Aberteifi, a elwid Llech y Gawres. Yn awr gan fod dull llawer o'r cromlechau hyn yn dangos nad allasent fod, nac allorau na beddfeini; a bod enwau llawer o honynt yn cyfatteb i'r enwau a roddir i Geridwen, fe ymddengys yn eglur, mae yr hyn a elwir yn y chwedl-ddysg Frytanaidd, yn grôth, neu lŷs Ceridwen, oedd llawer o honynt: lle yr oedd y prawf-ddyn yn cael ei gaethiwo dros naw noswaith, neu naw mis, i'r dyben i'w gymhwyso i holl ddyledswyddau y weinidogaeth dderwyddol. Dyma brif-ddefnydd y cromlechau; ac y mae yn eglur fod y ddefod o gaethiwo y gwr ieuangc yn y maen arch, a'r co-

Enwau y Cromlechau yn cyfatteb i enw Ceridwen.

Prif-ddefnydd y cromlechau.

rwgl

rwgl cyssegredig, yn cyfeirio at gaethiwed Noah yn yr arch.

Yr oedd y gromlech a'r corwgl yn mha rai y caethiwid y gwr ieuangc, yn gysgod o'r arch; yr oedd y môr, i ba un yr oedd efe yn cael ei xafon, yn cysgodi y diluw; a'r garreg, ar ba un yr oedd yn tirio, yn gysgod o fynydd Ararat, ar ba un y gorphwysodd yr arch.

Fel ag yr oedd Duw gwedi gweled bod yn dda, i ddiogelu Noah yn yr arch, oblegid ei fod yn ŵr cyfiawn a pherffaith yn ei oes;[a] y derwyddon a dybient fod y prawf-ddynion ieuaingc hyny, a ddyoddefent eu caethiwed yn y maen arch, neu lŷs Ceridwen, yn amyneddgar, ac a dirient yn ddihangol ar y garreg dirio, fel Noah, yn gyfeillion i'r Goruchaf, ac yn deilwng i gael eu hegwyddori yn holl ddirgeledigaethau y grefydd dderwyddol. Ond fod y cyfryw rai nad allasent, i ddyoddef eu hir gaethiwed yn llys Ceridwen, a'r rhai hyny ag oeddent mor anffodiog a boddi cyn iddynt dirio ar y cerrig tirio, fel trigolion yr hen fyd, yn annheilwng i fyw.*

Yr oedd y derwyddon yn ddigon hyspys o



[a] Gen. vii. 1.

* Pwy wrth ystyried y defodau poenus ag oedd mewn ymarferiad gan y paganiaid, na ddiolchai i Dduw am oruchwyliaeth dirion ac ysgafn yr efengyl? Da y dywedodd Crist, Fy iau i sydd esmwyth, a'm baich i sydd ysgafn.

raniad cyffredinol amser i ddiwrnodau, wythnosau, misoedd, a blynyddoedd.[a] Ond y mae yn ansicr pa un a oedd un diwrnod neillduol o bob wythnos gwedi ei neilltuo ganddynt at ymarferiadau crefyddol. Yr oedd ganddynt er hyny bedair uchel ŵyl flynyddol, y rhai a gadwent gydâ llawer o ddifrifwch paganaidd, a aurhydedd i'w duwiau.

Uchel wyliau y derwyddon.

Ar y degfed dydd o fis Mawrth, yr hwn oedd y dydd cyntaf o'u blwyddyn hwynt, yr oeddent yn ymgyfarfod i dorri y pren-awyr, neu uchelwydd y dderwen.[b] Gwedi iddynt gael gwybod yn mha le, ac ar ba dderwen yr ydoedd, un o'r derwyddon a esgynai y goeden ar ba un y byddai yr uchelwydd, ac â chyllell aur gyssegredig, a'i torai ef i lawr, ac a'i derbyniai yn barchus i'w wisg wen. Y derwyddon a gyfrifent uchelwydd y dderwen fel y rhodd fwyaf o eiddo y nefoedd, ac a'i parchent i'r graddau mwyaf o herwydd y rhinweddau a dybient fod yntho.[c] * Gwedi gorphen y ddefod hon, yr oeddent yn aberthu i'w duwiau, ac yn gwledda dros weddill y dydd.

Gwyl mis Mawrth.

Torri yr uchelwydd.

Yr uchel ŵyl flynyddol nesaf oedd yn dechreu

Gwyl mis Mai.

[a] Archaiol. Vol. I. passim. [b] Toland's Hist. of the Druids, p. 74. [c] Rowland's Mona Antiq. p. 69.

* Dywedai y derwyddon ei fod yn swyn yn erbyn pob afiwydd.

reu ar y dydd cyntaf o fis Mai, ac yn parhau ar amserau dros lawer o ddiwrnodau. Ar yr wyl hon yr oedd dau dân yn cael eu cynneu yn mhob pentref trwy'r wlâd, o anrhydedd i'r duw Beli, neu yr haul; yr hwn, y pryd hyny, sydd yn dechreu gwresogi y ddaiar â'i belydrau llon. Cynneuid un tân ar y carneddau, a'r llall yn agos atto: a gwneid i'r holl ddynion, ac anifeiliaid ag oedd gwedi eu neilltuo i gael eu haberthu, i fyned rhwng y ddau dân hyn, tra yr oedd yr holl luaws oddiamgylch iddynt, yn clodfori eu duwiau.[a]

Ar yr wyl hon hefyd yr oedd y derwyddon yn adgoffa y diluw, a gwaredigaeth y patriarch *duwiol* o'r dyfroedd mawrion. Yr oedd y ddefod goffadwriaethol hon yn cael ei chyflawni ar lan llynodd ag oedd gwedi eu cyssegru i'r dyben hyny: ac yn nghanol pa rai y tybient fod duw y diluw yn preswylio.* Meddylient hefyd fod

[a] Toland's Hist. of the Druids, p. 70.

* Yn mhlith amrywiol ereill, yr oedd y llynodd canlynol yn rhai cyssegredig gan y derwyddon, sef, Llyn Safaddan, yn sir Frecheiniog; Pwllcynffig, yn sir Forganwg; Llyn Llanllwch, yn sir Gaerfyrddin; y Llyn Gwyn, yn sir Faesyfed;[a] Llyn Tegid, Llyn Creini, a Llyn Urddin, yn sir Feirionydd; a Llyn Gwydd Ior, yn sir Drefaldwyn.[b] Oblegid fod y derwyddon yn ystyried y llynodd hyn, yn nghyd âg amryw ereill yn Nghymru, fel cysgod o'r diluw, a chwedi eu cyssegru hwynt, i'r dyben i'w adgoffa yn flynyddol, tanwyd y

[a] Gibson's Camden. Col. 706. [b] Camb. Reg. p. 302, 393, 378.

fod y duw hwn ar amserau nodedig yn ymadael dros ychydig â'i breswylfod ar y llyn, i'r dyben i ymweled â'i demlau mewn amrywiol fanau o'r wlâd:

chwedl, fod trefydd yn yr amser gynt, lle y mae y llynodd yn awr: ond oblegid drygioni y trigolion i'r ddaear i'w llyngcu, a dwfr ddyfod i'w lle. Adroddir y chwedlau hyn yn nghymmydogaethau amrywiol lynodd hyd y dydd heddyw. Ystyr y gair Bala yw, mynediad allan; ac y mae wrth Dre'r Bala yn Ngwynedd, yn agos i'r fan lle y mae yr afon Dyfrdwy yn rhedeg allan o lyn Tegid, gryg a elwid Tomen y Bala. Tegid hefyd oedd un o'r enwau a roddid gan y derwyddon i Noah. Y mae yn amlwg, gan hyny, fod y derwyddon yn ystyried Llyn Tegid yn gysgod o'r diluw, a thomen y Bala yn gysgod o'r fan lle daeth Noah a'i deulu allan o'r arch, os nad oeddent yn meddwl mae yr un oedd Llyn Tegid, a Llyn Llion (torriad pa un yn eu tyb hwynt fu yn achos o'r diluw) ac mae ar domen y Bala y disgynodd Dwyfan a Dwyfach o'u llong foel gwedi i ddyfroedd y diluw sychu. Nid oedd yr hen Gymry yn amrywio ond ychydig oddiwrth baganiaid ereill yn eu traddodiad o'r diluw. Dywedai y Groegiaid mae ar fynydd Parnasus y gorphwysodd arch Deucalion, ac yr oedd ar y mynydd hwnw, deml wedi ei chyssegru i Apollo. Ac ar fynydd Arenès yn Ffraingc yr oedd teml i'r un duw. Felly yr oedd mynydd Aren yn nghymmydogaeth y Bala, gwedi ei gyssegru yn yr amser gynt, i Tydain Tad Awen, neu Apollo.[a] Dywedir yn Nhrioedd ynys Brydain, i Seithinyn feddw, mab Seithyn Saidi brenin Dyfed, yn nghylch y chwechfed cant o oed Crist, yn ei feddwdod, i ollwng y môr dros Gantre'r Gwaelod, yn mha le yr oedd un dinas-dref ar bymtheg yn oreuon ar holl drefydd Cymru y pryd hyny, ond Caerlleon ar Wysg; ac i'r trigolion ddiangc a thirio yn Ardudwy, a gwlad Arfon, a mynyddoedd yr Eryri; a lleoedd ereill nad oeddent gyfannedd cyn hyny. Ond amlwg yw, mae hen

[a] Davies's Mythology, p. 193, 194.

wlâd: ac un o ddybenion y ddefod hon oedd i'w annog a'i roesawi ef i dir. Os na byddai un peth yn tyfu yn nghanol y llyn, gwnaent garfâd, ac a'i gosodent i nofio ar y llyn, fel arwydd o'r arch, neu deml a phreswylfod duw y diluw. Gwedi dyfod at y llyn, y derwyddon yn dyrfa fawr a threfnus, mewn gwisgoedd o liw priodol, a choronau-pleth o flodau ar eu penau, a âent oddi amgylch iddo, gan ganu a dawnsio, a thrywanu eu morddwydydd nes byddai y gwaed yn ffrydio allan. Pan orphenent y ddefod o amgylchynu y llyn, gosodent dri o ychain ‡ i lusgo

chwedl yw hyn, a darddodd o'r un ffynon a'r chwedlau a *ddywedir am* y llynodd, a dybir fod yn gorchuddio y mannau *lle y bu* trefydd gynt. Oblegid ni bu erioed yn Nghymru, Cantref yn cynnwys un dref ar bymtheg cyffelyb i Gaerlleon ar Wysg. Heblaw hyny, y mae Ptolemy, hanesydd dysgedig a chyfrifol, ag oedd yn byw oddi amgylch i'r flwyddyn cant o oed Crist, yn darlunio glan môr, môr-gilfach Aberteifi, yn debyg iawn i'r hyn yw yn bresennol; yr hyn nid allasai fod, pe buasai holl fôr-gilfach Aberteifi, o ynys Enlli i ynys Dewi, yn wastadedd, llawn o drefydd. Y Groegiaid a ddywedent i Deucalion yn amser y diluw dirio ar fynydd Parnasus; felly y Cymry a ddywedent i drigolion Cantre'r Gwaelod pan orchguddiwyd y wlâd â dwfr, dirio ar fynydd Eryri. Ond diamheuol yw, mae nid hanes mo hono, ond chwedl-ddysg. Saidi oedd un o'r enwau a roddid gan y derwyddon i Noah. Davies's Mythology, p. 107, 243.

‡ Un o'r tri gorchest-waith ynys Brydain oedd llusgo Afanc y llyn i dir gan ychain bannog Hu Gadarn, fel na thorres y llyn mwyach. Yn gymmaint ag mae Noah sydd i'w ddeall wrth Hu Gadarn, nid annhebygol yw mae tri mab

lusgo y car-fâd o'r dwfr i dir sych, fel arwydd o orphwysiad yr arch ar fynydd Ararat; ac hefyd o ddyfodiad duw y diluw i dir, yn ddarpariadol i'w fynediad cylchol i ymweled â'i demlau.* Ar yr ŵyl hon hefyd y danfonid y prawfddyn, yn benrydd mewn corwgl cauedig i'r môr.[a]

Gwyl canol haf. Yr oedd dydd canol haf, gwedi ei neilltuo gan y derwyddon i erfyn bendith ar waith y llafurwr, a ffrwythau y maesydd, cyn y byddent yn cael eu tori i lawr, a'u cywain i'r ysguboriau.[b] Cynneuid tanau, ac offrymid aberthau ar yr ŵyl hon fel arferol.

Ar

Noah, y rhai a'i cynnorthwyasant ef i ddyfod o'r arch, a feddylir wrth y tri ychain bannog; ac mae yr arch sydd i'w ddeall wrth yr afanc a dynwyd o'r llyn. Y mae traddodiad ofer yn ein gwlâd, i lygaid un o'r ychain hyn, trwy ormod gorchest, wrth dynu yr afanc o'r llyn, dasgu o'i ben, ac iddo farw yn y fan. Ac i'r llall, gwedi colli ei gydmar, wrthod ebran, a chrwydro yn ddi-gysur hyd oni's bu efe farw yn Llan Ddewi Brefi, yn sir Aberteifi, a dangosid ei gyrn ef hyd yn ddiweddar yn yr eglwys hono. Davies's Myth. p. 139.

* Yr oedd gan y derwyddon ddau fath o ynysoedd cyssegredig. Un yn arwydd o'r arch, a'r llall yn arwydd o'r mynydd ar ba un y gorphwysodd yr arch. Yr ynysoedd bach ag sydd yn nghanol rhai llynodd, oedd yn arwyddo yr arch; a'r gor-ynysoedd oedd yn arwyddo y mynydd ar ba un y gorphwysodd yr arch. Yr oedd y gor-ynys fach, ar ba un y mae tref Tinbych, yn sir Benfro, gwedi ei hadeiladu, yn deml gyssegredig i dduw y diluw yn yr amser gynt. Archaiol. Vol. I. p. 67.

[a] Archaiol. Vol. I. p. 18, 21. 67, 72, 73. [b] Toland's Hist. of the Druids, p. 73.

Ar y dydd diweddaf o fis Hydref, yr oedd pob teulu trwy yr holl wlâd, yn rhwym dan boen ysgymmundod i ddiffodd eu tânau yn llwyr, ac ar y dydd cyntaf o fis Tachwedd i fyned i'r deml i gael cyfran o'r tân cyssegredig oddi yno, i ail gynneu eu tanau yn eu tai. Ni feiddiai neb roddi peth o'i dân ei hun i'w gymmydog, ond yr oedd yn rhaid i bawb i'w gael o law y derwydd yn y deml. Tybient fod y tân cyssegredig hwn yn foddion i wneuthur y duwiau yn fwy boddlon iddynt, ac yn ganlynol y cedwid eu tai rhag llosgi y flwyddyn ganlynol. Rhoddid ychydig o arian i'r derwyddon am y tân cyssegredig hwn; a byddai rhaid i bawb i dalu yr hyn oll oedd yn ddyledus arnynt i'r derwyddon, cyn ei gaffael. Ar yr wyl hon yr oedd y derwyddon hefyd yn talu diolch am ffrwythau y ddaiar.[a]

Fel ag y mae dyscyblaeth briodol yn hanfodol i iawn drefn, a gwir gysur pob cymdeithas, yr oedd gan y derwyddon reolau manol i'w cymdeithasau crefyddol, a gofalent fod y bobl yn eu cadw hwynt oll. Ac fel ag yr oeddent yn farnwyr mewn matterion gwladol ac eglwysig, nid oedd arnynt byth eisiau gallu i osod eu cyfreithiau mewn grym. Pwy bynnag, gan hyny, na chyd-ymffurfiai â'u holl reolau hwynt, a ga'i ei ysgymmuno o'u cymdeithas: ac mor arswydus oedd eu hysgymmundod hwynt, fel ag yr oedd Dyscyblaeth y derwyddon.

F

[a] Toland's Hist. of the Druids, p. 71, 72.

oedd rhai yn ei ofni yn waeth nag angeu. Yn ol y drefn dderwyddol, yr oedd y person ysgymmunedig yn cael ei ystyried mor ffiaidd a halogedig, fel na wnai neb gymdeithasu âg ef rhag iddo eu halogi. A chauid ef allan, nid yn unig o'r holl aberthau a defodau crefyddol, ond difuddid ef hefyd o ddiogelwch y gyfraith wladol, a gwnaid ef yn agored i ddrygau a niweidiau o bob rhyw.[a]

Rhagorfreintiau y derwyddon.

Gan fod yr offeiriadaeth yn mhlith yr Hebreaid yn swydd sanctaidd a phwysfawr iawn, gwelodd Duw fod yn dda i ryddhau y Lefiaid oddiwrth yr angenrheidrwydd o fyned i ryfela â gelynion eu gwlâd:[b] ac nid oedd arnynt ychwaith, na tholl, na theyrn-ged, na thrêth.[c] Yr oedd trefn gyffelyb i hon hefyd yn mhlith yr hen Gymry, a phaganiaid ereill, yn mron, yn mhob oes a gwlâd. Llywodraethwyr gwladol, wrth ystyried defnyddioldeb a phwys yr offeiriadaeth yn eu plith, a dybiasant ei bod yn ddyledswydd arnynt, i esgusodi yr offeiriaid oddiwrth amryw ddyledswyddau gwladol, a ddysgwylid oddiwrth ereill o'r deiliaid. Yn ganlynol, ni a gawn, fod personau y derwyddon yn cael eu hystyried yn ddihalog, a'u bod yn rhydd oddiwrth ddyledswyddau milwraidd, a phob rhyw drêth.[d]

Er fod yn anhawdd penderfynu yn bresennol, pa

[a] Cæsar's Com. L. VI. Chap. 13. [b] Num. i. 49. [c] Ezra vii. 24. [d] Cæsar's Com. L. VI. Chap. 14.

yn faint oedd ardreth flynyddol y derwyddon, etto pan ystyriom fod y Cymry, fel cenhedloedd paganaidd ereill, yn cyssegru anifeiliaid, ac yspeiliau ereill a gymmerid mewn rhyfel, i'r duw hwnw, trwy gymmorth pa un y tybient iddynt gael y fuddugoliaeth; ac y mae y derwyddon oedd yn hyfforddi ieuengctyd ac ereill yn y cel fyddydau, ac yn penderfynu pob matterion gwladol ac eglwysig, ac nad oedd un ddefod grefyddol yn cael ei chyflawni heb eu cynnorthwy hwynt; ni a allwn gasglu yn ddiogel mae y derwyddon oedd y corph mwyaf cyfoethog a pharchus yn y wladwriaeth. Ardreth y derwyddon.

Y mae cyfeiliornad mewn barn yn arwain yn *naturiol* i gyfeiliornad mewn bywyd. A chan fod y derwyddon mor gyfeiliornus yn eu barn yn nghylch egwyddorion sylfaenol crefydd, ni allasid dysgwyl fod eu mhoesau hwynt, na'u pobl yn dda iawn. Yn ganlynol, yr ydym yn cael, nid yn unig eu bod hwy yn aberthu dynion, ac yn annog ereill i aberthu eu hunain, ond fod llawer o bethau anweddaidd a phechadurus yn rhai o'u defodau crefyddol,[a] a bod y bobl, yn gyffredin, yn byw mewn aflendid ac anlladrwydd. Nid peth anghyffredin oedd gweled y pryd hyny, yn Nghymru, ddeg neu ddeuddeg o wyr yn byw gydâ'u gilydd â'u gwragedd yn gyffredin rhyngddynt Moesau'r Cymry dan y grefydd dderwyddol.



[a] Archaiol. Vol. I. p. 67.

ddynt oll; a chyfrifid yr hwn a orweddasai gyntaf gydâ y fam yn dad i'w holl blant hi.[a]

Yr oedd gan y gwyr hefyd awdurdod bywyd a marwolaeth ar eu gwragedd a'u plant. A phan y byddai gwr enwog farw, a phentwr ei gladdedigaeth yn barod;* y gweision hyny ag oedd yn dda ganddo am danynt yn ei fywyd, a losgid gydâg ef, mewn canlyniad i'r dyb gyfeiliornus ag oedd yn eu plith, y byddent i weini iddo ef yn y byd nesaf.[b]

Bu'r hen Gymry yn y cyflwr galarus hwn dros oesoedd gwedi iddynt ddyfod i Frydain. Rhodient yn oferedd a gwagedd eu meddwl, heb obaith ganddynt ac heb Dduw yn y byd. Yr oeddent hwy fel y cenhedloedd paganaidd ereill y pryd hyny, yn sefyll yn y diffyg mwyaf o ddatguddiad o'r nef, i ddangos iddynt natur a phriodoliaethau Creawdwr y bydoedd, yn nghyd â natur yr addoliad, a'r gwasanaeth, ag sydd yn gymmeradwy ganddo ef: ac hefyd i'w dwyn i'r adnabyddiaeth gywir o gyflwr dynol-ryw fel troseddwyr o gyfraith Duw, a'r ffordd o gymmeradwyaeth trwy Gyfryngwr; yn nghyd â natur

[a] Cæsar's Com. L. V. Chap. 14.

* Llosgi cyrph ac nid eu claddu yr oeddid y pryd hyny: ond casglid eu lludw, a chleddid hwynt, yn gyffredin, mewn ysten o dan y garnedd.

[b] Cæsar's Com. L. VI. Chap. 19. Gan mae yr un grefydd oedd yn Mrydain ag yn Ffrainge, y pryd hyny, yr un arferion oedd ganddynt hefyd.

tur a sicrwydd y byd sydd ar ol hwn, a phob peth arall angenrheidiol i greadur rhesymol ei wybod.

Duw, yr hwn sydd gyfoethog o drugaredd, ac yn gymmorth hawdd ei gael mewn cyfyngder, pan oedd dynol-ryw yn y cyflwr anwybodus hwn, a gofiodd ei gyfammod âg Abraham, Isaac, a Jacob; a phan ddaeth cyflawnder yr amser, a ddanfonodd ei Fab i'r byd, i fod yn oleuni i oleuo y cenhedloedd, ac yn ogoniant i'w bobl Israel.

## Y CANT CYNTAF.

Genedigaeth Crist.
CANT I.

IESU GRIST a anwyd yn Methlehem Judea, yn nheyrnasiad Augustus Cæsar, ymerawdwr Rhufain, ychydig o flynyddoedd cyn marwolaeth Herod fawr.[a] Cafodd genedigaeth Crist ei gyhoeddi gan yr angylion,[b] a seren a dywysodd ddoethion y dwyrain i'r fan lle y gorweddai y baban Iesu.[c] A Herod yn gwybod fod dysgwyliad cyffredinol yn mhlith yr Iuddewon, am ymddangosiad tywysog galluog i'w gwaredu hwynt o dan iau y Rhufeiniaid, ac adferu eu cenedl i'w hên adderchawgrwydd, a lanwyd o fraw pan glybu efe am enedigaeth Crist. Ac i'r dyben i gadarnhau ei orsedd ei hun, a siomi dysgwyliad yr Iuddewon, a laddodd holl fechgyn Bethlehem o ddwy flwydd oed a than hyny.[d] Ond Duw yn gwybod yr ennynai llid Herod yn erbyn ei fab Iesu, ac yn rhag-weled y dygwyddiad galarus hwn, a rybuddiodd Joseph i ffoi a'i deulu i'r Aipht.[e] Gwedi i Joseph ymdeithio yn yr Aipht hyd farwolaeth Herod, efe a ddychwelodd, ac a breswyliodd yn Nazareth.[f] Treuliodd Crist ei febyd

Herod yn lladd bechgyn Bethlehem.

[a] Luc ii. 1—8. Mat. ii. 1. [b] Luc ii. 9, 10, 11. [c] Mat. ii. 2. [d] Mat. ii. 16. [e] Mat. ii. 13. [f] Mat. ii. 23.

CANT. I.

febyd a'i ieuengctyd yn Nazareth,[a] ac nid yw yn annhebygol iddo ef ddilyn galwad Joseph, hyd yr amser gosodedig iddo ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus.[b] Yn ol y prophwydoliaethau, cafodd Ioan Fedyddiwr ei anfon i barotoi meddyliau y bobl i wneuthur derbyniad o Grist a'i efengyl: ac fel ag yr oedd efe yn ŵr o dduwioldeb a diwydrwydd mawr, bu yn llwyddiannus i ddwyn llawer o'i gyd-wladwyr i ymadael â'u pechodau, ac i ufuddhau i'w fedydd ef.[c] Pan oedd Crist yn nghylch deng mlwydd ar hugain oed, cafodd ei fedyddio gan Ioan yn yr Iorddonen; a chwedi iddo dderbyn yr Ysbryd Glân yn ddifesur, a chael ei gyfaddef yn gyhoeddus gan y Tad, fel ei anwyl Fab, efe a ddechreuodd ar y gorchwyl pwysfawr, o herwydd pa un y daeth efe i'r byd:[d] a thros dair blynedd, a rhai misoedd, efe a fu yn ddiwyd iawn, yn gweithio y gwyrthiau mwyaf rhyfeddol, a chyhoeddi athrawiaethau pur yr efengyl, trwy Judea, Galilee, a Samaria.[e] Fel ag y byddai i holl dalaeth Judea, glywed am ddyfodiad y Messiah, cafodd deg dyscybl a thriugain eu dewis a'u danfon gan Grist, i wneuthur gwyrthiau, a phregethu yr efengyl yn y lleoedd hyny ag oedd efe ei hun yn bwriadu myned iddynt.[f] Ac fel ag yr oedd yr efengyl i gael ei chyhoeddi trwy yr holl fyd, Crist

*Anfoniad Ioan Fedyddiwr.*

*O. C. 30. Crist yn cael ei fedyddio, ac yn dechreu ei weinidogaeth gyhoeddus.*

*Y 70 dyscybl.*

[a] Luc ii. 51. [b] Luc ii. 51. [c] Mat. iii. 1—6. [d] Luc iii. 21, 22, 23. [e] Mat. iv. 23. and passim. [f] Luc x. 1.

CANT I. Crist a ddewisodd ddeuddeg o apostolion,[a] y rhai a gadwodd efe y rhan amlaf, yn agos atto ei hun, fel ag y byddai iddynt gael eu cyflawn hyfforddi yn athrawiaethau rhagorol y grefydd gristianogol; ac y byddent yn dystion cymmwys i'r holl genhedloedd, o burdeb ei fywyd, a'i athrawiaeth, yn nghyd â sicrwydd ei farwolaeth, adgyfodiad, a'i esgyniad i'r nef.

Y 12 apostol.

Pan ddarfu i Grist, trwy ei wyrthiau, hollol gadarnhau gwirionedd ei ddwyfol anfoniad; a thrwy ei fywyd pur, gadw y gyfraith a'i gwneuthur hi yn anrhydeddus; efe a roddodd ei hun yn ewyllysgar i ddwylaw ei elynion.[b] Gwedi ei fradychu gan Judas, ei gam-gyhuddo gan yr Iuddewon, a'i cuog-farnu yn anghyfiawn gan Bilat; efe a groeshoeliwyd ar fynydd Calfaria,[c] ac a fu farw yn aberth dros bechod.[d] Ar y diwrnod hynod hwnw, pan oedd Mab Duw ynghrog wrth bren, yr haul a dywyllodd, y ddaiar a grynodd, a'r beddau a agorwyd;[e] cyflawnwyd y prophwydoliaethau, diddymwyd y sercmoniau, gwnaethpwyd cyflawn iawn dros bechod, cafwyd hollol fuddugoliaeth ar uffern; ac agorwyd ffordd i nefoedd y gogoniant trwy waed Crist. Gwedi i Fab Duw farw ar y pren, ei gorph a gymmerwyd i lawr, ac a osodwyd mewn bedd newydd;[f] a rhag ofn i'w ddyscyblion ei gymmeryd

Marwolaeth Crist.

[a] Mat. x. 1, &c. [b] Ioan xviii. 5. [c] Ioan xviii. a xix. passim. [d] 1 Cor. xv. 3. [e] Mat. xxvii. 45, 51, 52. [f] Ioan xix. 38—42.

CANT I.

yd ef ymaith liw nôs, a dywedyd ei fod gwedi adgyfodi, gorchymmynodd Pilat i selio y bedd, a'i wylied hyd y trydydd dydd.[a] Ond ar fore y trydydd dydd, Crist a rwygodd rwymau angeu, ac yn mhresennoldeb y gwylwyr, a gyfododd o'r bedd yn fuddugoliaethus, ac a ymddangosodd i'r tystion etholedig;[b] a thrwy hyny efe a roddodd y dystiolaeth fwyaf diamheuol ei fod yn Fab Duw, a Iachawdwr pechaduriaid.

Adgyfodiad Crist.

Arosodd Crist gydâ'i ddyscyblion ddeugain niwrnod[c] gwedi ei adgyfodiad: a chwedi rhoddi iddynt bob addysg angenrheidiol ynghylch natur a threfn ei deyrnas, tra yr oedd efe yn eu bendithio hwynt ar fynydd yr Olewydd, efe a gymmerwyd i fynu i'r nef.[d]

Esgyniad Crist.

Gwedi ei ddyrchafu ar ddeheu-law y Tad, a derbyn yr addewid o'r Ysbryd Glân, ar ddydd y Pentecost, efe a'i tywalltodd ar yr apostolion,[e] fel ag y byddai iddynt gael eu cyflawn gymmwyso i'r gwaith pwysfawr i ba un y galwyd hwynt.

Tywalltiad o'r Ysbryd Glân ar yr apostolion.

Tra yr oedd Crist gydâ'i ddyscyblion, efe a sefydlodd y ddwy ordinhad o fedydd a swper yr Arglwydd.[f] Y cyntaf fel dygiad i mewn i'r eglwys gristianogol, a sêl o'i sanctaidd gyfammod; a'r ail yn goffadwriaeth barhaus o'i farwolaeth

Bedydd a swper yr Arglwydd.

 drosom,

[a] Mat. xxvii. 65, 66. [b] Mat. xxviii. [c] Act. i. 3. [d] Luc xxiv. 51. [e] Act. ii. 33. [f] Mat. xxvi. 26—30. a xxviii. 19.

CANT I.

drosom, ac yn gwlwm undeb rhwng ei holl aelodau.

Gosodiad gweinidogion.

Fe welodd Crist fod yn dda hefyd, er adeiladaeth i'w eglwys, i osod dwy radd o weinidogion; anghyffredin, a chyffredin.[a] Apostolion, Prophwydi, ac Efangylwyr, oedd y gweinidogion anghyffredin; a Bugeiliaid, ac Athrawon, yw y gweinidogion cyffredin. Yr oedd yr Apostolion gwedi eu galw yn ddi-gyfrwng gan Grist ei hun, yn dystion o'i adgyfodiad ef, ac wedi eu cynnysgaeddu â doniau anghyffredin yr Ysbryd Glân. Y Prophwydi a eglurent y gyfraith, ac a rag-fynegent bethau i ddyfod. Yr Efangylwyr a gyd-ymdeithient â'r Apostolion, ac a adeiladent yr eglwysi ag oedd gwedi eu plannu ganddynt.

Gwedi i eglwysi crist'nogol gael eu plannu yn amryw barthau y byd, a christianogaeth gael ei sefydlu yn ddigonol, peidiodd y gweinidogion anghyffredin hyn. Y gweinidogion cyffredin ag sydd i barhau yn eglwys Crist hyd ddiwedd amser, ydynt y Bugeiliaid ac Athrawon; neu fel ag y gelwir hwynt rai troion, Esgobion a Henuriaid: oblegid y mae gweinidogion Crist yn cael eu galw yn y Testament newydd, yn Esgobion,* Henuriaid;

[a] Eph. iv. 11.

* Ystyr y gair Επισκοπος, Esgob, yw golygwr: a chan fod pob gweinidog urddedig yn olygwr ar braidd Crist, gelwir hwynt, gydâ'r priodoldeb mwyaf, yn Esgobion.

Henuriaid, Bugeiliaid, neu Athrawon, yn ol y gwahanol ranau o'r weinidogaeth, i ba rai y maent hwy, yn fwyaf neillduol, yn cael eu galw.‡

CANT I.

Gwedi i'r apostolion dderbyn dawn yr Ysbryd Glân, hwy a gyflawnasant eu gweinidogaeth dros rai blynyddoedd yn Jerusalem, ac a wnaethpwyd yn offerynol i ddwyn llawer i wybodaeth o'r gwirionedd.[a]

Yr Iuddewon yn erlid yr apostolion.

Pan welodd yr Iuddewon anghrediniol, y llwyddiant ag oedd yn cyd-fyned â llafur yr apostolion, hwy a ofnasant y llenwid y wlâd â'u hathrawiaeth, ac a godasant erledigaeth yn eu herbyn.[b] Ond y mesurau a fabwysiadwyd gan yr Iuddewon i ddiwreiddio cristianogaeth o Judea, a gawsant eu goruch-lywodraethu gan Dduw, a'u gwneuthur yn gynnorthwyol i daeniad yr efengyl dros yr holl fyd.

Yr apostolion yn myned i bregethu i'r holl fyd.

Pan gafodd yr Apostolion eu herlid yn Judea, hwy a ffoisant i wledydd ereill; ac mewn ufudd-dod i'r gorchymmyn a roddwyd iddynt gan Ben mawr yr eglwys,[c] hwy a aethant allan i'r holl fyd, ac a bregethasant yr efengyl i bob creadur. Ac er eu bod yn cael eu gwrthwynebu gan Iuddewon a Chenhedloedd, yr oedd ardderchawgrwydd eu hathrawiaeth, y gwyrthiau ag oeddent yn ei wneuthur, sancteiddrwydd eu bywydau,



‡ Gwel Dr. Owen on Church Government. Chap. 4.

[a] Act. ii. 41. a iv. 4. [b] Act. vi. 12. [c] Marc xvi. 15.

CANT I.

bywydau, a'r effaith ddwyfol ag oedd yn cydfyned â'u cynghorion, yn gwasgaru tywyllwch anwybodaeth, eilun-addoliaeth, a choel-grefydd mor nerthol, fel ag yr oedd eglwysi cristianogol gwedi eu plannu cyn pen ychydig o flynyddoedd yn y parthau pellaf o'r byd adnabyddus.[a]

Tra yr ydoedd yr Apostolion fel hyn yn cyhoeddi yr efengyl i wledydd tramor, 'yr oedd Arglwydd y lluoedd yn parotoi y ffordd i'r efengyl ddyfod i Brydain Fawr.

Gwydyr, brenin Brydain, yn anfoddlon i'w wlâd fod yn hŵy dan lywodraeth dyeithriaid, a wrthododd dalu i'r Rhufeiniaid y deyrnged arferol.[b] Pan ddeallodd yr ymmerawdwr Claudius Cæsar, fod y Cymry yn bwriadu taflu ymaith iau y Rhufeiniaid, efe a ddaeth â byddin luosog i Frydain, a chwedi darostwng rhan o'r ynys dan ei lywodraeth, efe a ddychwelodd i Rufain,[c] gan adael gofal y rhyfel i Plautius, blaenor llu.

Claudius Cæsar yn dyfod i Frydain.

Ar ddyfodiad Claudius Cæsar i'r ynys, cafodd Caradog enwog ei ddewis i fod yn flaenor ar fyddinoedd y Cymry. Yr oedd y tywysog hwn mor enwog a pharchus, oblegid ei wybodaeth a'i rinweddau milwraidd, fel ag y darfu i'w gyd-

Caradog yn cael ei ddewis yn flaenor llu.

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 54, 55.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 187, 188. Y Cymry a dale deyrnged flynyddol i'r Rhufeiniaid er pan oresgynodd Julius Cæsar yr ynys hyd amser Gwydyr.

[c] Suetonius. p. 234.

CANT I.

gyd-wladwyr, pan y dewiswyd ef yn flaenor llu, gynnull atto o bob man, a'i ddilyn ef i faes y gwaed ar eu traul eu hunain.[a] Caradog a amddiffynodd rydd-did ei wlâd yn lew, ac a anrheithiodd ei elynion yn fawr dros naw mlynedd.[b] Ond nid oedd glewder yn unig, ddim yn ddigonol i ymdrechu â byddinoedd trefnus y Rhufeiniaid.

Ostorius yn gorchfygu Caradog.

Gwedi hir ymladd, Caradog a orchfygwyd gan Ostorius, blaenor llu y Rhufeiniaid, a thrwy fradwriaeth Aregwedd Foeddig,* brenhines y Brigantwys, a draddodwyd i ddwylaw ei elynion. Da iawn oedd gan y Rhufeiniaid gael y fath ryfelwr dewr, ac enwog, dan eu hawdurdod; ac a'u hanfonasant ef, ynghyd â Bran ab Llyr Llediaith, ei dad, a'r holl deulu yn garcharorion i Rufain.[c] †

Bran a'i deulu yn cael eu hanfon yn garcharorion i Rhufain.

Er

[a] Archaiol. Vol. II. p. 64, 69. [b] Humfrey Lhuyd's Breviary, p. 20.

* Y Rhufeiniaid a'u galwent hi, Cartismandua, a Boadicea. Merch Afarwy, ydoedd.

[c] Archaiol. Vol. II. p. 61, 62, 63.

† Araith Caradog ger bron yr ymmerawdwr Claudius Cæsar, yn Rhufain.

'Pe buasai cymhedroldeb fy meddwl mewn llwyddiant yn gyfattebol i'm bonedd a'm golud, gallaswn ddyfod fel cyfaill yn hytrach nâ charcharor i'r ddinas hon; gallasech chwithau, heb un dianrhydedd, wneuthur cyngrair â mi, yr hwn wyf yn hiliogaeth frenhinol, a'r pryd hyny oeddwn yn ben ar lawer o genhedlaethau. Fel ag y mae fy nghyflwr presennol i yn waradwyddus; felly y mae yr eiddo chwithau yn anrhydeddus ac ardderchog. Yr oedd gennyf

CANT I. O. C. 52. Er mor anffodiog oedd y dygwyddiad hwn, i'r Cymry, ar yr amser, trwy gyfryngiad Rhagluniaeth, bu yn genhedliol o'r daioni mwyaf i'w gwlâd hwynt yn y canlyniad. Oblegid Duw, yr hwn sydd yn teyrnasu yn mrenhiniaethau dynion, ac yn peri i gynddaredd dyn i'w foliannu, a wnaeth gaethiwed Bran ab Llyr Llediaith, a'i deulu, yn foddion i ddwyn yr efengyl i Frydain.

Yr oedd Rhufain y pryd hyny yn eisteddle dysgeidiaeth a'r celfyddydau, yn brif ddinas yr ymmerodraeth, a meistres y byd; a phobl yn cynniwair iddi o bob gwlâd. A phan gafodd Bran ab Llyr Llediaith ei ddwyn yn gaeth i Rufain, yr oedd yr efengyl yn cael ei phregethu yno, a llawer o'r trigolion, heb sylwi ar wrthwynebiadau, nac ofni peryglon, oeddynt gwedi ymwrthod â'u heulunod mudion, a gwneuthur proffes gyhoeddus o'r ffydd grist'nogol.*

Cafodd

feirch, gwyr, arfau, a chyfoeth; pa ham gan hyny y dylai fod yn rhyfedd, fy mod yn anewyllysgar i ymadael â hwynt? Ond gan fod yn rhaid i'ch awdurdod a'ch ymmerodraeth chwi fod yn gyffredinol, y mae'n rhaid i ni, fel pawb ereill, i ymostwng. Pe buaswn yn rhoi i fynu yn union-gyrch, ni buasai na'm damwain i, na'ch gogoniant chwithau mor enwog. Fy meddrod a lyngcasai ei choffadwriaeth gydâ'm corph; ond os dyoddefwch i mi yn awr i fyw, fe fydd i'ch mwynder i fyw ynof byth, fel siampl i'r oesoedd a ddel.' Mewn canlyniad i'r araith hon, cafodd Caradog a'i deulu eu rhyddhau o garchar. Tacit. Annal. L. XII. Chap. 37.

* Rhuf. i. 7.

Cafodd Bran, gan hyny, yn yspaid y saith mlynedd ag y bu efe yn garcharor yn Rhufain, y fraint o glywed hyfryd sain yr efengyl; a mwynhaodd amrywiol gyfleusderau i ymddiddan â gweinidogion Crist, ag oedd yn dyfod yno. Gwelodd Duw fod yn dda i sancteiddio y manteision hyn er troedigaeth Bran; ac er ei fod yn garcharor mewn gwlâd ddyeithr, cafodd ei ddwyn i rydd-did ysbrydol, a'i wneuthur yn gyd-ddinasydd â'r saint, a'i fabwysiadu i deulu Duw.

CANT I.

Dychweliad Bran i'r ffydd grist'nogol.

Bran oedd y cyntaf o'r Cymry a gafodd ei ddychwelyd i'r ffydd gristianogol;* ac oblegid ei dduwioldeb diragrith, ei ymarweddiad hardd, a'i ymdrechiadau canmoladwy, i helaethu y gwirionedd, cafodd ei alw o hyny allan, Bran fendigaid. Wedi i Fran fendigaid i deimlo awdurdod yr efengyl ar ei feddwl ei hun, a phrofi ei chysuron melus a sylweddol, daeth yn llawn sêl dros ymhelaethiad y gwirionedd. A chan fod ei gyd-wladwyr, y Cymry, yn aros mewn tywyllwch paganaidd ac eilun-addolgar, teimlodd ddymuniad cryf i anfon yr efengyl attynt; a phenderfynodd i ymdrechu i'w dwyn i wybodaeth o Grist, cyn gynted ag y caffai ei ryddhau. Bran fendigaid, wedi bod saith mlynedd yn garcharor yn Rhufain, a ryddhawyd: ac yn ebrwydd,

* Achau saint ynys Brydain.

CANT I.

rwydd, wedi iddo gael ei rydd-did, efe a ymrwymodd Ilid, Cyndaf, ac Arwystli Hên, tri o wyr enwog mewn duwioldeb, a sêl, dros lediad y gwirionedd, i ddyfod gydâg ef i Frydain, i hyfforddi y Cymry yn egwyddorion y grefydd gristianogol. Israeliad oedd Ilid, a Chyndaf, ond Rhufeiniad oedd Arwystli Hên.[a]

Hanes Prydain Fawr tudal 22

Dyfodiad yr efengyl i Frydain. O. C. 60.

Gwedi gwneuthur y trefniadau angenrheidiol i'w taith, a chymmeryd eu cennad oddiwrth y brodyr yn Rhufain, a'u gorchymmyn ganddynt i ras Duw; Bran fendigaid, a'i gyfeillion a ymadawsant, a thrwy ddaioni rhagluniaeth, a diriasant yn ddiogel yn ynys Brydain.[b] * Er nad ellir

[a] Achau saint ynys Brydain. [b] Archaiol. Vol. II. p. 61.

* Eusebius, Theodoret a Gildas, a ddywedent i'r Efengyl gael ei hanfon i Frydain yn nyddiau yr apostolion. Ond y mae llawer o wahanol feddyliau gan ddysgedigion, ynghylch yr offerynau, trwy ba rai y cafodd yr efengyl ei dwyn yma. Tybia rhai i'r apostol Iago mab Zebedeus, ddyfod i Frydain yn y flwyddyn 41 o oed Crist. Ond gan i Iago gael ei osod i farwolaeth gan Herod yn y flwyddyn 44 o oed Crist, a chyn i'r apostolion i wasgaru o Jerusalem, mae yn anhawdd credu iddo fod yma yn pregethu yr efengyl. Act. xii. 1, 2.

Ereill a dybiant mae yr apostol Simon Zelotes, oedd y cyntaf a bregethodd Grist i'r Cymry yn y flwyddyn 47 o oed Crist, ac iddo gael ei ferthyru gan y derwyddon. Ond y mae ereill yn barnu, gydâ mwy o debygolrwydd, mae yn y dwyrain yr oedd Simon yn gweinidogaethu, ac na fu efe erioed yn Mrydain. Y mae Metaphrastes yn meddwl i'r apostol Pedr dreulio llawer o flynyddoedd yn yr ynys hon; ac iddo ddychwelyd llawer o'r Cymry i'r ffydd, a phlannu

ellir yn awr benderfynu yn ddiamheuol, yn mha ran o'r ynys y tiriodd Bran a'i gyfeillion; etto mae llawer o ystyriaethau yn eu gwneuthur yn debygol, CANT I.

H

llawer o eglwysi yn eu plith: a chwedi urddo esgobion, henuriaid, a diaconiaid, iddo ddychwelyd i Rufain. Gan na ddylid gosod gormod o bwys ar dystiolaeth Metaphrastes, a bod yr ysgrythur yn dywedyd (Gal. ii. 7.) mae gweinidog yr enwaediad oedd Pedr, y mae yn fwy tebygol iddo ef gyfyngu ei weinidogaeth i'r gwledydd hyny, lle yr oedd yr Iuddewon yn fwyaf lliosog; ac na bu efe erioed yn Mrydain, lle nid oedd ond ychydig, os oedd rhai Iuddewon y pryd hyny. Yn wir, fe debygid, mae prif-ddyben rhai awdwyr, wrth haeru fod Pedr yn Mrydain, oedd profi fod gan eglwys Brydain, ogyfuwch hawl i'r apostol hwnw, ag eglwys Rhufain.

Oblegid i'r apostol Paul ddywedyd, (Rhuf. xv. 24.) ei fod *yn bwriadu* myned i'r Hispaen, llawer a dybiant iddo ddyfod *i bregethu* yma y pryd hyny, ac iddo ef fod yn offerynol i blannu llawer o eglwysi yma. Os bu un o'r apostolion yn pregethu yn Mrydain, Paul yw'r mwyaf tebygol i fod yma. Ond er fod Paul yn bwriadu myned i'r Hispaen, nid ydym yn sicr iddo fyned yno. Dywedir hefyd i rai gwyr apostolaidd gael eu hanfon gan yr apostolion i bregethu Crist i'r Cymry, ond nid oes sail ddigonol i gredu'r hanes a roddir o'r matterion yma. Yr hanes ag a gafodd fwyaf o dderbyniad yn yr oesoedd pabaidd, oedd, i Joseph o Arimathea, a deuddeg o ddyscyblon gydàg ef, ddyfod yma yn y flwyddyn 63 o oed Crist, ac i frenin y wlad roddi iddynt Iniswitrin, yn breswylfod. Gwedi iddynt breswylio yno dros ychydig, dywedir i'r angel Gabriel orchymmyn iddynt adeiladu eglwys, a'i chyssegru i Fair y forwyn. Ond y mae yr hanes a roddir am ddyfodiad Joseph o Arimathea a'i gyfeillion i'r ynys hon, y gwyrthiau a wnaethant, y llwyddiant a gawsant, a'r erledigaethau a ddyoddefasant, mor llawn o chwedlau pabaidd, fel ag y mae yn amlwg i bob dyn dyallus, mae dyfais mynachod Glastonbury yw y cyfan. Yr oedd y dull ag y cafodd

CANT I.

débygol, mae ar ddeheubarth Cymry y tywynodd goleuni yr efengyl gyntaf yn yr ynys hon. ‡

Wedi i Fran fendigaid gael yr anrhydedd neillduol, o ddwyn yr efengyl i wlad ei enedigaeth, cafodd y cysur annhraethadwy, o weled ei lafur yn llwyddo, rai blynyddoedd, cyn iddo gael ei law i dderbyn ei wobr.

Llwyddiant crefydd yn nyddiau Bran.

Fel ag yr oedd Bran fendigaid yn ŵr rhagorol a chymmeradwy yn y wladwriaeth, cafodd ei siampl dduwiol, effaith fawr ar ei deulu ei hun, ynghyd â phawb oddi amgylch iddo. A gellir meddwl

yr efengyl ei dwyn i Frydain, yn bwngc llawn o ansicrwydd hyd y flwyddyn 1801, pan gafodd Trioedd ynys Brydain, ac ysgrifeniadau ereill o eiddo yr hen Gymry, eu cyhoeddi yn y Myvyrian Archaiology of Wales. Y mae y Cymry dan lawer o rwymau i William Owen Pugh, Esq. Owen Jones, Esq. a Mr. Edward Williams, Bardd, wrth fraint a defod Beirdd ynys Prydain, ac ereill, am y poen a gymmerasant, a'r draul yr aethant iddi, i gasglu a chyhoeddi ysgrifenadau yr hen Gymry; ac hefyd i Sharon Turner, Esq. F. S. A. am ei amddiffyniad eglur a chadarn o'r ysgrifenadau hyny. Y mae yr amser a'r dull ag y cafodd yr efengyl ei dwyn i Frydain, ynghyd âg amrywiol o bethau pwysfawr ereill, yn awr wedi dyfod i oleuni amlwg.

‡ Yn mhlith pethau ereill ag sydd yn ei gwneuthur yn debygol, mai yn neheu-barth Cymry y pregethwyd yr efengyl gyntaf yn yr ynys hon; ystyriwn mae Tywysog Siluria, neu y rhan honno o'r wlâd ag sydd rhwng Hafren ag Wy, oedd Caradog ab Bran. Tacit. Annal. L. XII. Chap. 33. ac mae brenin yr un rhyw ran o Gymry, oedd Lleirwg, gor-ŵyr Caradog, yr hwn a adeiladodd yr eglwys gyntaf yn Llandaf, yn sir Forganwg.

meddwl i lawer o'i gyd-wladwyr, trwy glywed ei gynghorion iachusol, a sylwi ar ei ymarweddiad hardd yn yr Arglwydd, gael eu tueddu i ddychwelyd oddiwrth eu heilunod mudion at y Duw byw. Yr oedd rhai o'i ŵyron ef yn bobl dduwiol iawn yn eu hamser, ac fe a'u rhestrir hwynt yn mhlith y saint mwyaf enwog yn ynys Brydain yn yr oes honno.[a]

CANT. I.

Gan na ddychwelodd holl deulu Bran gydâg ef o Rufain, pan y rhyddhawyd hwynt, a chan mae Cymraes oedd Claudia [b] a grybwyllir am deni gan yr apostol Paul,[c] y mae'n dra thebygol mai ŵyres Bran fendigaid ydoedd hi; ac iddi briodi Pudens, ac mae ei mab hi ydoedd Linus.

Claudia yn Gymraes.

*Pan oedd* Plautius yn flaenor llu y Rhufeiniaid yn yr ynys hon, efe a briododd Pomponia Græcina, o Frydain: yr hon, wedi hyny, a ddychwelwyd i'r ffydd grist'nogol, ac a fu mewn perygl mawr o'i bywyd, o herwydd ei chrefydd. Oblegid, pan ddeallodd y Rhufeiniaid ei bod yn proffesu y grefydd grist'nogol, hwy a'u cyhuddasant hi fel un euog o goel-grefydd ddyeithr, ac estronol; a chafodd ei gwr ei osod yn farnwr arni hi. Plautius, yn ol trefn y Rhufeiniaid, mewn achos o'r fath, a alwodd ei holl deulu a'i pherthynasau hi ynghyd, ac yn eu presennoldeb hwynt, a'i profodd hi am ei bywyd, a'i henw da, ac

Pomponia Græcina mewn perygl o'i bywyd am broffesu Crist.



[a] Achau saint ynys Brydain. [b] Martial's Epigrams. [c] 2 Tim. iv. 21.

CANT I.

ac a'i cyhoeddodd hi yn ddieuog o ddim anfoesoldeb. Bu Pomponia byw lawer o flynyddoedd gwedi hyny, ac a barhaodd i arwain bywyd pwyllig a sanctaidd hyd ddiwedd ei hoes.[a]

Amlwg yw, nad yw Duw ddim yn dderbyniwr wyneb; ond yn mhob cenedl, y neb sydd yn ei ofni ef, ac yn gweithredu cyfiawnder sydd gymmeradwy ganddo ef.[b] Er mor farbaraidd y cyfrifid cenedl y Cymry y pryd hyny, dwy Gymraes, oedd ddwy o'r gwragedd mwyaf enwog a gofleidiodd gristianogaeth yn nyddiau yr apostolion.[c]

Llwyddiant Ilid.

Ilid, Cyndaf, ac Arwystli Hên, yn ebrwydd gwedi iddynt ddyfod i Frydain, a ddechreuasant bregethu Crist croeshoeliedig i genedl y Cymry, a'u hannog i gredu ynddo, a rhoddi ufudddod i'w holl orchymmynion sanctaidd ef. Ilid a wnaethpwyd yn offeryn llwyddiannus i ddychwelyd llawer o'r Cymry, o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant satan at Dduw.[d] Ac yr oedd ei goffadwriaeth yn barchus yn ngwlâd Gwent flynyddoedd lawer gwedi iddo orphen ei yrfa. Er nad oes un hanes neillduol o lwyddiant Cyndaf ac Arwystli Hên, gan eu bod yn wyr duwiol, a diwyd yn y weinidogaeth, gellir penderfynu yn ddiogel, na adawodd Duw mo honynt

i dreulio

[a] Tacit. Annal. L. XIII. Chap. 32. [b] Act. x. 34. 35.
[c] Carte, Vol. I. p. 134. [d] Achau saint ynys Brydain.

i dreulio eu hamser a'u nerth heb fod o ryw les i'r Cymry.

CANT I.

Gan ei bod yn rheol yn mhlith y derwyddon i brofi pob peth, a chofleidio y gwir yn erbyn y byd; pan ddaeth y grefydd gristianogol i'r wlâd, rhai o honynt, wrth ystyried ei thystiolaethau eglur ac anwrthwynebol, a deimlasant eu pwys, ac a wnaethant broffes gyhoeddus o'r efengyl. A phan sefydlwyd eglwysi crist'nogol yn y wlâd, cafodd y derwyddon dychweledig, eu dewis i weinidogaethu ynddynt: a pharhausant i gyflawni holl ddyledswyddau y weinidogaeth grist'nogol dros fwy nâ chan mlynedd gwedi i'r efengyl ddyfod yma.[a]

Derwyddon yn cael eu dychweledyd.

Gan mae Israeliaid oedd Ilid, a Chyndaf, yr oeddynt yn hyddysg yn ysgrythyrau yr hen Destament; a chan iddynt ddyfod yma yn genhadau dros Grist, i gyhoeddi yr efengyl i'r Cymry, mae yn sicr iddynt ddyfod â'r hen Destament gydâ hwynt; a chymmaint o'r Testament newydd, hefyd, ag oedd y pryd hyny gwedi ei dderbyn gan eglwys Crist, ag oedd yn Rhufain. Ac fel ag yr oedd yr apostolion yn neilltuol ofalus, na chai un gynnulleidfa gristianogol fod yn amddifad o'r ysgrythurau;[b] a chynniwair rheolaidd rhwng Rhufain a Brydain, y dyddiau hyny, nid allasai y Cymry

Y Cymry yn cael yr ysgrythurau.

[a] Owen on Bardism. [b] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 93.

y Cymry fod yn hir, heb gael holl ysgrythurau yr hen Destament a'r newydd yn gyflawn.*

Ni

* Yr amser a'r lleoedd y cafodd amrywiol lyfrau y Testament newydd eu hysgrifenu, yn ol barn Dr. LARDNER.

| EFENGYLAU. | LLEOEDD. | O. C. |
|---|---|---|
| S. Mathew | Judea, neu'n agos yno. | Ynghylch 64 |
| S. Marc | Rhufain. | 64 |
| S. Luc | Tir Groeg. | 63, neu 64 |
| S. Ioan | Ephesus. | 68 |
| Actau yr Apostolion | Tir Groeg. | 63, neu 64 |

| EPISTOLAU. | LLEOEDD. | O. C. |
|---|---|---|
| Rhufeiniaid | Corinth. | Ynghylch Chwefror, 58 |
| 1. Corinthiaid | Ephesus. | dechreu 56 |
| 2. Corinthiaid | Macedonia. | ynghylch Hydref, 57 |
| Galatiaid | Corinth, neu Ephesus | ynghylch diwedd 52 neu ddechreu 53 |
| Ephesiaid | Rhufain. | ynghylch Ebrill, 61 |
| Philippiaid | Rhufain. | cyn diwedd 62 |
| Colossiaid | Rhufain. | cyn diwedd 62 |
| 1. Thessaloniaid<br>2. Thessaloniaid | Corinth | 52 |
| 1. Timotheus | Macedonia. | 56 |
| 2. Timotheus | Rhufain. | ynghylch Mai, 61 |
| Titus | Macedonia, neu'n agos yno | cyn diwedd 56 |
| Philemon | Rhufain. | cyn diwedd 62 |
| Hebreaid | Rhufain, neu yr Ital | Gwanwyn 63 |
| S. Iago | Judea. | 61, neu ddechreu 62 |
| Dau Epistol Pedr | Rhufain. | 64 |
| 1. S. Ioan | Ephesus. | ynghylch 80 |
| 2 a 3 Ioan | Ephesus. | rhwng 80 a 90 |
| S. Judas | anadnabyddus. | 64 neu 65 |
| Datguddiad Ioan | Patmos, neu Ephesus. | 95 neu 96 |

CANT I.

Ni adeiladwyd un lle addoliad yn y wlâd hon yn yr oes gyntaf o gristianogaeth.[a] Crist'nogion Brydain, fel crist'nogion Jerusalem, a gyfarfydd-ent i addoli Duw y pryd hyny, mewn tai cyffred-in, a chan nad oedd cynnulleidfaoedd crist'nog-ol yr oes honno yn lluosog iawn, gallasai lle by-chan eu cynnwys hwynt.

Addoliad cristian-ogol.

Y cristianogion a gyfarfyddent yn rheolaidd ar y dydd cyntaf o'r wythnos, i addoli Duw. Yn y cyfarfodydd hyn, byddai mawl a gweddi yn cael eu cyflwyno i Dduw, yr ysgrythurau yn cael eu darllen, a'u hesponio, a gwirioneddau yr efengyl yn cael eu cadarnhau, a'u hegluro, gydâ'r amlygrwydd a'r symlrwydd mwyaf. Pawb ag a broffesent grediniaeth yn Nghrist, fel yr unig Iachawdwr, ac ymroiadau i ymadael â'u holl bechodau, a byw yn ol rheolau sanctaidd yr efengyl, a gaent eu bedyddio, a'u derbyn i gymmundeb yr eglwys.[b]

Y derwyddon yn weinidogion crist'nogol.

Gan mae y derwyddon dychweledig oedd yn gweinidogaethu y pryd hyny, a bod yn anhawdd iddynt yn union-gyrch, ddiosg eu hunain o'u holl ragfarnau dros yr hen grefydd; cymmysg-asant rai o gyfeiliornadau y grefydd dderwydd-ol âg athrawiaethau pur yr efengyl:[c] † a bu y cym-

[a] Archaiol. Vol. II. p. 63. [b] Mosh. Eccles.-Hist. Vol. I. p. 94. [c] Ed. Williams's Poems, Vol. II. p. 194.

† Bu rhai o'r Iuddewon, a llawer o'r philosophyddion paganaidd, yn euog o'r un peth, ar eu dychweliad at grist-'nogrwydd.

CANT I.

cymmysgedd hwn yn achos o ofid mawr i eglwysi Brydain, a gwledydd ereill yn yr oesoedd canlynol.

Claudius yn erlid y derwyddon paganaidd.

Yr ymerawdwr Claudius, yn gwybod ei bod yn aumhosibl iddo sefydlu ei awdurdod yn Mrydain, a diogelu ufudd-dod y Cymry, tra byddai y derwyddon mewn awdurdod yn eu plith, a ddechreuodd eu herlid hwynt yn y taleithiau hyny ag oedd dan ei awdurdod ef. Pan gafodd y derwyddon eu herlid yn neheu-barth Cymru, ffoisant i ynys Fôn,[a] gan feddwl y buasent yn ddiangol yno oddiwrth ruthrau eu gelynion. Ond ni chawsant hir lonyddwch yno ychwaith; o blegid pan gafodd Suetonius Paulinus ei anfon gan yr ymerawdwr Nero i Frydain, yn lle Veranius, efe a benderfynodd i orchfygu ynys Fôn, lle yr oedd y derwyddon, y pryd hyny, yn preswylio; a lle y derbynid pawb ag oedd yn elynol i lywodraeth y Rhufeiniaid yn Mrydain.

O. C. 61. Suetonius yn dystrywio y derwyddon yn ynys Fôn.

Gwedi i Suetonius a'i fyddin ddyfod at afon Menai, y gwyr traed a aethant trosodd mewn badau llyden; a'r gwyr meirch a nofiasant drosodd, ynagos i Borthamel.[b] Gwyr Môn ar yr ochr arall oeddynt yn barod i'w derbyn. A phan welsant y Rhufeiniaid yn dyfod trosodd, y gwragedd fel ellyllesau, â'u gwallt yn annhrefnus, a ffaglau tân

[a] Lewis's Hist. of Wales, p. 89. [b] Rowland's Mona. Ant. p. 99.

lân yn eu dwylaw, a redasant yma a thraw, gan fygwth eu gelynion; a'r derwyddon, yn dyrfa fawr oddi amgylch iddynt, a ddyrchafasant eu dwylaw i'r nefoedd, ac a dywalltasant y melldithion mwyaf echryslon ar eu gelynion. Pan welodd milwyr y Rhufeiniaid y fath olwg arswydus ac ofnadwy, cawsant eu llanw â'r fath syndod a braw, fel ag y cysgodd eu haelodau, ac nid allasent dros ychydig amser gychwyn yn mlaen. Ond gwedi iddynt gael eu hannog gan Suetonius, blaenor llu, a dechreu o honynt gywilyddio eu bod yn ofni wynebu llu o offeiriaid, a gwragedd, hwy a ruthrasant ar wyr Môn, ac a'u gorchfygasant, ac a'u llosgasant yn y tanau hyny, a ddarparasai y derwyddon i aberthu y *Rhufeiniaid* ynddynt. Gwedi cymmeryd meddiant o Fôn, Suetonius a dorodd i lawr y llwyni cyssegredig, a ddinystriodd demlau y derwyddon, ac a ddadymchwelodd eu hallorau hwynt.[a]

CANT I

Lladdwyd cynnifer o'r derwyddon y pryd hyny gan Suetonius, yn ynys Fôn, ac yn mhen ychydig o amser yn ol hyny, yn Ngwynedd, pan wrthryfelodd Arcgwedd Foeddig, brenhines y Brigantwys;* a ffodd cynnifer o honynt i Scotland a'r ynysoedd gorllewinol, o herwydd creulonder y Rhufeiniaid, fel na buont byth gwedi hyny mor lliosog yn Nghymru.

Y derwyddon yn ffoi i Scotland.



[a] Tacit. Annal. L. XIV, Chap. 29, 30.

* Y dyfodiaid cyntaf: felly y gelwid rhai o drigolion Gwynedd y pryd hyny.

CANT I.

Y grefydd dderwyddol yn parhau yn Nghymru.

Ond er i'r Rhufeiniaid ddiddymu awdurdod y derwyddon, a pheri i lawer o honynt i ffoi o'u gwlâd, yr oedd egwyddorion yr hen grefydd dderwyddol, wedi gwreiddio mor ddwfn yn meddyliau y bobl yn gyffredin, fel ag y parhaodd rhai o drigolion Cymru i'w phroffesu oesoedd gwedi hyny. Y derwyddon hefyd a sefydlasant

Athrofa dderwyddol yn Scotland.

athrofa yn y rhan ogleddol o Frydain, lle yr oedd eu hathrawiaethau a'u dyscyblaeth yn cael eu meithrin heb un gwrthwynebiad: a llawer o'r rhai mwyaf coel-grefyddol yn y taleithiau deheuol, a gyrchent attynt yno, ar eu huchelwyliau.[a]

Er fod y grefydd gristianogol gwedi disgyn o'r nef, ac yn addas i wneuthur dyn yn ddedwydd mewn amser a thragywyddoldeb; ac er i Dduw, o'i anfeidrol drugaredd, ei hanfon yn fore i Frydain, a bod ei genhadon yn ei phregethu yn amrywiol ranau o'r ynys; rhwng gormes a siampl ddrwg y Rhufeiniaid, a'r parch coel-grefyddol ag oedd gan y Cymry i hen grefydd eu hynafiaid, yn nghyd â'u tueddiadau parhaus at bechod, ni lwyddodd yr efengyl ond ychydig yn Mrydain, hyd oddi amgylch i ddiwedd yr ail gant.

YR

[a] Davies's Myth. p. 462.

## YR AIL GANT.

PAN glybu Lleirwg,* brenin Siluria, fod llawer o wyr enwog yn Rhufain gwedi eu dychwelyd i'r ffydd gristianogol; ac i'r ymerawdwr Marcus Aurelius gael buddugoliaeth hynod ar ei elynion, mewn canlyniad i weddiau y cristianogion ag oedd yn ei fyddin ef;*‡ a phan ystyriodd mor lliosog oedd y paganiaid, ac mor isel oedd achos gwir grefydd yn ei wlâd ei hun, efe a benderfynodd i ymdrechu helaethu

CANT II.

O. C. 180.

I 2 crefydd

* Lleirwg, ab Coel, ab Cyllin, ab Caradog, ab Bran fendigaid. Gelwir ef hefyd Lleufer Mawr, a Lles ab Coel, a Lucius. Yr oedd ef yn frenin ar y rhan honno o Gymru, a Lloegr, a elwid gynt Siluria: ac mewn enw yn frenin Prydain oll. Caerlleon ar Wysg oedd prif-ddinas Siluria.

* Lewis's Hist. of Great Brit, p. 106.

‡ Pan oedd Marcus Aurelius yn rhyfela â'r Marcomanni, cafodd ei fyddin ei hamgylchynu gan eu gelynion, a bu gyfyng iawn arnynt. A phan oeddent ar drengu gan syched, mewn anialwch diddwfr, gwaeddodd y crist'nogion ag oedd yn myddin y Rhufeiniaid ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder. Duw a wrandawodd eu gweddiau, ac a wlawiodd gwlaw addfwyn ar fyddin y Rhufeiniaid, fel na threngasant, ond danfonodd fellt a tharanau ar eu gelynion, hyd oni ddystrywiwyd hwynt. Cafodd y crist'nogion hyny, mewn canlyniad eu galw, y Lleng daranol. Mosh. Eccles. Hist, Vol. I. p. 124.

CANT II.

crefydd Crist trwy ei holl deyrnas. A chan nad oedd ond ychydig o weinidogion enwog y pryd hyny yn Mrydain, a bod y grefydd grist'nogol yn flodeuog iawn yn Rhufain, efe a ddanfonodd at Eleutherius esgob y ddinas honno, am gynnorthwy cymmwys i ddwyn ei fwriadau sanctaidd a chanmoladwy oddi amgylch. Eleutherius yn llawen ganddo glywed fod y Cymry yn chwennych cael eu hyfforddi yn egwyddorion y grefydd gristianogol, gydâ'r parodrwydd mwyaf a anfonodd Dyfan, Ffagan, Medwy, ac Elfan, i Frydain, i addysgu y Cymry yn athrawiaethau pwysfawr yr efengyl.* Gwedi i'r pedwar gwr enwog hyn dirio yn ddihangol yn Mrydain, rhoddodd Lleirwg bob cynnorthwy ac annogaeth iddynt i ddwyn ymlaen y gorchwyl gogoneddus, o herwydd pa un yr anfonodd am danynt.

Lleirwg yn anfon i Rufain am weinidogion.

Yn y cant cyntaf o grist'nogaeth, nid oedd ond un gweinidog, neu esgob, yn mhob eglwys trwy y byd crist'nogol; a dewisid ef i'w swydd gan aelodau yr eglwys yn unig. Ac i'r dyben i'w gynnorthwyo ef yn y gorchwyl pwysfawr o ofalu am y praidd, dewisid rhai o'r aelodau i fod yn henuriaid, a diaconiaid, yn gyfattebol i amgylchiadau yr eglwys. Fe barhaodd eglwysi Crist yn y dull anymddibynol hwn, heb un rhwymyn undeb rhyngddynt, ond cariad, dros

Trefn eglwysi crist'nogol yn y cant cyntaf.

* Achau saint ynys Brydain. Archaiol. Vol. II, p. 196.

dros ran fawr o'r ail gant. Ond cyn diwedd yr ail gant, diddymwyd y drefn apostolaidd hon, a chafodd holl gynnulleidfaoedd yr un dalaith, eu huno yn un corph eglwysig; gweinidogion pa rai a ymgyfarfyddent ar amserau gosodedig, i drefnu mesurau cymmwys i ddwyn yn mlaen gwir ac adeiladaeth gyffredinol yr holl gorph taleithiol. Dyma ddechreuad esgobaethau. Gwedi hyny, unwyd yr amrywiol daleithiau yn nghyd; a phan nad oedd yn gyfleus i esgob pob eglwys trwy bob talaith, gyfarfod yn y cymmanfaodd cyffredinol, dewisid esgob enwog o bob talaith, ac anfonid ef fel cennad yr amrywiol eglwysi i'r cymmanfaodd cyffredinol; a daeth y gwr hwn yn raddol, i fod yn esgob taleithiol, a chanddo awdurdod ar holl esgobion neu weinidogion y dalaith honno. Y sefydliad hwn a ddechreuodd yn gyntaf yn mhlith y Groegiaid, ac a ymdaenodd yn fuan oddi wrthynt hwy, dros yr holl fyd crist'nogol. Bu y cyfnewidiad hwn yn foddion i leihau rhagorfreintiau y bobl yn gyffredinol, ac i gynbyddu awdurdod yr esgobion. Oblegid, er fod y gweinidogion ar eu hymddangosiad cyntaf yn y cymmanfaodd hyn, yn cyfaddef nad oeddent ond cennadau eu hamrywiol eglwysi, ac mai yn enw, a thrwy osodiad eu pobl, yr oeddynt yn gweithredu; newidiasant y iaith ostyngedig honno yn fuan, ac a haerasant fod Crist wedi rhoddi awdurdod

CANT II.

Dechreuad esgobaethau.

Esgobion taleithiol.

CANT II.



durdod iddynt i wneuthur rheolau ffydd a moesau i'w pobl.

Pan gyfarfyddai esgobion yr amrywiol daleithiau mewn cymmanfaodd, bernid yn gymmwys i wisgo un o honynt âg awdurdod uwch, fel blaenor y gymmanfa; a daeth y blaenoriaid hyn, yn raddol, i fod yn arch-esgobion; ac felly y diddymwyd y cystadledd ag oedd rhwng yr esgobion o'r dechreuad.

Arch-esgobion.

Yn y cyfamser, pan oedd terfynau yr eglwys grist'nogol gwedi ymhelaethu, a'r drefn o gynnal cymmanfaodd yn cael ei harferyd, pa le bynnag yr oedd sain yr efengyl gwedi cyrhaeddyd; gwnaethpwyd gradd arall o weinidogion i fod yn oruch-olygwyr ar yr eglwys fawr gyffredinol; a gelwid hwynt yn Batrieirch. Cafodd y Patrieirch eu sefydlu mewn amrywiol wledydd i gadw cyssondeb ac undeb yr holl gorph crist'nogol, aelodau pa un oedd yn wasgaredig trwy yr holl fyd.*

Patrieirch.

Dyma drefn pethau eglwysig yn y rhan fwyaf o'r byd cristianogol, pan anfonodd Eleutherius, esgob Rhufain, Dyfan, Ffagan, Medwy, ac Elfan, i Frydain, i hyfforddi y Cymry yn egwyddorion y grefydd gristianogol. Ac yr oedd yn naturiol i'r gweinidogion hyn, i ymdrechu ffurfio eglwys

* Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 144, 145, 146.

CANT II.

eglwys Crist yn Mrydain, yn ol y portreiad a gawsant gan Eleutherius, a'r drefn a arferid y pryd hyny trwy yr holl fyd cristianogol. Ynganlynol, cafodd y cystadledd ag oedd hyd yn hyn rhwng holl esgobion Brydain ei ddiddymu, ac fel ag yr oedd Crist yn helaethu terfynau ei deyrnas yn mhlith y Cymry, cafodd rhai gweinidogion, yn raddol, eu gwneuthur yn esgobion taleithiol, ac ereill yn arch-esgobion. Ond nid oedd eu hardreth hwynt ond bach, dros flynyddoedd lawer gwedi hyny.

Eglwysi Brydain yn cael eu ffurfio yn ol trefn eglwysi y Cyfandir.

Gwedi i Lleirwg wneuthur proffes gyhoeddus o gristianogaeth, llawer o'i ddeiliaid a ddilynasant ei siampl dda ef; ac a ddychwelasant oddi wrth eu ffyrdd drygionus at yr Arglwydd. Pan gaffo dyn ei wir ddychwelyd at yr Arglwydd, y mae ei galon yn cael ei hagor i wneuthur yr hyn oll a allo i gynnorthwyo ac helaethu achos Crist ar y ddaiar. Lleirwg gan hyny, fel ag y byddai i grist'nogion gael lle cyfleus i addoli Duw, a'r rhai ag oedd gwedi ymroddi eu hunain i waith pwysfawr y weinidogaeth, gael cynhaliaeth gysurus; ar ddyfodiad Dyfan, Ffagan, Medwy, ac Elfan, i Frydain, a adeiladodd eglwys Llandaf, yn sir Forganwg, ac a'i cynnysgaeddodd hi â rhagor-freintiau priodol. Dyma yr eglwys gristnogol gyntaf a adeiladwyd yn ynys Brydain. Lleirwg hefyd, o gariad at Grist, ac eneidiau dynion, a roddodd diroedd, a breintiau gwladol

Llawer o'r Cymry yn proffesu crist'nogaeth.

Yr eglwys gyntaf yn Mrydain.

i'r

CANT II. i'r rhai a broffesent y grefydd grist'nogol;[a] fel annogaeth iddynt i helaethu achos Crist yn y wlâd.

Dyfan, Ffagan,* a Medwy, a sefydlasant yn sir Forganwg, ac a wnaethpwyd yn offerynau llwyddiannus i ddychwelyd llawer i'r ffydd. Yr oedd Dyfan yn weinidog yn Merthyr Dyfan; Ffagan, yn Llan Sant Ffagan; a Medwy yn weinidog yn Llanfedwy. Elfan a sefydlodd yn Lloegr, ac a ddewiswyd yn weinidog yn Glastonbury yn ngwlâd yr Hâf.[b] Y mae yn amlwg oddi wrth ansawdd crefydd yn y blynyddoedd canlynol, a'r amrywiol eglwysi a gyssegrwyd i'r gwyr enwog hyn, eu bod yn weinidogion cymmeradwy iawn gan grist'nogion, yn eu hamser; ac i'w llafur hwynt gael ei fendithio i raddau helaeth. Ond nid oeddynt hwy, mwy nag ereill, heb brofi gwrthwynebiadau a digalondid yn y cyflawniad o'u gweinidogaeth.

Gan fod ysbryd y byd yn mhob oes, yn elyniaethol i ysbryd yr efengyl, y paganiaid yn Nghymru, pan welsant lwyddiant yr efengyl, a bod eu gau-dduwiau hwynt yn cael eu diystyru, a ddechreuasant erlid y crist'nogion; a Dyfan dduwiol a llafurus, yr hwn a ddaeth i ddangos iddynt y llwybr ag sydd yn tywys i ddedwyddwch tragywyddol, a gafodd ei ferthyru ganddynt yn Merthyr Dyfan, yn sir Forganwg.[c]

Y merthyr cyntaf yn Nghymru.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 63, 68. Achau saint ynys Brydain.

* Un o ddywediadau Ffagan oedd, 'Lle mae Duw yn ddistaw, ni ddylai dyn lefaru.'

[b] Achau saint ynys Brydain. [c] Achau saint ynys Brydain.

CANT II.

Diwydrwydd a zel y prif gristianogion.

Cristianogion yr ail gant, yn gydwybodol o bwys a defnyddioldeb ymarferiadau crefyddol, a gyfarfyddent bob dydd i addoli Duw. Ac fel na byddent yn agored i ruthrau eu gelynion erledigaethus, yr oeddynt mewn amrywiol wledydd yn cynnal eu cyfarfodydd cyn torriad y wawr, neu gwedi gostwng haul.[a]

Yr un oedd y drefn gyffredinol o addoliad cyhoeddus, ag yn y cant cyntaf, ond bod y gweinidog wedi gweddio, esponio yr ysgrythurau, a gweini yr ordinhadau, yn anerch y bobl yn gyfaddas i'w cyflyrau a'u hamgylchiadau cyn ymadael.[b]

Deiliaid bedydd.

Nid oedd neb yn y cant hwn, nac yn hir wedi hyny, yn gwadu hawl babanod i fedydd. Bedyddid plant pawb, yr un modd a dynion mewn oedran, ond cael meichiau y byddai iddynt gael eu dwyn i fynu yn egwyddorion y grefydd gristianogol.[c] *

K Yr

[a] Formey's Eccles. Hist. Vol I. p. 34, 35. [b] Ibid, p. 32.

[c] Wall's Hist. Infant Baptism, Part II. Chap. 7, 8, 9, 10. Bingham's Antiq. Vol. IV. Book XI. Chap. 4.

* Fe ddywedodd Morgan, neu Pelagius, yr hwn a anwyd ac a ddygwyd i fynu yn Mrydain yn nghylch diwedd y pedwerydd cant, a drafaeliodd lawer o wledydd y dwyrain a'r gorllewin, ac oedd yn wr enwog yn ei amser, na chlywodd efe erioed am un cristion, catholig, na phleidiwr, ag oedd yn gwadu hawl babanod i fedydd. Austin

CANT II.

Y dull o fedydd.

Yr oedd bedydd yn cael ei weini trwy drochiad, neu daenelliad, yn ol sefyllfa y personau a fyddent yn cael eu bedyddio. Pan fyddai dynion nag oeddent wedi cael eu bedyddio yn eu mabandod yn dymuno gwneuthur proffes gyhoeddus o Grist, cedwid hwynt dan holliad hyd oni fyddent yn hyddysg yn athrawiaethau yr efengyl. Yna gwedi iddynt gyfaddef eu pechodau, proffesu eu ffydd yn Nghrist, a'u hymroiadau i fyw yn addas i'r efengyl, y gweinidog a'u bedyddiai hwynt trwy eu trochi dair gwaith mewn dwfr, yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Yn yr un dull y bedyddid hefyd fabanod, ag a fyddai yn wrol ac yn iachus. Ond pan fyddai dynion cleifion, neu garcharorion, yn dymuno gwneuthur proffes gyhoeddus o Grist, caent eu bedyddio trwy eu taenellu â dwfr yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân: a chyfrifid y bedydd hwn mor briodol a safadwy, a phe buasent yn cael eu trochi.*

Gwedi

esgob Hippo yn Affrica, hefyd, yr hwn a lanwodd y byd cristianogol â'i glod, ac oedd yn byw yn yr un amser a Morgan, ac yn wahanol iawn iddo mewn llawer o athrawiaethau, a ddywedodd yr un pethau mewn perthynas i fedydd babanod. Turtullian, gwr enwog yn yr ail gant, a gyngorai i oedi bedyddio plant; ond ar yr un pryd a ddywedai ei bod yn ddefod gyffredinol i'w bedyddio yn eu mabandod, ac fod bedydd yn angenrheidiol i iachawdwriaeth. Gwel Wall's Hist. Inf. Bap. Part II. Chap. 4, 10.

* Bingham's Antiq. Vol. IV. B. XI. Chap. 11.

CANT II.

Gwedi gweini yr ordinhad o fedydd, gweinidogion y cant hwn mewn amrywiol wledydd, a nodent y bedyddiedig âg arwydd y groes, a'u heneinient âg olew, a'u cyflwynent i'r Arglwydd trwy weddi ac arddodiad dwylaw; ac yn ddiweddaf oll a roddent iddynt laeth a mêl i'w fwyta.[a] Ond nid oedd y defodau hyn mewn ymarferiad yn mhlith y Cymry. Parhaodd eglwysi Brydain i fedyddio babanod, a dynion mewn oedran, yn ol y drefn apostolaidd, heb ychwanegu dim defodau at yr ordinhad sanctaidd hyd oni chawsant eu dwyn yn gaeth gan eglwys Rhufain yn yr wythfed cant.[b]

Swper yr Arglwydd yn cael ei weini bob Sabbath.

Yr oedd yr ordinhad sanctaidd o swper yr Arglwydd, yn cael ei gweini bob sabbath yn y dull canlynol. Cymmerid cymmaint ag a fyddai yn angenrheidiol o'r bara, a'r gwin, ag a ddygid gan y bobl i'r lle addoliad; a chymmysgid y gwin â dwfr. Gwedi hyny cyssegrid yr elfenau trwy weddi gan y gweinidog, a rhanid hwynt rhwng aelodau yr eglwys. Fel arwydd o frawdgarwch anfonid peth o'r bara a'r gwin cyssegredig i'r aelodau absennol, ag a fyddai yn gleifion, neu yn ngharchar. A chan eu bod yn meddwl fod cyfranogiad o'r ordinhad hon, yn

K 2 hanfodol

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 171. [b] Bede, L. II. Chap. 2.

CANT II.

banfodol i iachawdwriaeth; gweinient hi hefyd i fabanod.[a]

I'r dyben i amddiffyn gogoniant Duw, anrhydedd ei gyfraith, a phurdeb ei eglwys, yn nghyd â rhagflaenu dinystr dynion, cristianogion y cant hwn a arferent ddysgyblaeth fanol yn yr holl eglwysi. Ni chai neb na fyddai yn rhodio yn addas i'r efengyl eu derbyn i gymmundeb; a thorrid pawb allan ag a fyddai yn euog o bechodau gwaradwyddus. Pan ddygwyddai i rai o'r aelodau droseddu, dygid hwynt ger bron y gweinidog; a chwedi iddynt gael cerydd llym ganddo, torrid hwynt allan o gymmundeb yr eglwys. Gwedi iddynt hyspysu eu dymuniad i gael eu hadferu, derbynid hwynt trwy weddi ac arddodiad dwylaw i blith yr edifeiriolwyr, ag oedd gwedi troseddu, ond heb gael eu hadferu i holl freintiau yr eglwys. Gwedi bod dros lawer o amser yn mhlith yr edifeiriolwyr, a gwneuthur cyfaddefiad aml a chyhoeddus o'u pechodau, caent gyflawn faddeuant gan yr eglwys; a derbynid hwynt drachefn i gymmundeb trwy weddi ac arddodiad dwylaw.[b]

Y

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 170. Formey's Eccles. Hist. Vol. I. p. 34.

[b] Formey's Eccles. Hist. Vol. I. p. 36.

CANT II.

Y mae y gredo, ag a elwir yn gyffredin, yn gredo yr apostolion, yn cynnwys sylwedd yr athrawiaethau a ddysgid yn y cant hwn.* *

Gwyliau blynyddol.

Cristianogion y cant hwn a gadwent wyliau blynyddol, mewn coffadwriaeth o farwolaeth ac adgyfodiad Crist, ac o dywalltiad yr Ysbryd Glân ar yr apostolion. A chan nad yw'r dynion goreu yn cydweled yn mhob peth, bu llawer o anghydfod rhwng eglwysi y saint mewn amrywiol wledydd ynghylch y dyddiau ar ba rai y dylasid coffau marwolaeth ac adgyfodiad ein Iachawdwr. Eglwysi Brydain, ac eglwysi Asia leiaf, a gadwent wyl y pasg yn ol trefn yr Iuddewon, ar y *pedwerydd* dydd ar ddeg o'r mis, neu y *llawn lloer*: ac ar y trydydd dydd yn ol y llawn *lloer* (pa ddydd bynnag o'r wythnos fyddai hwnw) y cadwent wyl yr adgyfodiad. Ond gan mae ar y dydd cyntaf o'r wythnos yr adgyfododd Crist, eglwys Rhufain, a rhan fwyaf o eglwysi y gorllewin, a dybient ei bod yn anghyfreithlon i gadw gwyl yr adgyfodiad ar un diwrnod ond ar y dydd cyntaf o'r wythnos. Ac i'r dyben i uno y ddwy wyl arbenig hyn, cadwent wyl y pasg

* Formey's Eccles. Hist. Vol. I. p. 39.

* Y mae y rhan fwyaf o'r dysgedigion yn barnu, na chafodd y gredo hon ei chyfansoddi gan yr apostolion, nac ar yr un pryd ychwaith, ond gan dadau yr eglwys yn raddol fel ag yr oedd angenrheidrwydd hyd[d]oni chynhyddodd i'r maintioli ag y mae yn bresennol.

pasg ar y nôs o flaen y dydd cyntaf o'r wythnos; ar ba un y coffaent yr adgyfodiad. Er nad oedd y ddadl hon o fawr bwys, bu yn achos o ymrafaelion chwerwon rhwng eglwysi Asia, ac eglwysi y gorllewin, hyd oni chafodd ei phenderfynu yn Nghymmanfa Nicea yn y pedwerydd cant.*

* Mosh. Eccles. Hist. Vol I. p. 168.

## Y TRYDYDD CANT.

GWEDI i Lleirwg tywysog Siluria fod yn offerynol i daenu yr efengyl dros ran fawr o Gymru a Lloegr, a mwynhau y dedwyddwch annhraethadwy o weled ei lafur yn llwyddo, efe a fu farw yn llawn dyddiau, ac a gladdwyd yn Nghaerloyw.[a] Yr oedd marwolaeth y tywysog duwiol hwn, ag oedd wedi bod mor ffyddlon a llwyddiannus i helaethu terfynau teyrnas Crist yn mhlith y Cymry, yn golled mawr i eglwysi Brydain. Ond y Duw hwnw, ag a addawodd na chai pyrth uffern orchfygu ei eglwys, a barhaodd i amddiffyn a llwyddo ei weision ag oedd gwedi cyflwyno eu hunain i'w wasanaeth. Ac er i'r seren ddysglair hon fachludo, parhaodd haul y cyfiawnder i dywynu ar y Cymry, a gweithiodd yr efengyl ei ffordd i'r lleoedd hyny nad allasai y Rhufeiniaid ddyfod iddynt:[b] a llwyddodd y grefydd gristianogol i raddau helaeth, mewn amrywiol fanau o'r ynys, hyd yr erledigaeth fawr a fu yma, yn nghylch dechreuad y pedwerydd cant.

CANT III.

Marwolaeth Lleirwg. O. C. 201.

Llwyddiant yr efengyl.

Yn

[a] Lewis's Hist. Brit. p. 108. [b] Tert. Adver. Judæos. Chap. VII.

CANT III.

Yr efeng-yn cael ei hanfon i Scotland.

Yn nghylch yr amser hyn, gwelodd Duw fod yn dda i anfon yr efengyl i Scotland; a Donald, brenin y wlad honno, yn nghyd â llawer o'i ddeiliaid, a gawsant eu dychwelyd i'r ffydd gristianogol.[a]

Dinystriwyd cynnifer o ysgrifeniadau y Cymry dan erledigaeth Dioclesian, ac yn y rhyfeloedd gwaedlyd ag a fu gwedi hyny, fel nad oes gennym ond ychydig o Hanes Crefydd yn Nghymru yn y cant hwn. Ond wrth ystyried y lluaws mawr o gristianogion a ferthyrwyd yma yn nechreuad y cant nesaf, gellir penderfynu fod yn Nghymru yr amser hyn, lawer o eglwysi sylweddol a blodeuog.

Sel y prif grist'nogion.

Gwedi cael eu hollol berswadio o wirionedd y grefydd gristianogol, a'i thueddiad union-gyrch i ddwyn yn mlaen ddedwyddwch amserol a thragywyddol dynol-ryw, canlynwyr Crist yn mhob gwlad a driniasant gau grefyddau y Cenhedloedd gydâ'r diystyrwch mwyaf; ac a ymdrechasant hyd eithaf eu gallu i ddwyn eu cydbechaduriaid i gofleidio y gwirionedd. Yr Arglwydd a lwyddodd eu hymdrechiadau, ac a ychwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai fyddent gadwedig.

Er fod y Rhufeiniaid yn ffaffrol i rydd-did gwladol

[a] Cressy's Ch. Hist. B. V. Chap. I.

CANT III.

Y Rhufeiniaid yn erlid y crist'nogion.

gwladol a chrefyddol i raddau helaeth, pan welsant y llwyddiant mawr ag oedd yn cyd-fyned âg ymdrechiadau yr apostolion, ac ereill, yn mhob rhan o'r ymerodraeth, a bod crefydd eu hynafiaid yn cael ei diystyru, ac mewn perygl o gael ei hollol ddiddymu, hwy a ddechreuasant erlid pawb ag oedd yn enwi enw Crist. Ac i'r dyben i lanw meddyliau y werin yn gyffredinol, a gelyniaeth yn erbyn cristianogaeth, yr offeiriaid paganaidd, ac ereill ag oedd mewn perygl o golli eu helw os llwyddai yr efengyl, a lwythasant y cristianogion â'r enwau mwyaf enllibus, ac a haerasant mai barnedigaethau oddiwrth y duwiau am oddef cristianogion yn yr ymerodraeth, oedd yr holl dymhestlodd, clefydau, a rhyfeloedd, ag oedd y pryd hyny yn anrheithio dynolryw.[a]

* Llawer o ymerawdwyr Rhufain a wnaethant

L y cyf-

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 59, 60, 61.

* Nero oedd yr ymerawdwr cyntaf a wnaeth gyfreithiau yn erbyn y Cristianogion. Ac yn ei amser ef y merthyrwyd Paul, a Phedr yn nghyd â gwraig Pedr yn Rhufain. Pan welodd Pedr ei wraig yn cael ei harwain i'w dihenyddio, efe a lawenychodd ei bod hi yn cael ei chyfrif yn deilwng i ddyoddef marwolaeth er mwyn Crist; ac a lefodd allan, gan ei henwog i ffyddlondeb, a'i chysuro yn wyneb poenau marwolaeth; ac a ddywedodd, O wraig cofia yr Arglwydd Iesu. Torrwyd pen Paul, a chroeshoeliwyd Pedr â'i ben tu a'r llawr. Eusebius. L. III. Chap. 1, 27. Mae Tertullian yn dywedyd i Ioan yr Apostol gael ei daflu i bair o

CANT III.

Cyfreithiau yn erbyn y crist'nogion.

y cyfreithiau mwyaf creulon yn erbyn y cristianogion, ac a ddychymmygasant bob ffordd ag a allent i ddiddymu y grefydd gristianogol o'r byd. Rhai cristianogion a laddwyd â'r cleddyf, ereill a losgwyd â thân, a fflangellwyd, a frathwyd â ffyrch haiarn, a groeshoeliwyd, a foddwyd yn y môr, a flingwyd yn fyw, a labyddiwyd â cherrig, a newynwyd, ac a laddwyd âg oerfel. Yn fyr, nid oedd un creulonder, ag a fedrai llid eu gelynion ei ddyfeisio, nad oedd yn cael ei ymarferyd tu ag attynt. Ond y cristianogion a ddyoddefasant yr holl waradwydd a'r poenau hyn, nid yn unig yn amyneddgar, ond yn llawen ac yn orfoleddus, gan wybod fod coron cyfiawnder yn nghadw iddynt yn y nef.

Deg erledigaeth yn erbyn cristianogion.

Heblaw yr erledigaeth a gododd yr Iuddewon, ymerawdwyr Rhufain, a godasant ddeg erledigaeth yn erbyn dysgyblion Crist; ac y mae Hierome yn dywedyd y gellir cyfrif pum mil o ferthyron i bob diwrnod yn y flwyddyn, ond i'r dydd cyntaf o Ionawr.[*]

Trwy

oil berwedig, ac iddo ddyfod allan o hono yn hollol ddiniwed. Cafodd gwedi hyny ei alltudio i ynys Patmos; a chwedi iddo gael ei alw yn ol, efe a fu farw yn dawel yn ninas Ephesus. Eusebius, L. III. Chap. 1, 16.

[*] Fox's Martyrs, Vol. I. p. 37, 38.

CANT III.

Manteision trigolion Brydain.

Trwy ddaioni rhagluniaeth, y mae sefyllfa ymysol trigolion Brydain, gwedi bod yn fanteisiol iddynt mewn ystyr wladol, ac eglwysig, yn mhob oes. Er nad oedd eglwysi Brydain y pryd hyn, ddim heb gael llawer o ddigalondid oddiwrth anmherffeithrwydd tufewnol, a gwrthwynebiadau allanol, yr oedd eu hamgylchiadau hwynt yn ddymunol iawn mewn cydmariaeth i amgylchiadau llawer o eglwysi mewn gwledydd ereill. Ni wyddent etto ddim am y cyfeiliornadau ag oedd yn dechreu ymlusgo i eglwysi y saint yn y dwyrain a'r gorllewin, ac yn peri mawr flinder iddynt. Ac o'r deg erledigaeth ag a gododd ymerawdwyr Rhufain yn erbyn y cristianogion, ni chyrhaeddodd ond y ddegfed *yn unig i'r* ynys hon,[a] Tra yr oedd ystormydd o'r erledigaethau mwyaf creulon yn cynddeiriogi mewn gwledydd ereill, yr oedd tawelwch mawr yn Mrydain. Y Cymry a addolent yr Arglwydd yn ol rheolau ei air, heb gyfarfod, ond ychydig o wrthwynebiadau. Ond ni pharhaodd pethau felly yn hir, canys Duw a ymwelodd â'r Cymry hefyd am eu pechodau, ac a ddyoddefodd i'w gelynion paganaidd, i'w blino hwynt dros ychydig amser.



[a] Fuller's Church Hist. p. 17.

## Y PEDWERYDD CANT.

CANT IV.

PAN gafodd Dioclesian ei wneuthur yn ymerawdwr, dewiswyd Maximian Herculeus yn gyd-swyddog iddo yn yr ymerodraeth; a gwnaethpwyd Maximinus Galerius, a Constantius Clorus yn ymerawdwyr is-raddol, dan yr enw Cæsariaid.[a] Cafodd Constantius Clorus ei anfon i Frydain, ac a briododd Elen, merch Coel Godebog, o Gaer Coelin, brenin Brydain.[b]

Dioclesian yn codi erledigaeth yn erbyn y crist'nogion. O. C. 303.

Gwedi i Dioclesian gael y fuddugoliaeth ar ei elynion mewn amrywiol wledydd; efe a roddodd orchymmyn i dynnu i lawr eglwysi y cristianogion, i losgi eu holl lyfrau, a'u hysgrifeniadau hwynt, ac i'w difuddio o'u holl ragorfreintiau gwladol. Ac mewn ychydig o amser wedi hyny, efe a orchymmynodd garcharu holl esgobion a gweinidogion yr eglwys gristianogol. A phan nad oedd hyn yn rhoddi hollol foddlonrwydd i elynion Crist, Dioclesian a ychwanegodd orchymmyn arall, ac a roddodd awdurdod i'r swyddogion

[a] Mosh. Eccles. Vol. I. p. 255. [b] Lewis's Hist. Brit. p. 123. Camb. Biog.

egion gwladol i ymarferyd pob rhyw greulonder i'r dyben i berswadio y gweinidogion i wadu eu proffes o gristianogaeth, ac i aberthu i'r eilunod; gan obeithio os caid gan y bugeiliaid i wneuthur felly, na byddai yn anhawdd peri i'r praidd ddilyn eu siamplau hwynt. Mewn canlyniad i'r gorchymmyn hwn, cafodd lluaws mawr o'r dynion mwyaf enwog, mewn duwioldeb, a dysgeidiaeth, eu merthyru yn y modd mwyaf creulon mewn amrywiol ranau o'r ymerodraeth. CANT IV.

Ond pan welodd Dioclesian nad oedd y cyfreithiau ag oedd eisoes mewn grym yn erbyn y cristianogion, yn ddigonol i siglo eu ffydd, a pheri iddynt wadu eu proffes, efe a roddodd orchymmyn cyhoeddus i'r holl swyddwyr gwladol yn mhob talaith o'r ymerodraeth, i gymmell cristianogion o bob rhyw a sefyllfa, i aberthu i'r eilunod; ac os gwrthodent wneuthur felly, i'w gosod hwynt oll i farwolaeth, yn y modd mwyaf creulon ag a ellid ddyfeisio.[a]

Mewn canlyniad i'r gorchymmyn hwn, torrodd yr erledigaeth allan yn Mrydain hefyd; a chafodd cristianogion Cymru, fel ereill, eu herlid a'u gosod i farwolaeth yn y modd mwyaf creulon. O. C. 304.

Pan oedd yr erledigaeth hon yn cael ei chario yn

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 256, 257, 258.

CANT IV.

Amphibalus yn ffoi o Gaerlleon ar Wysg.

yn mlaen gydâ chreulonder mawr yn Nghaerlleon ar Wysg, Amphibalus gweinidog yr efengyl yn y ddinas honno,[a] a ffodd am ei einioes, ac a dderbyniwyd yn garedig gan Alban, gwr enwog o dref * Ferulam, yr hwn a'i cuddiodd ef yn ei dŷ rhag llidiawgrwydd ei elynion. Pagan oedd Alban pan dderbyniodd efe Amphibalus i'w dŷ. Ond gwedi hir gymdeithasu âg Amphibalus, clywed ei weddiau taer ddydd a nôs, a sylwi ar ei ymarweddiad hardd yn yr Arglwydd, cafodd ei ddychwelyd oddiwrth ei eilunod mudion at y gwir a'r bywiol Dduw.†

Pan glybu llywodraethwyr Ferulam, fod Amphibalus, gweinidog cristianogol, yn ymguddio yn nhŷ Alban, anfonasant filwyr i'w ddal ef. Alban yn gwybod eu bod yn dyfod, a wisgodd ddillad Amphibalus, ac a roddodd ei hun yn ewyllysgar yn ei le ef. Y milwyr, heb adnabod y twyll, a'u dygasant ef yn union-gyrch at y barnwr, yr hwn ar y cyfryw amser oedd yn aberthu i'w eilunod. Y barnwr, pan adnabu Alban, a lanwyd o lidiogrwydd, ac a ddywedodd wrtho, Yn gymmaint ag na thraddodaist i'r milwyr, gablwr ein duwiau ni, i gael ei gospi yn ol ei haeddiant,

[a] Fuller's Church Hist. p. 17.

* Yn awr St. Alban's, yn Hertfordshire.

† Da y fyddai, pe b'ai holl weinidogion yr efengyl yn cadw yn nes at siampl y duwiol Amphibalus, pan fyddont yn llettya gydâ dyeithriaid.

CANT IV.

baeddiant, gwel y gospedigaeth a gai dithau os gwrthodi roddi addoliad i'n duwiau ni.

Gwroldeb Alban.

Alban, gwedi ei arfogi â holl arfogaeth Duw, a safodd yn ddiysgog ger bron y barnwr, ac fel cristion dewr, a ddywedodd, Mai addolwr yr unig wir Dduw, yr hwn a wnaeth nef a daiar, oedd efe, ac mai y Duw hwn yn unig a wasanaethai: ac nad oedd addoli eilunod ond ynfydrwydd pechadurus ag a fyddai yn sicr o derfynu mewn tragywyddol boenau.

Y barnwr, yn llawn llid, a orchymmynodd ffiangellu Alban, gan dybied y gallasai ffiangellau fod yn fwy effeithiol nâ geiriau, i'w ddwyn yn *ol* at ei hen ymarferiadau eilun-addolgar. *Ond* pan welodd y barnwr nad oedd na geiriau denu, na ffiangellau yn abl siglo ffydd a gwroldeb Alban, a pheri iddo wadu ei broffes, efe a orchymmynodd i'w ddyhenyddio.

Alban yn cael ei ferthyru.

Y dyhenyddiwr, wrth sylwi ar gadernid ffydd a thaerni gweddiau Alban, a argyhoeddwyd; a chan daflu ei gleddyf o'i law a syrthiodd wrth ei draed ef; ac a ddeisyfodd gael marw gydâg ef, neu yn ei le, yn hytrach nâ bod yn euog o dywallt gwaed gwirion. Synodd y milwyr wrth weled hyn; ond un o honynt ag oedd yn fwy dideimlad nâ'r cyffredin, a ymaflodd yn y cleddyf, ac a dorrodd ben Alban dduwiol âg ef.[a]

Cafodd

[a] Bede, L. I. Chap. 7.

CANT IV.



Cafodd llawer o drigolion Ferulam eu dychwelyd i'r ffydd gristianogol yr amser hwnw, a chan na allasent wneuthur proffes gyhoeddus o Grist yn nhref Ferulam, penderfynasant i fyned ar ol Amphibalus i barthau gorllewinol yr ynys, lle yr oedd efe gwedi ffoi ar ferthyrdod Alban.

Merthyrdod crist'nogion Ferulam, ac Amphibalus.

Ond pan gychwynasant, byddin o'u cymmydogion paganaidd a'u dilynasant, a'u goddiweddasant ac a'u lladdasant; ac wedi cael gafael yn Amphibalus, y gelynion a'u dygasant ef yn ol; a phan oeddent o fewn i dair milldir i dref Ferulam, hwy a'u lladdasant yntef hefyd.

Merthyrdod Aaron a Julius o Gaerlleon ar Wysg.

Heblaw Amphibalus, cafodd Aaron a Julius, o Gaerlleon ar Wysg, eu merthyru y pryd hyny, ac hefyd Augulius esgob Llundain. Lluawr mawr o wyr a gwragedd mewn amrywiol ranau o'r ynys a ddyoddefasant y poenau mwyaf creulon; a chan orfoleddu yn eu dyoddefiadau, a orchymmynasant eu hysbrydoedd i ddwylaw eu Ceidwad ffyddlon. Ereill a ffoisant i'r coedydd, ac a ymguddiasant mewn og'feydd a mynyddoedd, nes i Dduw eu gwaredu hwynt oddiwrth lidiogrwydd eu gelynion.[a]

Crefydd yn mron cael ei diwreiddio o Frydain.

Er na pharhaodd yr erledigaeth greulon hon ond blwyddyn a hanner yn Mrydain, lladdwyd cynnifer o gristianogion, llosgwyd cymmaint o'r

[a] Usher de Brit. Eccles. Chap. 7.

o'r ysgrythurau, a thynwyd i lawr gynnifer o'r eglwysi yn yspaid yr amser hyny, fel braidd na ddiwreiddiwyd cristianogaeth o'r wlad.[a]

CANT IV.

Tra yr oedd yr erledigaeth hon yn cael ei chario yn mlaen, Dioclesian a Maximian Hercules, a roisant i fynu yr ymerodraeth; a Maximian Galerius a gyhoeddodd ei hun yn ymerawdwr y dwyrain, a chafodd Constantius Clorus ei wneuthur yn ymerawdwr y gorllewin.[b]

Constantius yn ymerawdwr.

Pan ddaeth Constantius yn ymerawdwr, darfu am yr erledigaeth; ac eglwysi Brydain, fel ereill, a gawsant lonyddwch a thawelwch mawr. Y cristianogion ag a ffoisent yn amser yr erledigaeth, a ddychwelasant; a'r eglwysi ag a ddystrywiasid, a adeiladwyd drachefn, a phob calon a lanwyd o lawenydd a gorfoledd am ddaioni Duw. Gosodwyd dyddiau hefyd i'w treulio mewn ympryd a gweddi, o goffadwriaeth am y saint a ferthyrwyd.[c] *

Gwr llawn o natur dda oedd Constantius; ac

M er

[a] Clarke's Martyr. p. 349. [b] Mosh. Eccles. Hist. Vol I. p. 258. [c] Bedo, L. I. Chap. 8.

* Dyma ddechreuad y gwyliau Mab Sant, a gynhelir mewn amrywiol leoedd i ddybenion, ac mewn dull gwahanol iawn i'w gosodiad cyntaf. Y Rhufeiniaid a'u galwent, Fasti Memoriæ Sanctorum; a'r Cymry a'u galwent, Gwyliau Mybyr Sant. Ac oddiwrth yr enw hwn y daeth, Gwyliau Mab Sant. Rowland's Mon. Ant. p. 181.

CANT IV. er nad oedd yn proffesu y grefydd gristianogol, amddiffynodd rydd-did y cristianogion, a dangosodd lawer o gariad tu ag attynt.[a]

Constantius yn profi duwioldeb ei weision cristianogol.

I brofi ffydd, a gwroldeb y cristianogion hyny ag oedd yn swyddogion dano, ac yn byw yn ei deulu, Constantius a ddywedodd wrthynt, fod yn rhaid iddynt naill ai aberthu i eulunod, a'u gwasanaethu, neu roddi i fynu eu swyddau. Fel na bu eglwys Dduw erioed yn hollol berffaith yn y byd hwn, rhai o'i weision a ddewisasant yn hytrach roddi i fynu eu crefydd nag ymadael â'i wasanaeth ef. Ond ereill, fel Moses, a ddewisasant yn hytrach oddef adfyd gydâ phobl Dduw, na chael mwyniant pechod dros amser. Yna Constantius a ddywedodd wrth y rhai cyntaf, Yn gymmaint a'ch bod chwi mor anffyddlon i'ch Duw, mae yn annhebygol y gallwch fod yn ffyddlon i'ch brenin; ac yn ebrwydd efe a'u diswyddodd hwynt, ac a'u danfonodd ymaith. Ond canmolodd y lleill yn fawr am eu gwroldeb a'u sel, ac o hyny allan a'u dewisodd hwynt i fod yn swyddogion dano, ac i wasanaethu oddiamgylch i'w berson.[b]

Marwolaeth Constantius. O. C. 306.

Gwedi treulio llawer o flynyddoedd yn Mrydain, ac ymdrechu gwneuthur daioni i bawb o'i ddeiliaid, Constantius a fu farw, ac a gladdwyd yn

[a] Eusebius. L. VIII. Chap. 14. [b] Euseb. in vita. Const. L. I. Chap. 9.

Nghaer Efrog;* a Chonstantine fawr, ei fab o Elen,† merch Coel Godebog, a ddewiswyd yn ymerawdwr yn ei le ef.* CANT IV.

Yr oedd yn llawen iawn gan y Cymry weled eu cydwladwr Constantine fawr yn cael ei wneuthur yn ymerawdwr; yn enwedig am ei fod fel ei dad Constantius, yn ffafrol i'r grefydd gristianogol.

Gwedi gosodd pob peth mewn trefn yn Mrydain, a gwneuthur y darpariadau angenrheidiol, Constantine fawr a aeth i ryfela â Maxentius, yr hwn oedd gwedi trawsfeddiannu llywodraeth Affrica a'r Ital, a chwedi cyhoeddi rhyfel yn ei erbyn ef. Fel ag yr oedd Constantine fawr yn myned i gyfarfod Maxentius, efe a welodd yn yr awyr ar hanner dydd, groes fawr, a'r geiriau

M 2 hynod

* York.

† Fe ddywedir fod Elen yn wraig o lendid, gwybodaeth, a duwioldeb mawr; ac iddi hi, pan wnaethpwyd ei mab Constantine yn ymerawdwr, fyned i Jerusalem, a thynu i lawr deml y dduwies Venus ag oedd wedi ei hadeiladu ar fynydd Calfaria; a delw Jupiter, ag oedd gwedi ei gosod uwchlaw bedd Crist; yn nghyd â theml Adonis ag oedd gwedi ei hadeiladu yn Methlehem. A chwedi eu dystrywio hwynt, iddi adeiladu eglwysi cristianogol yn eu lle. Fe ddywedir hefyd iddi gael gafael yn nghroes Crist ar fynydd Calfaria. Gwedi rhoddi llawer o brawf o'i gostyngeiddrwydd, a'i chariad a'r ei yn ngwlad Canaan, hi a ddychwelodd i Rufain, ac a fu farw yn mreichiau ei mab.

* Fuller's Church Hist. p. 21.

CANT IV.

Constantine yn gorchfygu Maxentius. O. C. 312.

hynod hyn yn ysgrifenedig arni; HAC VINC hyny yw, Yn hon, gorchfyga. Gwedi gorchfy Maxentius yn agos i Rhufain, Constantine fa a roddodd ddiolch i Dduw am ei ddaioni, ac ganiataodd rydd-did i gristianogion i fyw yn eu cyfreithiau a'u gosodiadau eu hunain.[a]

Mewn ychydig o amser gwedi hyn, Const tine fawr a wnaeth broffes gyhoeddus o'r g fydd gristianogol: a phan bu farw ei gyd-sw ddog Licinius, efe a roddodd fwy o rydd-di gristianogion. Ac ychydig o amser cyn ei f wolaeth, Constantine fawr a gyhoeddodd, ddyoddefai efe un grefydd yn yr ymerodrae ond y grefydd gristianogol yn unig; ac a ro odd orchymmyn i dynnu i lawr demlau yr lunod, ac i wahardd aberthu iddynt.[b]

Constantine yn cymmeryd llywodraeth allanol yr eglwys arno.

Yr oedd yr eglwys gristianogol tra y bu cael ei gwrthwynebu a'i herlid gan yr awd dodau gwladol, yn cael ei llywodraethu gan esgobion yn unig, yn ol y gwahanol raddau oedd gwedi ymlusgo i'w plith, a'r enwau a ddid iddynt. Ond pan wnaeth Constantine f broffes gyhoeddus o'r efengyl, efe a gymmer y rhan allanol o'r llywodraeth eglwysig i'w ei hun; ac fel y byddai i'r drefn o lywodr eglwysig fod yn fwy tebyg i'r ffurf o lywodr gwla

[a] Socrates Eccles. Hist. L. I. Chap. 2, 3.

[b] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 262.

gwladol, efe a sefydlodd y cyfnewidiadau ag oedd gwedi cymmeryd lle yn raddol yn y drefn o lywodraeth eglwysig er pan y diddymwyd y cystadledd ag oedd rhwng yr esgobion yn y cant cyntaf, a rhan o'r ail; ac a gadarnhaodd y blaenoriaeth ag oedd esgobion Rhufain, Antioehia, ac Alexandria, yn fwynhau y pryd hyny, ac a ddyrchafodd esgob Constantinople i'r un radd batriarchaidd a hwynthwy. Ychwanegodd hefyd rai swyddogion nad oeddent o'r blaen yn eglwys Crist.[a]

CANT IV.

Cynnydd eglwysi Brydain.

Gwedi cael rhydd-did i addoli Duw yn ol rheolau ei air, eglwysi Brydain a gynnyddasant mewn rhifedi; a chyfrifid hwynt yn enwog gan ddysgyblion Crist mewn gwledydd ereill. Ac o hyn allan yr ydym yn cael, fod gweinidogion eglwysi Brydain, yn bresennol yn y cymmanfaodd cyffredinol a gynhelid trwy orchymmyn yr ymerawdwyr, mewn amrywiol ranau o'r byd, i benderfynu dadleuon crefyddol, a threfnu mesurau addas i adeilad yr holl gorph.

Yn ebrwydd gwedi i'r crist'nogion gael llonyddwch gan eu gelynion allanol, cyfododd ymrysonau yn eu plith eu hunain, yr hyn fu yn foddion i rwygo rhai eglwysi, ac yn achos o ofid mawr i lawer o weinidogion Crist.

Pan

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol I. p. 282, 284.

CANT IV. Cymmanfa Arles. O. C. 314.

Pan oedd y Donatistiaid,* yn aflonyddu eglwysi Crist yn Affrica, a rhanau ereill o'r byd, yr ymerawdwr a orchymmynodd i esgobion yr amrywiol daleithiau gyfarfod mewn cymmanfa yn Arles yn Ffraingc, i ystyried y ddadl yn fanol, ac ymdrechu gwneuthur heddwch rhwng y ddwy blaid.[a]

Yr oedd Ifor, esgob Caer-Efrog, Rhystyd esgob Llundain, a Brawdol esgob Caerlleon ar Wysg, yn nghyd â Sacerdos yr henuriad, ac Armin y diacon o Gaerlleon ar Wysg, yn bresennol yn y gymmanfa hon; a'r tri esgob a roisant eu dwylaw wrth y rheolau a wnaethpwyd yr amser hwnw.[b] Barnodd y gymmanfa fod y Donatistiaid

* Yr achos o'r ddadl hon oedd fel y canlyn. Ar farwolaeth Mensurius esgob Carthage yn Affrica, yn y flwyddyn 311, cafodd arch-diacon Cæcilianus ei ddewis yn esgob yn ei le ef, a'i gyssegru i'w swydd gan yr esgobion cymmydogaethol yn unig, heb gynnorthwy esgobion Numidia, y rhai oedd yn arferol o fod yn bresennol ar gyssegriad esgobion Carthage. Tramgwyddodd esgobion Numidia yn fawr wrth hyn, a chyfarfuant mewn cymmanfa, a barnasant Cæcilianus ar amrywiol ystyriaethau yn annheilwng o'r esgobaeth; a dewisasant y diacon Majorinus yn ei le ef. Ond nid ufuddhaodd Cæcilianus i'w penderfyniad hwynt; ac felly cafodd eglwys Carthage, ac amryw o eglwysi ereill eu rhannu yn ddwy blaid. Ac o blegid fod Donatus yn fwy haerllug yn erbyn Cæcilianus nâ'r esgobion ereill, cafodd gwrthwynebwyr Cæcilianus eu galw yn Ddonatistiaid.

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 329.

[b] Usher de Eccles. Brit. p. 195. Stillingfleet's Orig. Brit. Chap. II.

tistiaid yn feius yn eu hymddygiad tu ag at Cæcilianus; a chytunodd y gweinidogion ar amrywiol o bethau, i'r dyben i ddwyn yn mlaen gysur ac adeiladaeth yr amrywiol eglwysi ag oedd o dan eu gofal gweinidogaethol.* CANT IV.

Yr

* Rheolau a wnaethpwyd yn Nghymmanfa Arles.

'Fod y pasc i gael ei gadw ar yr un amser trwy yr holl fyd; ac fod esgob Rhufain, fel arferol, i roddi gwybodaeth o'r diwrnod.'

'Nad oedd i un esgob sathru ar esgob arall.'

'Fod esgobion teithiol i gael caniatad i gyflawni eu swydd yn y dinasoedd i ba rai y deuent.'

'Nad oedd un i gael ei gyssegru yn esgob, heb fod tri esgob o leiaf yn bresennol.'

'Fod y gweinidogion a roddent arian allan ar llog i gael eu hysgymuno.'

'Nad oedd y gweinidogion ddim i ymadael â'r eglwysi lle yr oeddent wedi cael eu hurddo.'

'Na chai y diaconiaid ddim gweini yr ordinhad o swper yr Arglwydd.'

'Yn gymmaint a bod yr erledigaeth gwedi darfod, fod y rhai a wrthodent i barhau yn yr alwad o filwyr, i gael eu hattal o gymmundeb.

'Fod y rhai ag oedd yn gyru cerbydau mewn rhedegfeydd, ac yn dynwared mewn chwareudai, i gael eu troi o gymmundeb.'

'Fod y cristianogion hyny ag a fyddai yn cael eu gosod yn lywodraethwyr mewn lleoedd pellenig, i ddwyn gydâ hwynt lythyr canmoliaethol oddiwrth eu hesgob eu hunain,

CANT IV.

Yr oedd yr eglwys amrywiol weithiau gwedi penderfynu yn erbyn y Sabelliaid, ac ereill, fod y Duwdod yn hanfodi yn dri pherson gwahanol; ond nid oedd neb etto yn anturio gosod allan pa fodd yr oeddent felly. Gwahanol weinidogion a ffurfient wahanol feddyliau am y dirgelwch hwn, heb roddi tramgwydd y naill i'r llall.[a] Ond ni pharhaodd pethau yn y dull tangnefeddus hwn yn hir.

Arius,

ac na fyddai iddynt gael eu hattal o gymmundeb, oddieithr eu bod yn ymddwyn yn groes i ddysgyblaeth yr eglwys.'

'Fod y personau hyny, gwragedd pa rai a ddelid mewn godineb, i gael eu cynghori i beidio priodi drachefn tra byddent byw.'

'Fod y gwyryfon a briodent anghredinwyr, i gael eu hattal o gymmundeb dros amser.'

'Na chai y rhai a gam-gyhuddent eu brodyr, ddim eu derbyn i gymmundeb tra byddent byw.'

'Nad oedd i neb ag oedd gwedi eu hysgymuno mewn un lle, i gael eu derbyn mewn lle arall.'

'Nad oedd i un gwrthgiliwr i gael ei adferyd i gymmundeb mewn clefyd; ond fod iddo aros nes y gwellai, a phrofi ei fod gwedi diwygio.'

'Gan fod y Donatistiaid ac ereill, yn ail-fedyddio y rhai a fedyddiasid gan eu gwrthwynebwyr, penderfynwyd nad oedd y rhai ag oeddent gwedi eu bedyddio yn enw y Drindod sanctaidd, ddim i gael eu hail-fedyddio.' Stillingfleet's Orig. Brit. Chap. 2.

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 334.

Arius, henuriad eglwys Alexandria yn yr Aipht, a haerodd nad oedd Crist yn ogyfuwch â'r Tad. Dywedodd mai y Bod cyntaf, a'r mwyaf ardderchog, a greodd Duw oedd y Mab; mae trwyddo ef y creodd Duw y bydoedd, ac yn ganlynol ei fod ef nid yn unig yn îs nâ'r Tad mewn natur ac urddas, ond yn hanfodol wahanol oddiwrtho. Cyn gynted ag y gwnaeth Arius ei feddyliau yn gyhoeddus, cawsant eu cofleidio gan lawer yn yr Aipht, a'r gwledydd cymmydogaethol.

CANT IV.
O. C. 317.
Athrawiaeth Arius.

Alexander, esgob Alexandria, a arferodd bob moddion a allasai i argyhoeddi Arius o'i gyfeiliornad, a'i ddwyn yn ol i fynwes yr eglwys. Ond pan welodd nad oedd un moddion yn debygol o lwyddo, efe a'i torrodd ef allan o gymmundeb yr eglwys.

Ar hyn, Arius a ymneillduodd i wlad Palestine, ac oddi yno a ysgrifenodd at y gwyr mwyaf enwog yn yr amser hwnw, i amddiffyn ei ddaliadau. Llwyddodd i raddau helaeth; canys llawer a gofleidiasant ei athrawiaeth mewn amrywiol wledydd; ac yn mhlith ereill, Eusebius esgob Nicomedia, yr hwn oedd yn ŵr enwog, a chanddo awdurdod mawr yn yr eglwys.

Arius yn myned i Palastine, ac yn llwyddo.

Pan welodd Constantine fawr fod y ddadl hon yn debygol o wneuthur niwed i eglwys Crist, a chreu cynnwrf yn yr ymerodraeth, efe a orchymmynodd

Cymmanfa Nicea.
O. C. 325.

CANT IV.

mynodd i genhadau yr eglwys gyffredinol trwy y byd cristianogol i gyfarfod yn Nicea, dinas yn Bythinia, i'r dyben i benderfynu y mater hwn.

Arieth yn cael ei chondemnio.

Yn y gymmanfa hon, penderfynwyd fod y Mab o'r un hanfod â'r Tad, a chondemniwyd athrawiaeth Arius. Cafodd Arius hefyd ei alltudio i blith yr Iliriaid, ac annogwyd ei ganlynwyr ef i gydsynio â'r gredo a gafodd ei chyfansoddi gan y gymmanfa.[a]

Esgobion Brydain yn Nghymmanfa Nicea.

Dywedir fod amryw o esgobion Brydain yn Nghymmanfa Nicea, ac iddynt gyd-uno â'u brodyr i gondemnio athrawiaeth Arius,[b] a phenderfynu llawer o fatterion ereill. Ond gan fod llyfr Athanasius, ag oedd yn cynnwys enwau yr esgobion ag oedd yn bresennol yno, yn awr gwedi ei golli, mae yn anmhosibl i benderfynu pwy o'r Cymry oedd yno.*

Gwedi

a Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 335, 336.

b Usher de Eccles. Brit. p. 195. Stillingfleet's Orig. Brit. Chap. 3.

* Dywedir fod 318 o esgobion yn bresennol yn Nghymmanfa Nicea; a bod yr ymerawdwr ei hun yn eistedd yno fel blaenor. Gwedi condemnio Arieth, a chadarnhau y rhan fwyaf o'r rheolau a wnaethpwyd yn Nghymmanfa Arles, yn mhlith llawer iawn o bethau ereill, cytunodd Cymmanfa Nicea ar y pethau canlynol.

'Fod y pasc i gael ei gadw ar y Sabbath ag a ddygwyddo ar, neu yn nesaf yn ol y llawn lloer cyntaf wedi yr 21 o fis Mawrth.'

Gwedi i Arius fod dros ychydig o amser mewn alltudiaeth, Constantine fawr a'i galwodd ef yn ei ol, ac a ddiddymodd y cyfreithiau ag oedd gwedi eu gwneuthur yn ei erbyn ef. Caniataodd hefyd i Arius a'i gyfaill Eusebius, i flino a gorthrymu cefnogwyr cymmanfa Nicea, yn neillduol Athanasius, esgob Alexandria, yr hwn a ddiswyddwyd ac a alltudiwyd i Ffraingc, gan

CANT IV.

Arius yn dychwelyd o'i alltudiaeth. O. C. 330.

336.

 y Gym-

'Fod y rhai ag oedd gwedi eu bedyddio, a chwedi syrthio yn wirfoddol yn yr erledigaeth ddiweddar, i aros dair blynedd yn mhlith y gwrandawyr, saith mlynedd yn mhlith yr edifeiriolwyr, a dwy flynedd yn mhlith y gweddiwyr, cyn cael eu derbyn i gymmundeb.'

'Os *byddai* dynion mewn perygl o farw cyn myned trwy *yr holl drefn* o ddysgyblaeth, fod iddynt gael cymmundeb. *Ond os gwellhaent*, fod iddynt gael eu darostwng i blith yr *edifeiriolwyr*.'

'Nad oedd neb benywod i gael byw yn yr un tŷ a'r offeiriaid, ond eu perthynasau agosaf.'

'Os urddid neb yn fyrbwyll, heb ddigonol brawf, ni chyfrifid y cyfryw urddiad yn safadwy. Ac os urddid neb ag a fyddai gwedi syrthio, fod yr urddiad i gael ei ddiddymu.'

'Fod esgob i gael ei ordeinio gan esgobion y dalaith, ond os nad allent oll ddyfod, fod rhaid cael tri yn bresennol, a'r rhai hyny gwedi cael cydsyniad y rhai absennol; a bod i'r arch-esgob gadarnhau pob peth a wnelid gan esgobion y dalaith.'

'Fod cymmanfaoedd taleithiol i gael eu cadw ddwy waith yn y flwyddyn, sef yn y Grawys, ac yn yr Hydref.' Stillingfleet's Orig. Brit. Chap. 3.

CANT IV.

y Gymmanfa a gynnaliwyd yn Tyre.* Ond gan fod pobl Alexandria yn parhau i wrthod adferyd Arius i'w swydd yn eu plith, Constantine fawr a'i galwodd ef atto ei hun i Gonstantinople; ac a roddodd orchymmyn i Alexander, esgob y ddinas honno, i'w dderbyn ef i gymmundeb. Eithr cyn i hyny gymmeryd lle, Arius a fu farw; ac ni bu Constantine fawr byw yn hir ar ei ol ef.[a]

O. C. 336. Marwolaeth Arius.

Constantine yn marw, ac yn rhanu yr ymerodraeth rhwng ei dri mab.

Pan wybu Constantine fawr fod amser ei ymddattodiad ef yn nesau, efe a ranodd yr ymerodraeth rhwng ei dri mab, Constantinus, Constans, a Chonstantius. Constantinus y mab hynaf, a gafodd Brydain, Ffraingc, Spain, a rhan o Germany. Gwedi marw Constantine fawr, Constantinus, heb weled ei fod wedi cael digon, a ruthrodd i mewn i etifeddiaeth ei frawd Constans, ac a laddwyd yn yr ymdrech.

O. C. 340.

Ar farwolaeth Constantinus, Constans a gymmerodd feddiant o'i etifeddiaeth ef, ac a ddaeth trosodd i Frydain, i ddarostwng y Pictiaid, a'r Scotiaid,* ag oedd gwedi torri ar draws y Cymry.[b]

Tra

* Yr un ysbryd erledigaethus, mae yn debyg, oedd yn y ddwy blaid.

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 339, 340. [b] Tyrrel's Gen: Hist. Eng. Vol. I. B. 2.

* Pobl o genedl y Scythiaid, oedd y Pictiaid yn wreiddiol, ag a ddaethent trosodd i'r rhan ogleddol o Frydain oddi

CANT IV.

Tra yr oedd y Cymry yn cael eu blino gan y gelynion hyn, yr oedd eglwysi y saint, yn y dwyrain a'r gorllewin, yn llawn ymrafaelion yn nghylch athrawiaeth Arius. Esgobion a ysgymmunent esgobion, ac a ddrygent y naill y llall, fel nad oedd ond ychydig o ysbryd yr efengyl i'w ganfod yn mhlith llawer o honynt.

Y ddau ymerawdwr, yn dymuno dilyn siampl eu tad, a chadw undeb yr eglwys, yn ol defod yr amseroedd, a orchymmynasant i esgobion yr amrywiol eglwysi yn y dwyrain a'r gorllewin, i gyfarfod yn ninas Sardis, yn Thracia, fel ag y caent wybod beth oedd barn y rhan fwyaf am athrawiaeth *Arius*, a pha fesurau i fabwysiadu i'r dyben i gadw undeb yr ysbryd yn nghwlwm tangnefedd. Yr oedd dros dri chant a thri ugain ac un ar bymtheg o esgobion yn bresennol yn y gymmanfa hon; ac fe ddywed Athanasius fod amrywiol o esgobion Brydain yno, er pelled oedd, ac yn mhlith ereill Rhystyd esgob Llundain.* Yn y gymmanfa hon, cafodd y pethau a gytunwyd arnynt yn Nghymmanfa Nicea, eu cadarnhau, ac Arieth

Cymmanfa Sardis. O. C. 347.

amgylch i'r flwyddyn 72. Ond llwyth ag a ddaeth o'r Iwerddon yn nghylch dechreuad y pedwerydd cant, oedd y Scotiaid. Oddiwrthynt hwy y cafodd Scotland ei galw felly. Yr oedd y Pictiaid a'r Scotiaid yn preswylio yn Scotland, ac yn nao yn aml i ddrygu ac anrheithio y Cymry; yn neillduol gwedi i fyddinoedd y Rhufeiniaid gael eu galw o Frydain.

* Yr un gwr ag oedd yn Nghymmanfa Arles.

CANT IV. Arieth ei chondemnio. Cytunwyd hefyd i alw Athanasius yn ol o'i alltudiaeth, a'i dderbyn i fynwes yr eglwys.[a] Ond ni chydsyniodd esgobion y dwyrain â'r mesurau hyn.

Gwedi marw Constans, dangosodd Constantius ei fod yn ffafrol i athrawiaeth Arius; ac ymdrechodd i ddwyn esgobion y gorllewin i'w chefleidio. Ond pan welodd fod cynnifer o honynt yn glynu wrth y pethau a gytunwyd arnynt yn Nghymmanfaoedd Nicea, a Sardis, efe a orchymmynodd i'r esgobion yn gyffredinol i gyfarfod yn Arminium yn yr Ital; ac y byddai iddo ef i ddwyn eu traul hwynt oll.

Gymmanfa Arminium, O. C. 359.

Fel ag yr oedd y ddwy blaid am lwyddo, a llawer o bosibl yn mhlith y ddwy, yn gofidio am yr anghydfod galarus ag oedd wedi cymmeryd lle rhwng yr eglwysi, cyfarfu dros bedwar cant o esgobion yn y gymmanfa hon. Esgobion Ffraingc a Brydain, a dybient ei bod yn anweddaidd, i gymmeryd dim gan yr ymerawdwr at ddwyn eu trail. Ond tri o esgobion Brydain, yn analbl i ddwyn eu traul eu hunain, ac heb ewyllysio pwyso ar eu brodyr, a dderbyniasant o haelioni yr ymerawdwr.[b]

Gwedi i'r esgobion gyfarfod, a gosod pob peth mewn trefn, yr Ariaid a ddywedasant, 'Gan fod

[a] Usher de Eccles. Brit. p. 195. Cressy's Ch. Hist. B. VIII. Chap. 3. [b] Usher de Eccles. Brit. p. 159.

fod meddyliau dynion yn cael eu terſysgu trwy yr amrywiol gredöau ag oedd yn y byd eristianogol, mai gwell fyddai eu diddymu hwynt oll, a derbyn fel rheol gyffredinol y gyffes a wnaethid ychydig cyn hyny yn Nghymmanſa Sirmium, lle yr oedd yr ymerawdwr yn bresennol; a chan fod y gair cyd-sylweddiad yn annyalladwy i lawer, mai gwell fyddai dywedyd yn ngeiriau yr ysgrythur, fod y Mab, yn mhob peth yn debyg i'r Tad, nâ dywedyd fel yn Nghredo Nicea, ei fod o'r un sylwedd a'r Tad.' A chwedi dywedyd hyn darllenwyd y gyffes newydd ger bron y gymmanſa.[a]

Pan glybu esgobion y gorllewin y gyffes, yn yr hon nid oedd Crist yn cael ei osod allan fel o'r un sylwedd a'r Tad, hwy oll a'u gwrthodasant, ac a ddywedasant, na chilient hwy ddim oddiwrth gredo Nicea, ac a feiasant yn fawr ar yr esgobion hyny ag oedd am wneuthur y gredo hon yn rheol gyffredinol i'r holl eglwysi. A phan ddeallasant fod yr ymerawdwr yn bwriadu gwneuthur iddynt oll gydsynio â daliadau yr Ariaid, hwy a ddanfonasant ddeg o'u brodyr atto i ddymuno arno, na ddygai efe athrawiaethau newyddion i mewn i'r eglwys, ond gadael i bob peth fod fel ag yr oeddent yn amser ei dad; a rhoi cenad iddynt hwy i ddychwelyd at eu hamrywiol

[a] Socrates Eccles. Hist. L. II. Chap. 29.

CANT IV.

rywiol eglwysi, fel y gallent gyduno â hwynt mewn gweddiau am lwyddiant a dedwyddwch ei ymerodraeth.[a]

Yr ymerawdwr gwedi clywed gan yr Ariaid pa fodd yr oedd pethau yn myned yn mlaen yn y Gymmanfa, a chwedi penderfynu yn ei feddwl i ymdrechu dwyn esgobion y gorllewin yn nes at feddyliau yr Ariaid, a ddywedodd wrth y cenhadau, 'Nad oedd y gwahaniaeth rhyngddynt ddim llawer, ac fod y gair sylwedd yn dywyll, a chwedi cael ei arferyd yn fyrbwyll gan y tadau; ac mai y wir ffydd oedd fod y Mab yn debyg i'r Tad.' A chwedi ymresymu llawer â'r cenhadau, efe a'u dygodd i gydsynio âg ef. Gwedi ennill y cenhadau drosodd i'w ochr ei hun, yr ymerawdwr a'u gollyngodd hwynt ymaith at eu brodyr yn Arminium; ac a roddodd orchymmyn i'w swyddog yn y dref honno, na ollyngai efe yr esgobion ymaith nes byddent gwedi cyduno â'u gilydd.[b]

Pan ddeallodd yr esgobion nad oedd rhydddid iddynt i ddychwelyd heb broffesu eu cydsyniad â meddyliau yr ymerawdwr; a bod rhai o'u brodyr yn cael eu carcharu o blegid eu gwroldeb o blaid y ffydd, hwy a ofnasant; a chwedi bod

[a] Socrates Eccles. Hist. L. II. Chap. 29. Cave's Lives, Vol. II. Sec. XI. [b] Ibid.

bod saith mis yn Arminium, hwy a gydsyniasant i'r gyffes a wnaethpwyd yn Sirmium, ac a dychwelasant at eu hamrywiol eglwysi.[a] CANT IV.

Yn y gymmanfa hon, yr Ariaid, trwy ddichell a thraws-arglwyddiaeth yr ymerawdwr, yn nghyd â gwendid esgobion y gorllewin, a gawsant y fuddugoliaeth. Ond ni pharhaodd eu gorfoledd yn hir, canys esgobion y gorllewin, wedi marw Constantius, a gyhoeddasant mewn amrywiol gymmanfaodd, eu hymlyniad parhaus wrth y ffurf o athrawiaeth a gytunwyd arni yn Nghymmanfa Nicea.[b]

Yn fuan yn ol Cymmanfa Ariminium, cafodd athrawiaeth Arius ei chofleidio gan lawer o gristianogion Brydain. Pa un ai esgobion Brydain ag oedd yn bresennol yn Nghymmanfa Ariminium, neu ryw rai ereill, a fu yn offerynol i'w dwyn yma, sydd ry anhawdd gwybod yn bresennol. Ond sicr yw, iddi lwyddo yma i fesur helaeth dros rai blynyddoedd, a pheri mawr flinder i rai cristianogion.[c] Athrawiaeth Arius yn Mrydain.

Tra yr oedd dadleuon crefyddol yn terfysgu meddyliau cristianogion Brydain, ac yn llanw O. C. 364.

O eu

[a] Cave's Lives, Vol. II. Sec. XI. Cressy's Ch. Hist. B. VIII. Chap. 5. [b] Stillingfleet's Orig. Brit. Chap. 4.

[c] Gildas. Bede, L. I. Chap. 8.

CANT IV.

calonau o ddigasedd y naill at y llall, y Pictiaid a'r Scotiaid a ruthrasant arnynt, ac a anrheithiasant eu gwlad. Gorchfygasant mewn llawer brwydr, a lladdasant lawer o'r Cymry. Yr ymerawdwr Valentinian, pan wybu hyn, a ddanfonodd Theodosius i Frydain; yr hwn a osododd derfyn ar y rhyfel, ac a adferodd heddwch i'r taleithiau.[a]

Theodosius yn gorchfygu y Pictiaid.

O. C. 370.

Er mor anfanteisiol i achos gwir grefydd oedd y terfysgiadau gwladol ac eglwysig ag oedd y pryd hyny yn mhlith y Cymry, yr oedd yma lawer o ddynion enwog mewn duwioldeb, y rhai a ddangosent fawr sel dros ogoniant Duw, a daioni y wladwriaeth. Cynedda Wledig,* tywysog Ystrad Clwyd, a Gwynedd, a ddangosai lawer o gariad at Dduw a'i saint. Dygodd ei blant i fynu yn egwyddorion y grefydd gristianogol, a rhoddodd diroedd a breintiau gwladol i'r rhai a broffesent y ffydd yn Nghrist. Y rhan fwyaf o feibion Cynedda Wledig a gyflwynasant eu hunain i'r Arglwydd; a phan yrrwyd hwynt o'u gwlad gan y Saeson, cawsant etifeddiaethau yn Nghymru.[b]

Cynedda Wledig yn dywysog rhinweddol.

Pan

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 36, 37.

* Mab Edeyrn o Wawl, merch Coel Godebog. Yr oedd yn teyrnasu yn Cumberland a'r ardaloedd cymmydogaethol hyd Wynedd.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 61. Achau saint ynys Brydain.

Pan oedd Macsen Wledig yn Mrydain, efe a briododd Elen merch Eudaf tywysog Cornwal; ac ar farwolaeth Eudaf a ddewiswyd yn dywysog ar y rhan honno o Frydain. Gwedi cael ei dderchafu i'r sefyllfa anrhydeddus hon, efe a benderfynodd i ddiorseddu yr ymerawdwyr Gratian a Valentinian, a thraws-feddiannu yr ymerodraeth. Ac i'r dyben i ddwyn ei amcanion uchelfrydig i ben, efe a gymmerodd dri ugain mil o flodau ieuengctyd y Cymry, heblaw llu y Rhufeiniaid ag oedd y pryd hyny yn Mrydain, ac a aeth drosodd â hwynt i Ffraingc a'r Ital.

CANT IV.

O. C. 383. Macsen Wledig â 60,000 o'r Cymry yn myned i Ffraingc.

Gwedi meddiannu yr ymerodraeth dros bum mlynedd, Macsen Wledig a laddwyd wrth ryfela â Theodosius; a chynnifer o'r Cymry ag a ddiangasant, a sefydlasant yn Llydaw,* yn Ffraingc, lle yr oedd Cynan Meiriadog, tywysog Gwynedd, a brawd Elen, gwraig Macsen Wledig, gwedi cael ei osod yn frenin. Gwedi colli cynnifer o'u milwyr, daeth y Cymry yn analluog i ymddiffyn eu gwlad; ac yn ol ychydig amser gwedi hyny, y Saeson a ruthrasant arnynt, ac a feddiannasant y rhan fwyaf o Frydain.[a]



* Armorica, Ar-môr.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 60. Gildas. Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 38, 39.

CANT IV. O. C. 390.

Yn fuan gwedi marwolaeth Macsen Wledig, cafodd Cystenin fendigaid, mab Cynfor, ei ddewis yn frenin Brydain. Theodosius yr ymerawdwr, a Chystenin fendigaid, yn ewyllysio dyrchafiad y Cymry, ac yn gydwybodol o ddefnyddioldeb dysgeidiaeth, a sefydlasant Athrofa yn Nghaer Worgorn yn Ngwent, ac a osodasant Padrig, gwr duwiol a dysgedig yn agos i Aberllwchwr, yn Nhir Gwyr, yn athraw ynthi. Pan oedd Padrig yn y sefyllfa hon, y Gwyddelod ag oedd gwedi cymmeryd meddiant o lan y môr, a ddaethant i Gaer Worgorn, a chwedi anrheithio y lle, a gymmerasant Padrig yn gaeth i'r Iwerddon.[a] Ond y Duw ag sydd yn goruchlywodraethu achosion dynion, a wnaeth gaethiwed Padrig yn fendith i'r Gwyddelod. Padrig, gwedi cael ei ddwyn i'r Iwerddon, a ddechreuodd bregethu yr efengyl i'r Gwyddelod paganaidd, a Duw a'i harddelodd i raddau helaeth, fel ag y bu yn offeryn i ddwyn llawer o honynt i gofleidio y grefydd gristianogol. Mewn canlyniad i'r llwyddiant mawr a gafodd Padrig yn Ngwerddon, cafodd ei alw yn apostol y Gwyddelod;[b] ac y mae y bobl hyny yn ei ystyried hyd heddyw, fel eu sant ymgeleddol.*

Athrofa Caer Worgorn.

Llwyddiant Padrig yn Ngwerddon.



a Achau saint ynys Bryd. Camb. Biog. V. Padrig.

b Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 358.

* Titular Saint.

# Y PUMMED CANT.

AULACH, un o freahinoedd yr Iwerddon, a briododd Marchell, unig ferch Tudyr, brenin Garth Mathryn yn Nghymru. Ar farwolaeth Tudyr, Brychan mab Aulach o Farchell, a ddaeth yn frenin Garth Mathryn, ac a'i galwodd yn Frecheiniog, yn ol ei enw ei hun. Yr oedd Brychan yn ŵr rhinweddol, a chanddo deulu lluosog.† I'r dyben i daenu gwybodaeth o *Grist* yn y lleoedd lle nad oedd yr efengyl yn cael

CANT V.

Brychan Brycheiniog.

† Enwau meibion Brychan o'i dair gwraig, Prawst, Rhybrawst, ac Eurbrawst. 1. Cynog, 2. Cyflewyr, 3. Dingad, 4. Arthen, 5. Clydog, 6. Rhawin, 7. Cledwyn, 8. Rhun, 9. Rhain, 10. Pasgen, 11. Cynbryd, 12. Cynfran, 13. Neffei, 14. Doewan, 15. Dyfnan, 16. Cadog, 17. Mathaiarn, 18. Gerwyn, 19. Pabiali, 20. Cynin, 21. Dyfrig, 22. Hychan, 23. Llechau, 24. Nefydd.

Merched Brychan,

1. Mechel, 2. Lleian, 3. Hawystl, 4. Dwynwen, 5. Ceindrych, 6. Gwenddydd, 7. Gwladus, 8. Nefyn, 9. Gwawr, 10. Eleri, 11. Eluned, 12. Gwrgon, 13. Enfail, 14. Rhieingar, 15. Goleuddydd, 16. Ceinwen, 17. Gwen, 18. Gwawrddydd, 19. Cenedlon, 20. Tybiau, 21. Clydai, 22. Tudfyl, 23. Tydiau, 24. Tanglwst, 25. Arianwen, 26. Corth. Achau saint ynys Brydain.

CANT V.

cael ei phregethu y pryd hyny, Brychan a ddygodd ei blant, a'i wyrion, i fynu mewn dysgeidiaeth, fel ag y byddent yn abl i hyfforddi yr anwybodus. Bu llawer o honynt yn llafurus iawn yn ngwinllan Duw, a chafodd rhai eu merthyru gan y Saeson paganaidd. Yr oedd teulu Brychan mor enwog yr amser hwnw, fel ag y cafodd ei alw yn un o'r tri theulu sanctaidd ynys Brydain.[a]†

Meibion Macsen Wledig yn wyr enwog.

Nid aeth pawb o hiliogaeth Macsen Wledig gydâg ef i Ffraingc. Ednyfed, Owain, Cystennyn a Pheblic, ei feibion ef, a arosasant yn Mrydain, a chyfrifid hwynt yn ddynion enwog mewn duwioldeb. Eldad hefyd, un o hiliogaeth Bran fendigaid, yr hwn a gafodd ei ddwyn i fynu yn Athrofa Caer Worgorn, oedd yn ŵr cyfrifol iawn yn nechreuad y cant hwn.[b]

Y derwyddon a haerent fod drwg a da yn gyd-bwys yn y cyflwr dynol, ac fod gan ddyn allu digonol i ddewis a chyflawni yr un a fynai o honynt. Pan gafodd rhai o'r derwyddon eu dychwelyd at gristianogaeth, a'u dewis yn weinidogion eglwysi Crist yn mhlith y Cymry, hwy a barhausant i ddysgu yr athrawiaeth hon; ac a gym-

[a] Achau saint ynys Bryd. Archaiol. Vol. II. p. 61.

† Teulu Bran fendigaid, a theulu Cynedda Wledig, oedd y ddau arall.

[b] Achau saint ynys Brydain.

gymmysgasant lawer o'u daliadau derwyddol âg athrawiaethau pur yr efengyl. O'r cymmysgedd hwn y cyfododd athrawiaeth Morgan,* yr hon a greodd gymmaint o gynnwrf yn eglwysi y saint yn y cant hwn.[a] CANT V.

Morgan a anwyd yn Mrydain, ac yn ol barn rhai, a ddygwyd i fynu yn Athrofa Bangor îs y coed, yn sir Fflint.† Yr oedd Morgan yn cael ei gyfrif yn ŵr rhinweddol, a dysgedig iawn yn y ieithoedd, a phob cangen arall o ddysgeidiaeth a gyfrifid yn angenrheidiol yn y dyddiau hyny. Dywedir ei fod yn dal y cyfeiliornadau canlynol:

1. 'Fod Adda gwedi ei greu yn greadur marwol; ac y buasai efe marw pe buasai heb bechu.' Cyfeiliornadau Morgan.

2. 'Nad oedd pechod Adda o un anfantais, ond iddo ei hun yn unig.'

3. 'Fod y gyfraith yn cymmwyso dyn i deyrnas

* Pelagius, yn y iaith Ladin.

[a] Camb. Biog. V. Morgant.

† Y mae llawer yn meddwl mai Lleirwg tywysog Siluria, a sefydlodd yr Athrofa yn Bangor îs y coed, yn sir Fflint. Ereill a dybiant mai Dunod fawr, mab Pabo, yn nghyd â'i feibion, Deiniol, Cynwyl a Gwarthan a'i sefydlasant hi yno yn y chwechfed cant. Ond pa un bynnag ai yn yr ail, neu yn y chwechfed cant, y sefydlwyd Athrofa yn Bangor îs y coed, yr oedd rhai dynion dysgedig yn Nghymru yn amser Morgan.

CANT V. nas nefoedd, a chwedi ei selio ar ogyfuwch addewidion a'r efengyl.'

4. 'Fod rhai dynion cyn dyfodiad Crist yn byw yn ddi-bechod.'

5. 'Fod babanod yn yr un cyflwr ag Adda cyn y cwymp.'

6. 'Mae nid anufudd-dod Adda yw yr achos o farwolaeth holl ddynol-ryw; ac nad yw yr adgyfodiad cyffredinol yn deilliaw trwy rinwedd adgyfodiad Crist.'

7. 'Pe b'ai dyn yn ymdrechu, y gallai efe gadw holl orchymmynion Duw heb un anhawsdra; a chadw ei hun mewn cyflwr o ddiniweidrwydd perffaith.'

8. 'Er i gyfoethogion gael eu bedyddio, a byw yn rhinweddol, na's gallant fyned i'r bywyd heb iddynt ymadael â'u holl olud.'

9. 'Nad yw gras a chymmorth Duw yn cael eu rhoddi i gyflawni pob gweithred foesol; ond fod rhydd-did yr ewyllys a gwybodaeth o ddyledswydd yn ddigonol i atteb y dyben.'

10. 'Fod gras Duw yn cael ei roddi yn gyfattebol i haeddiant dyn.'

11. 'Nad all neb gael eu galw yn blant i Dduw, oddi eithr eu bod yn berffaith ddi-bechod.'

12. 'Mae

12. 'Mai trwy rydd-did ei ewyllys, ac nid trwy gymmorth Duw mae i ddyn gael y fuddugoliaeth ar brofedigaethau.'[a] CANT V.

Dyma yr egwyddorion peryglus a gyfrifid i Morgan, ac am ba rai y cafodd ei gondemnio mewn llawer o Gymmanfaoodd. +

Morgan, yn nghyd â Cœlestius, gwr o'r Iwerddon, o'r un daliadau ag ef ei hun, a aethant i Rhufain, ac a fuant yno mewn parch mawr dros ychydig amser. Ar ddyfodiad y Gothiaid i Rufain, Morgan a Cœlestius a ymadawsant i Sicily, ac oddi yno a aethant i Affrica, lle y cyhoeddasant eu daliadau gydâ mwy o rydd-did. Morgan a aeth o Affrica i wlad Palastine, ac a dderbyniwyd yn garedig gan Ioan esgob Jerusalem; ond Cœlestius a arosodd yn Carthage, dan obaith o gael ei ddewis yn un o henuriaid y ddinas hono. Pan gafodd daliadau Cœlestius eu gwneuthur yn gyhoeddus, cawsant eu condemnio gan y gymmanfa a gyfarfu yn Carthage. Mewn canlyniad i hyn, ymadawodd Cœlestius o'r ddinas hono, ac a aeth i'r dwyrain. Pan glybu Austin esgob Hippo, am lwyddiant athrawiaeth Morgan yn y dwyrain, efe a ysgrifenodd lawer yn ei herbyn; ac a ddanfonodd Orosius i gyhuddo Morgan ger bron y Gymmanfa a gyfarfu yn Jerusalem. Ond gan fod Ioan esgob Jerusalem

Morgan yn myned i Rufain.

O. C. 410.

412. Cymmanfa Carthage.

Cymmanfa Jerusalem.



[a] Warner's Eccles. Hist. Vol. I. p. 23.

+ gwel y nod ar odre tu dal 73. lle y rhydd Mr Peter barch i Morgan, [illegible] yn [illegible] ei [illegible]

CANT V.

mor ffafrol i athrawiaeth Morgan, ni wnaeth y Gymmanfa honno ond ei ddanfon ymaith yn ddigerydd; ac ychydig yn ol hyny, yn Nghymmanfa Diospolis, barnwyd nad oedd Morgan yn euog o gyfeiliornad. Zosimus esgob Rhufain hefyd, a gofleidiodd athrawiaeth Morgan dros ychydig amser, ac a gyhoeddodd ei fod ef yn iach yn y ffydd; ond wrth ystyried rhesymau Austin yn erbyn athrawiaeth Morgan, a gweled gwroldeb esgobion Affrica, efe a gyfnewidiodd yn ei farn, ac a gondemniodd Morgan a Cœlestius, gydâ y gerwindeb mwyaf.[a]

Esgob Rhufain yn condemnio Morgan.

Nid ymddengys i Forgan ddychwelyd i Frydain, ond cafodd ei athrawiaeth ei lledu yma gan y gweinidogion hyny ag oedd o'r un farn ag yntef, ac yn neillduol gan Agricola, mab Severianus,[b] esgob o Ffraingc.[c]

Fel ag yr oedd y Rhufeiniaid gwedi galw eu byddinoedd o Frydain, i'r dyben i amddiffyn eu gwlad eu hun, ag oedd yn cael ei hanrheithio gan y Gothiaid, ni's gallasent roddi y cynnorthwy hyny i'r Cymry ag oedd yn angenrheidiol arnynt yn yr amser cyfyng hwn. Y Pictiaid a'r Scotiaid

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol I. p. 422, 423, 424.

[b] Bede, L. I. Chap. 17.

[c] Cressy's Eccles. Hist. B. VIII. Chap. 27.

Scotiaid, yn nghyd â'r Saeson * ag oedd yr amser hyny gwedi uno â hwynt, yn cymmeryd y fantais ar sefyllfa di-ymgeledd y Cymry, a ruthrasant o'r newydd arnynt. Yn y cyfyngder hwn, y Cymry a anfonasant i Rhufain am gynnorthwy yn erbyn eu gelynion. Y Rhufeiniaid yn mwynhau ychydig o lwyddiant yr amser hwnw, a gydsyniasant â dymuniad y Cymry, ac a anfonasant gynnifer o filwyr i Frydain, ag oedd yn angenrheidiol i ymlid y gelynion ymaith. Y Rhufeiniaid, gwedi gorchfygu gelynion y Cymry, a'u gyru i'w gwlad eu hun, a gawsant eu galw yn ol i'r Ital. Ond cyn eu hymadawiad, y Rhufeiniaid a gadarnhasant fur Severus,† ac a roisant annogaeth i'r Cymry i ymarferyd dyledswyddau milwraidd, a sefyll yn wrol dros rydd-did eu gwlad; ac a ddywedasant wrthynt, nad oedd iddynt ddysgwyl ddim cynnorthwy o Rufain rhagllaw, ond fod yn rhaid

CANT V.

Y Cymry yn anfon am gynnorthwy i Rhufain.

O. C. 421.



* Un o genhedloedd rhyfelgar Germany oedd y Saeson, ag oedd gwedi symud o barthau gogleddol y wlad honno, a chwedi sefydlu ar hyd glan y môr o Jutland i'r afon Rhine. Ac ar amserau a ddeuent drosodd mewn badau i anrheithio Brydain. Verstegan, Chap. 3.

† Mur a adeiladwyd yn gyntaf gan Adrian, a chwedi hyny gan yr ymerawdwr Severus, o'r afon Tyne i Solway Frith, i rwystro y Pictiaid a'r Scotiaid i ddyfod i barthau deheuol Brydain. Yr oedd y mur hwn yn ddeuddeg troedfedd o uchder, ac yn wyth troedfedd o led.

CANT V.

Y Rhufeiniaid yn ymadael â Brydain.

O. C. 426.

i'w dyogelwch a'u cysur o hyny allan, i ymddibynu ar eu rhinweddau a'u hymdrechiadau eu hunain, ac nid ar y Rhufeiniaid. Gwedi dywedyd hyn, y Rhufeiniaid a ymadawsant â Brydain, ac ni ddychwelasant mwyach.[a]

Y Cymry, gwedi bod yn agos i bedwar cant a phedwar ugain o flynyddoedd dan lywodraeth y Rhufeiniaid, a gawsant eu rhydd-did. Ond yr oedd eu gelynion mor lluosog, a hwythau gwedi dirywio i'r fath raddau, fel nad oeddent yn awr mewn sefyllfa i ymddiffyn y rhydd-did a gawsent.

Er i athrawiaeth Morgan gyfodi yn Mrydain, nid ymddengys ei bod wedi ei chofleidio gan yr holl eglwysi; ond i'r gwrthwyneb, fod llawer, os nid y rhan fwyaf o honynt, yn ei ffieiddio, ac yn gofidio yn fawr wrth weled ei llwyddiant, yn neillduol gwedi iddi gael ei chondemnio gynnifer gwaith gan gymmanfaodd y saint mewn gwledydd ereill. Ond gan nad oeddynt yn abl i'w gwrthwynebu i foddlonrwydd y lluaws, hwy a ddanfonasant at esgobion Ffraingc, ac a ddymunasant arnynt i anfon dynion duwiol a dysgedig i Frydain i amddiffyn y gwirionedd.[b]

Esgobion Brydain yn anfon i Ffraingc am gynnorthwy yn erbyn y Morganiaid.

Esgobion Ffraingc wedi cyfarfod mewn cymmanfa,

[a] Gildas. Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 44, 55.

[b] Bede, L. I. Chap. 17.

manfa, a ddewisasant Garmon * esgob Auxerre, a Lupus esgob Troyes, ac a'u hanfonasant i Frydain i bregethu yn erbyn athrawiaeth Morgan, a chadarnhau yr eglwysi yn y gwirionedd ª Garmon a Lupus, gwedi cyfarfod â thymhestl ar y môr, a bod mewn perygl mawr, a diriasant yn ddiangol yn Mrydain, ac a dderbyniwyd yn roesawgar gan y cyfeillion a ddanfonasent am danynt.

CANT V.

Garmon a Lupus yn dyfod i Frydain. O. C. 429.

Fel ag yr oedd Garmon a Lupus yn areithwyr da yn wyr dyeithr, a chwedi dyfod i Frydain i'r dyben i ddiwreiddio cyfeiliornadau y Morganiaid, lluaws mawr a wrandawent arnynt pa le bynnag y byddent yn pregethu yr efengyl. Dywedir hefyd i lawer o'r Morganiaid gael eu dwyn i gofleidio y gwirionedd, a'r iawn ffyddiog gael eu cadarnhau trwy eu hathrawiaeth hwynt.

Pan welodd y Morganiaid fod Garmon a Lupus yn llwyddo, cytunasant i ddadleu y pyngciau yn mha rai yr oeddynt yn anghytuno, mewn cymmanfa gyhoeddus yn Verulam, ac y cai y bobl yn gyffredinol fod yn farnwyr pa rai o honynt oedd nesaf at y gwirionedd. Ar y dydd appwyntiedig, cyfarfu blaenoriaid y ddwy blaid yn Verulam, a lluaws mawr o bobl a ddaethant ynghyd, i fod yn edrychwyr, yn wrandawyr, ac

Cymmanfa Verulam. O. C. 430.

* St. Germain, mab Rhedyw, ac ewythr Emyr Llydaw. Mae llawer o eglwysi gwedi eu cyssegru iddo yn Nghymru.

ª Bede, L. I. Chap. 17.

CANT V.

ac yn farnwyr. Y Morganiaid a ddechreuasant, ac a amddiffynasant eu daliadau hyd eithaf eu gallu. Pan orphenasant, Garmon a Lupus a safasant i fynu, ac a dywalltasant y fath lifeiriant o resymau cadarn ac ysgrythurol yn erbyn athrawiaeth y Morganiaid, fel nad oedd ganddynt ddim i'w atteb; a braidd yr attaliwyd y bobl rhag rhuthro arnynt.*

Y Pictiaid a'r Saeson yn rhuthro i Gymru.

Ychydig o amser yn ol y gymmanfa hon, tra yr oedd Garmon a Lupus yn myned oddi amgylch i hyfforddi y Cymry, y Pictiaid a'r Saeson a ddaethant yn dorfëydd o Scotland, ac a ddifrodasant y rhan ogleddol o Gymru. Yn y cyfamser, yr oedd lluaws o'r Cymry gwedi cyfarfod yn y rhan honno o'r wlad, i gael eu hyfforddi gan Garmon a Lupus, a'u bedyddio i'r grefydd gristianogol.* Anfonwyd gan hyny at Garmon, a dymunwyd arno i'w cynnorthwyo yn erbyn eu gelynion. Garmon, yn llawn gwrolder a sel, ac yn cael ei amgylchynu gan ddysgyblion Crist, a ddygwyliodd yn dawel am ddyfodiad y Pictiaid a'r Saeson, mewn lle a elwir Maes Garmon, yn agos i'r Wyddgryg, yn sir Fflint; ac a roddodd orchymmyn i'r Cymry, pan roddai efe arwydd iddynt, i lefain allan, Aleluia, dair gwaith. Ar y munudyn ag yr oedd y gelynion yn rhuthro arnynt,

* Bede, L. I. Chap. 17. Usher de Eccles. Brit. p. 328.

* Er cymmaint o bregethu oedd y pryd hyny yn Nghymru, yr oedd yma lawer o baganiaid eilun-addolgar.

CANT V.

amynt, Garmon a roddodd arwydd, a'r Cymry a lefasant â llef uchel, 'Aleluia, Aleluia, Aleluia.'

Buddugoliaeth Maes Garmon. O. C. 430.

Pan glybu y Pictiaid a'r Saeson y llef hon, yr hon oedd wedi cynhyddu trwy adsain y mynyddoedd, hwy a ddychrynasant yn ddirfawr, a daflasant eu harfau i lawr, ac a ffoisant; a llawer o honynt a foddasant yn yr afon ag oeddent wedi groesi ychydig o'r blaen.* A'r Cymry, trwy ddaioni Duw, a gawsant fuddugoliaeth hollol ar eu gelynion heb dynu'r cleddyf o'i wain. Er fod yn hawdd cyfrif am y fuddugoliaeth ryfeddol hon, heb ddywedyd ei bod yn wyrthiol, mae yn amlwg i bob dyn ystyriol, fod llaw Duw yn gadarn gydâ'r Cymry.

Gwedi aros yn 'Mrydain dros ychydig amser, a llwyddo i ddychwelyd llawer o'r Morganiaid oddiwrth eu cyfeiliornadau, a dystawi y lleill, Garmon a Lupus a ddychwelasant i'w gwlad eu hun, gan ddiolch i Dduw am y caredigrwydd a'r llwyddiant a gawsent yn Mrydain.

Meibion Cynedda Wledig yn gorchfygu y Gwyddelod.

Y Gwyddelod, dan dywysiad Serigi Wyddel, yn parhau i oresgyn Gwynedd a glan môr Cymru, Cynedda Wledig a ddanfonodd rai o'i feibion i'w gyru hwynt ymaith. Gwedi llwyddo i orchfygu y Gwyddelod a'u gyru o'u preswylfeydd,

* Bede, L. I. Chap. 20.

CANT V.

Meibion Cynedda Wledig yn cael etifeddiaethau yn Nghymru.

feydd, meibion Cynedda Wledig a gawsant etifeddiaethau yn Nghymru, ac a'u galwasant yn ol eu henwau eu hunain. Tibion a fu farw yn ebrwydd yn ol y fuddugoliaeth hon, a Merion ei fab a gafodd ei etifeddiaeth ef, ac a'i galwodd hi Meirionydd. Arwystl a gafodd gantref Arwystli, yn sir Feirionydd; Caredig a yrodd y Gwyddelod o Gantref y Tyno Coch, ac a'i cafodd yn etifeddiaeth, ac a'i galwodd hi Caredigion.* Dunod a gafodd Gantref Dunodig yn sir Gaernarfon; Edeyrn a gafodd Edeirnion yn Mhowys; Mael a gafodd Maelienydd rhwng Hafren ag Wy; Dogfael a gafodd Dogfeilyn Dyffryn Clwyd; Rhufon a gafodd Rhufoniog, neu gantref Ystrad yn sir Dinbych; ac Oswal a gafodd Osweilin, lle y mae Croesyswallt yn awr.*

Caswallon Law Hir tywysog gogledd Cymru. O. C. 443.

Caswallon Law Hir,* pan gafodd oruch-lywodraeth gogledd Cymru, a aeth i sir Fon, lle yr oedd y Gwyddelod gwedi ffoi rhag meibion Cynedda Wledig, ac a'u gyrodd hwynt allan oddi yno, ac a laddodd Serigi Wyddel eu tywysog, â'i law ei hun. Gwedi gyrru y Gwyddelod o Fon, y Cymry a ymwrolasant, ac a'u gyrasant o bob man arall yn Ngwynedd; ac nid arosodd

neb

* Sir Aberteifi yn awr.

* Achau saint ynys Brydain. Archaiol. Vol. II. p. 607—613.

* Mab Einion Yrth ap Cynedda Wledig.

sib o honynt yn y wlad, ond y rhai a wnaethpwyd yn gaeth-weision. Caswallon Law Hir a adeiladodd eglwys yn y fan lle y cafodd y fuddugoliaeth ar ei elynion, ac a'i galwodd, Llan y Gwyddel;[a] yn awr Caergybi. O hyny allan, Caswallon Law Hir a breswyliodd yn ynys Fon; ac yr oedd olion ei lys i'w gweled yn ddiweddar yn agos i Lan Elian.[b]

CANT V.

Llys Caswallon.

Gwedi gorchfygu y Gwyddelod, daeth y Pictiaid, y Scotiaid, a'r Saeson, yn lluoedd i derfynau y Cymry; a bu newyn tôst yn y wlad mewn canlyniad i'r difrod a wnaethant. Yn y cyfnwr galarus hwn, y Cymry, yn lle ymadael â'u pechodau, a dychwelyd at yr Arglwydd, a geisiasant gymmorth gan y Rhufeiniaid; ac a ddanfonasant y llythyr galarus canlynol at Ætius, ag oedd yn rhaglaw yn Ffraingc.

Newyn yn Nghymru.

"At Ætius, ucheneidion y Brutaniaid. Ni "wyddom pa le i droi ein wynebau. Mae y Bar-"bariaid yn ein gwthio i'r môr, a'r môr yn ein "gyru yn ol at y Barbariaid; rhwng y ddau, "nid oes gennym ond dewis un o ddau angeu, "naill ai cymmeryd ein llyngcu gan y tonau, "neu ein dyfetha â'r cleddyf."[c]

Llythyr y Cymry at Ætius. O. C. 446.

Ond gan fod Ætius y pryd hyny yn rhyfela



[a] Achau saint ynys Brydain. [b] Rowland's Mon. Antiq. p. 147. [c] Gildas. Bede, L. I. Chap. 13.

CANT V.

â'r Hunniaid, ni's gallasai anfon un cynnorthwy iddynt.[a]

Yr Arglwydd yn tosturio wrth y Cymry.

Pan welodd y Cymry nad oedd un cymmorth dynol i'w gael, hwy a droisant eu wynebau at yr Arglwydd: a'r Arglwydd a dosturiodd, ac a wrandawodd eu griddfanau, ac a roddodd iddynt y fuddugoliaeth ar eu gelynion. Yn yspaid yr heddwch a fwynhasant mewn canlyniad i'r fuddugoliaeth hon, llifeiriodd y wlad o bob trugareddau angenrheidiol at gynhaliaeth a chysur dyn. Ond y Cymry, yn eu llwyddiant, a anghofiasant yr Arglwydd, a wrthryfelasant yn ddigywilydd yn ei erbyn, ac a lanwasant y wlad â'r pechodau mwyaf gwaradwyddus ac echryslawn.[b]

Tra yr oedd y Cymry yn myned yn mlaen yn anedifeiriol yn eu pechodau, ac yn sathru deddfau Duw yn ddi-arswyd, daeth y newydd fod eu hen elynion, y Pictiaid a'r Scotiaid, yn parotoi i oresgyn y wlad. Yn lle dychwelyd at yr Arglwydd, yr hwn oedd gwedi bod mor dda iddynt yn eu holl gyfyngderau, y Cymry a galedasant eu calonau, a anghofiasant eu sefyllfa beryglus, ac a barhausant yn eu hanufudd-dod a'u gwrthryfelgarwch yn erbyn Duw, nes iddynt dynu ar eu gwlad y barnedigaethau mwyaf echryslawn.[c]

Yn

[a] Bede, L. I. Chap. 13. [b] Gildas. [c] Ibid.

Yn yr amser trallodus hwn, pan oedd anwiredd yn amlhau, athrawiaeth Morgan a adfywiodd i'r fath raddau fel ag y barnodd yr eglwysi yn addas i anfon am Garmon yr ail waith i'w gwrthwynebu. Garmon, gwedi clywed am amgylchiadau terfysglyd eglwysi Brydain, a gydsyniodd â'u deisyfiad; a chan nad oedd yn gyfleus i'w hen gyfaill Lupus i ddyfod gydâg ef, cymmerodd Severus esgob Triers yn gydymaith.[a] Daeth Illtyd Farchog, a Chrallo,* neiaint Garmon, ac ereill o'i gyfeillion gydâg ef y pryd hyny i Frydain.[b] Gwedi dyfod a gweled cildynrwydd y Morganiaid, Garmon a wan-obeithiodd i'w hargyhoeddi trwy resymau, ac heb ystyried fod gan bob dyn hawl fel creadur rhesymol, i farnu drosto ei hun, efe a lwyddodd gydâ y llywodraethwyr gwladol i'w halltudio hwynt o'r wlad yn ol cyfraith Valentinian.[c] Trwy y weithred dra-arglwyddiaethol hon, cafodd eglwysi Brydain lonyddwch dros ychydig amser gan gyfeiliornadau Morgan.

CANT V.

Garmon yn dyfod yr ail waith i Frydain. O. C. 447.

Y Morganiaid yn cael eu halltudio.

Gwedi alltudio y Morganiaid, Garmon a sefydlodd

Q 2 ydlodd

[a] Bede, L. I. Chap. 21.

* Crallo a fu yn offeryn i gasglu Cynnulleidfa yn Ngwent, a galwyd hi Llangrallo.

[b] Achau saint ynys Brydain. [c] Cressy's Ch. Hist. B. IX. Chap. 12. Warner's Eccles. Hist. Vol. I. p. 24.

CANT IV.


ydlodd esgobion uniawn-gred yn eu lle hwynt; ac fel ag y byddai mwy o gydffurfiad rhwng eglwysi Brydain ag eglwysi Ffraingc, efe a ddygodd i mewn y ffurf o weddiau cyffredin ag oedd mewn ymarferiad y pryd hyny yn Ffraingc.* Ac nid oes hanes fod neb o'r derwyddon dychweledig yn gweinidogaethu byth ar ol hyn, yn eglwysi Brydain.

Garmon yn gwybod mai anwybodaeth oedd gwreiddyn yr holl annhrefn ag oedd y pryd hyny yn eglwysi Brydain, ac yn brofiadol o ddefnyddioldeb dysgeidiaeth i ehengu ac ardderchogi y cynheddfau dynol, a chynnorthwyo gweinidogion Crist i ddeall yr ysgrythurau, ac amddiffyn gwirioneddau yr efengyl, a benderfynodd i osod Athrofäau i fynu mewn amrywiol leodd yn Nghymru, fel ag y byddai i wyr ieuaingc gael eu hyfforddi mewn difinyddiaeth, ieithoedd, a'r celfyddydau, ac eglwysi Cymru gael athrawon duwiol a dysgedig, yn medru iawn ddosparthu gair y gwirionedd, a sefyll yn ddiysgog dros burdeb athrawiaeth a dysgyblaeth yr efengyl.

Athrofa Llan Illtyd.

I'r dyben hyn, Garmon a adferodd Athrofa Caer Worgorn, yr hon a ddystrywiasid gan y Gwyddelod yn amser Padrig, ac a osododd Illtyd ei nai yn athraw ynddi; a galwyd hi Bangor Illtyd,

* Warner's Eccles. Hist. Vol. I. p. 27.

Illtyd, ac wedi hyny Llan Illtyd fawr.[a] * Bu hon dros hir amser yn Athrofa flodeuog. CANT V.

Athrofa Llancarfan.

Gosododd Garmon Athrofa arall i fynu yn Llancarfan yn sir Forganwg, a Dyfrig Beneurog,† gwr duwiol a dysgedig o Abergwaun yn sir Benfro,[b] a gafodd ei ddewis i fod yn athraw ynddi.[c] Llawer o'r gwyr ieuaingc a ddygwyd i fynu yn yr Athrofäau hyn, oeddent yn addurniadau dysglaer yn eglwysi Crist yn eu hamser.

Yr oedd cynnulleidfaoedd cristianogol Cymru y pryd hyny yn cael eu galw yn Gorau,‡ ac yn cael eu gwahaniaethu yn ol enwau y personau ag oedd gwedi bod yn offerynol i'w sefydlu hwynt; megis côr Garmon, côr Dyfrig, a chôr Catwg. A phan sefydlwyd Athrofäau yn rhai o honynt, galwyd y rhai hyny yn Bangorau;§ megis Bangor Deiniol, Bangor Illtyd, ac ereill.[d]

Pan

[a] Achau saint ynys Prydain. Cam. Biog.

* Lantwit Major yn sir Forganwg.

† Dubricius the Golden headed. [b] Camb. Register, Vol. I. p. 240. [c] Archaiol. Vol. III. p. 4.

‡ Côr, a round or circle, a close, a choir, in a Church. Owen's Dic. V. Côr.

§ Bangor, The conspicuous, or principal row or circle, hyny yw, y Cylch uchel. Ban, uchel, a Cor, Cylch. Owen's Dic.

[d] Hoare's Notes on Giraldus.

CANT V.



Pan oedd Garmon ac ereill yn ymdrechu diwygio eglwysi Brydain, y llywodraethwyr gwladol, yn eu hanwybodaeth a'u byrbwylldra, oeddent yn penderfynu ar y mesurau a fu yn achos i'r Cymry golli y rhan oreu o'u gwlad.

Gwrtheyrn Gwrthenau. O. C. 448.

Gwrtheyrn Gwrthenau,* brenin Brydain, yn gweled fod brenhinoedd y Cymry yn cael eu lladd yn olynol, ac yn ofni y dialid arno, yntef am ladd Constans ag oedd yn frenin o'i flaen ef; ac yn clywed fod y Pictiaid a'r Scotiaid yn parotoi i ryfel yn ei erbyn, a alwodd yn nghyd dywysogion y taleithiau, a chwedi amlygu iddynt sefyllfa beryglus y deyrnas, a ddywedodd wrthynt; mai y peth gorau a allent wneuthur yn y cyfryw gyflwr oedd anfon at y Saeson am eu cynnorthwy yn erbyn y Pictiaid a'r Scotiaid. Y Cymry yn rhwydd-gred, ac yn fyrbwyll yn eu tymmer, heb ystyried y canlyniadau, a gydsyniasant â Gwrtheyrn, ac a anfonasant i Germany i ddeisyf cynnorthwy y Saeson,[a]

Y Cymry yn anfon am y Saeson.

Y Saeson yn hoffi gosod allan eu gwroldeb, ac yn hiraethu am drigfa yn ynys Brydain, a gydsyniasant â deisyfiad y Cymry, ac a anfonasant Hengist a Horsa, a llu lluosog o filwyr danynt, i gynnorthwyo y Cymry yn erbyn eu gelynion.[b]

Gwrtheyrn

* Vortigern:

[a] Bede, L. I. Chap. 14. [b] Bede, L. I. Chap. 15.

CANT V.

Gwrtheyrn a dderbyniodd y Saeson gydâ'r caredigrwydd mwyaf, ac a wnaeth wleddoedd iddynt dros lawer o ddyddiau.

Gwedi gorphen gwledda, a gwneuthur y darpariadau angenrheidiol, y Cymry a'r Saeson a aethant yn erbyn y Pictiaid a'r Scotiaid, ac a'u gorchfygasant, ac a'u hymlidiasant i'w gwlad eu hun.[a]

Y Cymry, gwedi cael y fuddugoliaeth ar eu gelynion, yn lle ymwroli, a danfon y Saeson ymaith, a ddyoddefasant iddynt breswylio yn ynys Thanet, lle y tiriasent gyntaf; ac a roisant genad i Hengist i adeiladu castell,* ac anfon am ychwaneg o filwyr. Gwrtheyrn hefyd yn llawn anlladrwydd, gwedi ysgaru ei wraig gyfreithlon, a briododd Rhonwen merch Hengist,† ac a roddodd

Gwrtheyrn yn priodi Rhonwen.

[a] Humfrey Lhuyd's Breviary.

* Gan nad oedd y Cymry yn foddlon i roddi etifeddiaeth i'r Saeson yn Mrydain, dywedir i Hengist ddeisyf ar Gwrtheyrn i roddi iddo gymmaint o dir ag a allasai amgylchynu â chroen ych. Gwedi cael ei ddeisyfiad, y Sais dichellgar a dorodd y croen yn gareion mân, â pha rai yr amgylchynodd gymmaint o dir ag oedd yn ddigonol i adeiladu castell arno. Galwyd y castell hwnw, Thong Castle, Caer y Garai. Verstegan, Chap. 5.

† Pan oedd Gwrtheyrn yn gwledda gydâ Hengist yn ei gastell, Rhonwen a ddaeth i'r wledd â chwpan aur llâwn o win yn ei llaw, ac wedi plygu ar ei chliniau ger bron y brenin, hi a roddodd y cwpan iddo, gan ddywedyd, '*Waes heal hlaford Cyning;*' hyny yw, Bydd iach arglwydd frenin.

CANT V.

odd wlad Kent yn nghyd âg Essex, Suffolk, a Middlesex, yn etifeddiaeth i Hengist.

Y Cymry yn diorseddu Gwrtheyrn, ac yn coroni ei fab.

Pan welodd y Cymry fod Gwrtheyrn mor ffafrol i'r Saeson, a bod y wlad mewn perygl o gael eu gorchfygu ganddynt, hwy a gytunasant yn unfryd i ddiorseddu Gwrtheyrn, a dewis ei fab Gwrthefyr yn frenin yn ei le ef.*

Gwrthefyr yn frenin, ac yn gorchfygu y Saeson.

Gwrthefyr wedi ei wneuthur yn frenin, a ymwrolodd; ac fel tywysog dewr a orchfygodd y Saeson mewn llawer brwydr. Difuddiodd hwynt hefyd o'r lleoedd a roddasid iddynt gan ei dad, ac a'u gyrodd hwynt i ynys Thanet, ac o'r diwedd a barodd i Hengist a'i filwyr i ddychwelyd i Germany.

Gwrtheyrn yn synu wrth weled gwyryf lân ar ei chliniau o'i flaen, ac yn anwybodus o iaith a defodau y Saeson, a ofynodd i'r cyfieithydd ag oedd wrth ei ochr, beth oedd ei deisyfiad hi. Y cyfieithydd a ddywedodd ei bod yn ddefod yn mhlith y Saeson wrth yfed at eu gilydd, i ddywedyd *washeil*, bydd iach; a'r hwn fyddo yn derbyn y cwpan i atteb, *Drynk-hail*, yf y iechyd. Pan ddyallodd Gwrtheyrn hyn, efe a ddywedodd wrth Rhonwen, 'Drynk-hail.' Yna hi a yfodd ychydig o'r cwpan, ac a'i rhoddodd i'r brenin, yr hwn, yn ol eu defod hwynt, a roddodd iddi gusan. Gwedi hyny hi a ymneilltuodd gydâ y parch mwyaf o bresennoldeb y brenin. O'r awr honno allan, Gwrtheyrn a hoffodd Rhonwen, ac yn fuan a'i priododd. Oddiwrth yr arferiad hyn o eiddo y Saeson, y daeth y ddefod i'r wlad hon o yfed Washeil ar nos galan gauaf; a dywedyd, 'Iechyd da i chwi,' wrth yfed cwrw, &c.

* Verstegan, Chap. 5.

Germany. Ond ni pharhaodd y llwyddiant hwn yn hir. Rhonwen yn llawn dial a gyflogodd ddyn i wenwyno Gwrthefyr, a'r Cymry yn eu penwendid a ail-ddewisasant Gwrtheyrn yn frenin.

CANT V.

Rhonwen yn gwenwyno Gwrthefyr.

Rhonwen gwedi llwyddo yn ol ei dymuniad, a ddanfonodd am Hengist ei thad; yr hwn, pan wybu pa fodd yr oedd pethau yn myned yn mlaen yn Mrydain, a ddaeth yma â phedair mil o filwyr gydâg ef. Gwedi deall nad oedd y Cymry yn foddlon iddo ddyfod, Hengist a ddanfonodd gennadau at Gwrthefyr i ddywedyd nad oedd ganddo ef un bwriad gelynol wrth ddyfod yma, ac y buasai yn dda ganddo gyfarfod â Gwrtheyrn a'r tywysogion mewn ffordd heddychol ac heb arfau. Cydsyniodd y brenin â deisyfiad Hengist, a chytunwyd i gyfarfod y mis Mai canlynol yn Stonehenge.

Rhagrith Hengist.

Hengist gwedi galw blaenoriaid y fyddin yn nghyd, a ddywedodd wrthynt ei fod ef dan rith o gyfeillgarwch i gyfarfod â Gwrtheyrn a thywysogion Cymru; ac mai ei fwriad ef oedd i ladd yr holl dywysogion a ddeuai gydâ Gwrtheyrn i'r wledd, fel na byddai y Cymry yn abl i'w wrthwynebu ef mwyach. Ac yna efe a roddodd orchymmyn i'r blaenoriaid ag oedd i ddyfod gydâg ef i gyfarfod Gwrtheyrn, i guddio cyllill hir, yn eu llewys, a phan rhoddai efe arwydd iddynt, i bob un o

CANT V.

honynt i ladd y Cymro a fyddai ar ei law aswy. A Hengist a orphenodd ei orchymmyn uffernol, trwy ddeisyf arnynt 'i ymddwyn fel dynion, a pheidio dangos trugaredd i neb ond i'r brenin yn unig.'

Brad y gyllell hir.

Er mor aml yr oedd y Cymry gwedi cael eu siomi yn y Saeson, y tywysogion a aethant yn ddiarfog i'r cyfarfod; a Hengist, dan liw o gyfeillgarwch a hyder, a osododd Sais a Chymro i eistedd bob yn ail, wrth y bwrdd. Gwedi gwledda yn llawen gydâ'u gilydd dros ychydig amser, Hengist a roddodd yr arwydd i'w gyfeillion. Ar y munudyn hyny, pob Sais a dynodd allan ei gyllell, ac a'i brathodd yn nghalon y Cymro ag oedd yn eistedd nesaf atto. Syrthiodd y dydd hwnw dros dri chant o uchel foneddd y Cymry, a'r dynion mwyaf enwog yn y cyngor, neu ar faes y gwaed.[a]

Y Saeson paganaidd yn erlid y cristianogion.

Y Saeson gwedi lladd cynnifer o'r dynion doethaf a gwrolaf yn mhlith y Cymry, a ymgryfhausant; ac yn mhen ychydig o amser, a ennillasant yn ol y lleodd a gollasent yn nyddiau Gwrthefyr.[b] Cymmaint oedd eu gelyniaeth yn erbyn y cristianogion, fel ag y tynasant i lawr lawer o eglwysi, ac a laddasant luaws mawr o weinidogion

[a] Verstegan, Chap. 5. Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 79—90.

[b] Verstegan, Chap. 5.

weinidogion yr efengyl. Llawer o gristianogion Brydain, o blegid creulonder y Saeson paganaidd, a ffoisant i wledydd tramor, ac ereill gwedi eu gyru o'u cartref-leodd, a grwydrasant ar y mynyddoedd, ac mewn coedydd ac anialwch, yn newynog ac yn noeth, ac yn agored i bob rhyw adfyd.[a] CANT V.

Yn yr amser terfysglyd hwn pan oedd barn Duw gwedi gorddiwes y Cymry, a'r Saeson paganaidd yn difrodi y wlad, Garmon fel milwr da i Iesu Grist, a safodd yn wrol o blaid y ffydd a roddwyd un waith i'r saint. Ymarferodd bob diwydrwydd i gadarnhau y duwiolion yn y gwirionedd, ac i helaethu terfynau teyrnas Emmanuel.

Dyfrig ag oedd yn athraw Athrofa Llancarfan,* a gafodd ei gyssegru gan Garmon yn esgob yn Llandaf, lle yr oedd eglwys gristianogol er dyddiau Lleirwg tywysog Siluria. Pan gyssegrwyd Dyfrig yn esgob Llandaf, Catwg ddoeth, mab Gwynlliw arglwydd Gwynllwg yn Morganwg,† a gafodd ei ddewis yn athraw athrofa

Garmon yn cyssegru Dyfrig yn esgob Llandaf. O. C. 450.

R 2

a Clarke's Martyrology, p. 352.

* Fe ddywedir mai yn y Garnllwyd yr oedd Dyfrig yn byw tra y bu yn athraw athrofa Llancarfan; ac y mae ffynnon yno fyth, a elwir Ffynon Dyfrig.

† Catwg oedd y mab hynaf, ond efe a roddodd i fynu y bendefigaeth, ac a ddewisodd fod yn wr o ddysg a duwioldeb.

CANT V.

Catwg yn athraw athrofa Llancarfan.

athrofa Llancarfan yn ei le ef. Fe ddywedir fod Catwg yn wr o ddoethineb a duwioldeb mawr, a'i fod yn chwech ugain mlwydd oed pan y bu efe farw. Yr oedd gan Dyfrig y fath barch i Gatwg, fel ag y cymmerai efe ef i bob man, ac ar bob achos ag y byddai eisiau cyngor a chynnorthwy. Yr oedd Catwg yn un o'r prydyddion goreu yn ei amser; a chymmaint oedd ei glod am ei ddoethineb, fel ag yr oedd ei gynghorion, a'i ymadroddion, a'i ddiarhebion yn hyspys trwy yr holl wlad.[a] Mae amrywiol eglwysi gwedi eu cyssegru i'r sant hwn yn Nghymru.*

Plant Brychan Brycheiniog.

Plant Brychan Brycheiniog, gwedi cael eu dwyn i fynu mewn dysgeidiaeth, a aethant oddi amgylch i hyfforddi eu cydwladwyr yn egwyddorion y grefydd gristianogol, a'u hannog i ddychwelyd oddiwrth eu ffyrdd drygionus at yr Arglwydd.[b] Llawer o honynt a fuant yn llafurus a llwyddiannus yn ngwinllan Duw, ac a seliasant y gwirionedd â'u gwaed. A chan eu bod mor enwog yn eu dydd, a chynnifer o eglwysi gwedi

[a] Archaiol. Vol. III. p. 2.

* Megis, Llan Gatwg Crug Hywel, yn sir Frycheiniog; Llan Gatwg Glyn Nedd, yn sir Forganwg; a Llan Gatwg dyffryn Wysg, Llan Gatwg Meib Ionafel, a Llan Gatwg Lenig, yn sir Fynwy.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 61.

gwedi eu cyssegru iddynt, y maent yn deilwng o sylw yr haneswr. CANT V.

Cynog oedd yn llafurio yn sir Frycheiniog, a chafodd ei ferthyru gan y Saeson mewn lle a alwyd o hyny allan, Merthyr Cynog. Y mae eglwys hefyd yn sir Drefaldwyn, ac un arall yn sir Gaerfyrddin gwedi eu galw yn ol enw y sant hwn.[1] Cyflewyr a laddwyd gan y Saeson yn sir Aberteifi, ac yno y claddwyd ef. Yr oedd Dingad yn un o gynnulleidfa Catwg, ac yn gwasanaethu eglwys yn Ngwent; yn y fan, o bosibl, ag a elwir yn bresennol, Llan Ingad. Yn sir Fynwy yr oedd eglwys Arthen, a'r Saeson yn eu llidiawgrwydd a'u dystrywiasant hi; ond Arthen a ffodd yn ddiangol i Manaw,* lle y treuliodd weddill ei ddyddiau, ac y gorphenodd ei yrfa mewn heddwch. Clydog oedd yn gweinidogaethu yn sir Henffordd, ac yno y lladdwyd ef gan y Saeson paganaidd. Rhawin a gafodd ei ferthyru hefyd gan yr un gelynion, ac a gladdwyd yn Lincoln. Yr oedd eglwys yn Manaw, gwedi ei chyssegru i'r sant hwn; ond nid oes hanes ei fod ef wedi bod yn gweinidogaethu yno. Cledwyn a sefydlodd eglwys yn Nghymru, ond nid oes dim hanes yn mha le, neu pa fodd y bu efe marw. Ni ddywedir dim am lafur Rhun, na Rhain, ond i'r cyntaf gael ei ladd gan y Saeson wrth

Cynog. Cyflewyr. Dingad. Arthen. Clydog. Rhawin. Cledwyn. Rhun. Rhain.

[1] Achau saint ynys Brydain. Cam. Biog. * Isle of Man.

CANT V.

Pasgen. Neffei. Pabiali. Cynbryd. Cynfran. Dogfan. Dyfnan. Cadog. Mathaiarn. Gerwyn. Cynin. Dyfrig.

wrth bont Rhun, a'r ail gael ei osod i farwolaeth yn Lloegr, lle yr oedd yn preswylio. Pasgen, Neffei a Pabiali, a aethant i'r Hispaen, ac a fuant yn ddefnyddiol i ledu achos Crist yn y wlad honno. Cynbryd a fu yn offerynol i sefydlu eglwys yn Nghymru, ac a ferthyrwyd gan y Saeson. Y mae eglwys Cynfran yn Llysfaen, yn agos i Abergele yn Ngwynedd. Y mae ffynnon yno hefyd a elwir Ffynnon Cynfran, yr hon a dybir ei bod yn rhinweddol i iachau anifeiliaid afiach.* Doewan, neu Dogfan oedd yn gweinidogaethu yn Nyfed, ac a gafodd ei ferthyru gan y Saeson, mewn lle a elwid gynt Merthyr Dogfan. Yr oedd Dyfnan yn llafurio yn sir Fôn, yn y lle a elwir yn bresennol Llan Dyfnan. Dyfnan a gladdwyd yn yr Iwerddon. Cadog gwedi bod yn ddiwyd dros amser yn y wlad hon, a aeth i Ffraingc, lle y bu efe farw. Y mae Llan Gadog fawr yn sir Gaerfyrddin, gwedi ei galw yn ol ei enw ef. Mathaiarn a fu farw yn sir Aberteifi; a Gerwyn a laddwyd yn ynys y Gerwyn; ac y mae eglwys gwedi ei chyssegru iddo yn Nghornwal. Yr oedd Cynin yn esgob yn Llan Gynin yn sir Gaerfyrddin; ac oddi wrtho ef y cafodd y plwyf hwnw ei enw. Y mae rhai awdwyr yn meddwl mae mab Brychan oedd Dyfrig

* Wrth offrymu wrth ffynnon Cynfran, arferent y weddi hon, 'Rhad Duw, a Chynfran lwydd ar y dâ!' 'The grace of God, and the blessed Cynfran on the cattle!'

CANT V.

Dyfrig esgob Llandaf; ond ereill a dybiant mai yn Abergwaun y ganed Dyfrig Beneurog, a'i fod yn hyfforddi gwyr ieuaingc yno cyn iddo gael ei alw i Lancarfan. Hychan oedd weinidog yn Llanhychan yn sir Dinbych. Y mae eglwys yn sir Henffordd gwedi ei chyssegru i Lechau; fe allai mai yno yr oedd efe yn gweinidogaethu. Yr oedd Nefydd * yn esgob yn ngogledd Brydain, lle y cafodd ei ladd gan y Pictiaid a'r Saeson. Y mae Llan Nefydd yn sir Dinbych gwedi ei chyssegru i'r sant hwn.[a] Hychan. Lechau. Nefydd.

Yr oedd merched Brychan Brycheiniog hefyd, yn wragedd rhinweddol iawn, a dangosasant lawer o sel dros lwyddiant yr efengyl yn eu dyddiau. Rhai o honynt a ferthyrwyd gan y Saeson paganaidd, ac y mae yr eglwysi a gyssegrwyd iddynt yn bytholi eu coffadwriaeth hwynt, yr un modd a'u brodyr yn mhlith cenedl y Cymry. Merched Brychan.

Mechel † a briododd Ynyr o Gaer Cawch yn sir Benfro, ac y mae eglwys gwedi ei chyssegru iddi hi yn sir Fôn, a elwir Llan Fachell. Yn Nghaerloyw, y mae eglwys Hawystl. Enfail a gafodd Mechel. Hawystl Enfail.

* Mae yn fwy tebygol mai wyr Brychan, ac nid ei fab oedd Nefydd.

[a] Achau saint ynys Bryd. Cam. Biog.

† Mam Non fendigaid, mam Dewi.

CANT V.

Goleuddydd. gafodd ei merthyru gan y Saeson, ac a gladdwyd mewn lle a alwyd yn ol hyny, Merthyr Enfail. Yr oedd eglwys Goleuddydd yn y lle a elwir yn bresennol, Llan Ysgin yn Ngwent. Y mae dwy

Ceinwen. eglwys yn sir Fôn gwedi eu cyssegru i Ceinwen.

Tybiau. Tybiau a laddwyd gan y Saeson, ac y mae eglwys gwedi ei chyssegru iddi hi yn sir Gaerfyrddin, lle y mae yn debygol y cafodd hi ei lladd. Y

Clydau. mae eglwys Clydau, yn sir Benfro; ac oddiwrth y wraig hon y cafodd y plwyf hwnw ei alw felly.

Tudfyl. Tudfyl, yn nghyd â rhai o'i brodyr, a aeth i Forganwg i gyfarfod â'i thad pan oedd efe yn hên. Tra yr oeddent yno, y Saeson a ruthrasant arnynt, ac a laddasant Tudfyl; a galwyd y fan honno, Merthyr Tudfyl, hyd heddyw.[a]

Yr oedd llawer o ddynion enwog y pryd hyn yn Nghymru, heblaw plant Brychan Brycheiniog; ac y mae enwau rhai o honynt gwedi cael eu trosglwyddo lawr i'n hamser ni.

Mor. Mor, ab Ceneu ab Coel Godebog, oedd wr cymmeradwy yn Ngwynedd, ac y mae eglwys Llanfor yn Penllyn, yn sir Feirionydd, gwedi ei chyssegru iddo. Yr oedd gan For fab duwiol,

Cynllo. a'i enw Cynllo, yr hwn a gyflwynodd ei hun i waith y weinidogaeth, ac a fu yn llafurus yn sir Aberteifi, a lleodd ereill. Y mae dwy eglwys yn sir Aberteifi gwedi eu cyssegru iddo, ac un arall

[a] Achau saint ynys Brydain. Cam. Biog.

mll yn sir Faesyfed. Yn nghylch yr amser hyn Cynfarch a sefydlodd eglwys Llangynfarch yn Maelor; yr hon a fu yn flodeuog hyd oni ddystrywiwyd hi gan y Saeson, yn ymladdfa perllan Bangor.

CANT V.

Cynfarch.

Gynyr o Gaer Cawch yn sir Benfro, yr hwn a briododd Mechel merch Brychan Brycheiniog, oedd bendefig duwiol ac elusengar iawn, yn llawn sel dros ogoniant Duw, a daioni eneidiau. Efe a roddodd ei holl dir yn sir Benfro i gynnal crefydd Crist;[a] ac y mae y rhan fwyaf o'r tir hwnw yn meddiant yr eglwys hyd y dydd heddyw.

Haelioni Gynyr.

Pawl Hen * gwedi cael ei ddwyn i fynu yn athrofa Illtyd, a aeth oddi amgylch i bregethu yr efengyl; ac a sefydlodd athrofa yn y Tŷ Gwyn ar Dâf yn sir Gaerfyrddin, a gosododd Fflewyn a Gredifel, meibion Ithel Hael, yn athrawon ynthi. Bu hon yn athrofa flodeuog dros hir amser, a lluaws mawr o ddynion defnyddiol a gawsant eu dwyn i fynu ynthi. Yr oedd Fflewyn yn wr cymmeradwy iawn yn ei ddydd, ac y mae eglwys gwedi ei chyssegru iddo yn sir Fôn.[b]

Pawl Hen yn sefydlu Athrofa yn y Tŷ Gwyn ar Daf.

O. C. 480.

S Yn

[a] Achau saint ynys Brydain. Cam. Biog.

* Paulinus.

[b] Achau saint ynys Brydain. Cam. Biog.

CANT V.



Yn fuan gwedi i dywysogion Cymru gael eu lladd gan y Saeson yn Stonehenge, Gwrtheyrn, yn llawn cywilydd a gwarth, a giliodd i barthau anial Cymru; lle yr adeiladodd efe gastell * i amddiffyn ei hun rhag cynddaredd ei elynion. Fel ag yr oedd Gwrtheyrn gwedi bod yn offeryn i ddwyn y Saeson i Frydain, ac i ddifuddio y Cymry o oruchafiaeth yr ynys, da oedd gan bawb ei weled yn myned ymaith. A'r Cymry a gytunasant yn unfryd i anfon am Emrys Wledig,† yr hwn oedd gwedi ffoi i Ffraingc ar farwolaeth ei frawd Constans. Emrys Wledig, wedi tirio yn ddihangol yn Mrydain, a gafodd ei goroni yn frenin; ac i'r dyben i ddial gwaed ei frawd, a chadarnhau ei hun ar orsedd Brydain, efe a ymlidiodd ar ol Gwrtheyrn, ac a'i goddiweddodd ef yn ei gastell. Gwedi amgylchynu y castell, y milwyr a'i gosodasant ar dân, a Gwrtheyrn, yn nghyd â phawb ag oedd ynddo, a losgwyd yn ulw.[a]

Emrys Wledig.

Gwrtheyrn yn cael ei losgi.

O. C. 481.

Yr oedd Emrys Wledig yn dywysog poblogaidd iawn yn mhlith y Cymry; a'r bobl a gyrchent

* Mae yn anhawdd penderfynu pa le yr oedd y Castell hwn. Rhai a dybiant mai yn agos i Raiadr Wy yr oedd. Mae ereill yn meddwl mai y Castell Gwrtheyrn ag sydd ar lan Teifi, yn agos i Landysil, oedd. Ac y mae ereill yn meddwl mai yn Ngwynedd yr oedd.

† Ambrosius.

[a] Warrington's Hist. Wales. Vol. I. p. 92, 93, 94.

CANT V.

est yn llwnoedd i ymladd tano. Pan gafodd rifedi digonol o filwyr, Emrys Wledig a aeth yn erbyn y Saeson, ac a addunedodd, os rhoddai yr Arglwydd hwynt yn ei law ef, yr adeiladai, ac yr adgyweiriai efe yr eglwysi ag oeddent hwy gwedi dynu i lawr. Yr Arglwydd a wrandawodd arno, ac a roddodd iddo fuddugoliaeth hollol ar ei elynion. Hengist a ddaliwyd, ac a osodwyd i farwolaeth; a'i fab Octa a ffodd i Gaer Efrog.[a]

Marwolaeth Hengist.

Emrys Wledig heb golli amser, a warchaeodd Gaer Efrog; ac Octa, yn anabl i'w wrthwynebu, a roddodd i fynu y ddinas, ac a ddaeth allan at Emrys Wledig, â chadwyn yn ei law, a llwch ar ei ben, ac a ddywedodd wrtho, 'Y mae ein duwiau ni gwedi eu gorchfygu. Dy Dduw di, O frenin, sydd yn teyrnasu, ac efe a wnaeth i mi attolygu dy drugaredd di.' Pan welodd Emrys Wledig ostyngeiddrwydd Octa, efe a faddeuodd iddo; ac a ganiataodd iddo ef a'i wyr, i breswylio yn y rhan honno o Loegr ag sydd ar gyffiniau Scotland.[b]

Gwedi gorchfygu y Saeson, Emrys Wledig, yn ol ei addunied, a adgyweiriodd yr eglwysi a ddinystriasid gan y gelynion; ac a roddodd bob cynnorthwy ac annogaeth i weinidogion yr efengyl,

Emrys Wledig yn adgyweirio yr eglwysi.



[a] Warrington's Hist. Wales, p. 96. Lewis's Hist. Brit. p. 169. [b] Ibid. p. 172.

CANT V.

engyl, i gadarnhau eu heglwysi mewn ffydd, gobaith, a chariad; ac i helaethu gwybodaeth o Grist trwy yr holl wlad. Dan deyrnasiad y brenin enwog hwn, y Cymry a fwynhausant raddau mawr o lwyddiant, llonyddwch, a llawenydd.[a]

Tri archesgobaeth Brydain.

Fe ddywedir fod tri o archesgobaethau y pryd hyn yn Mrydain: archesgobaeth Llundain, archesgobaeth Caer Efrog, ac archesgobaeth Caer Lleon ar Wysg.[b] Ar farwolaeth Treminius archesgob Caerlleon ar Wysg, Emrys Wledig, trwy gydsyniad yr holl bobl, a osododd Dyfrig, esgob Llandaf, yn archesgob yn y ddinas hono.[c] Ar symudiad Dyfrig i Gaerlleon ar Wysg, Teilo mab Enlleu,* a gafodd ei gyssegru yn esgob Llandaf yn ei le ef. Yr oedd Teilo gwedi cyflwyno ei hun yn ieuangc i'r Arglwydd, ac yn wr enwog iawn mewn duwioldeb. Cafodd ei ddwyn i fynu dan oruchwyliad Dyfrig yn un o'r athrofäau a sefydlasid gan y gwr duwiol a llafurus hwnw;† a thrwy ei ddiwydrwydd a ddaeth yn ysgolhaig ardderchog.[d]

Dyfrig yn archesgob Caerlleon ar Wysg.

Teilo yn esgob Llandaf.

Pan

a Lewis's Hist. Brit. p. 172. b Archaiol. Vol. II. p. 3.

c Usher de Eccles. Brit. p. 72, 79. Lewis's Hist. Brit. p. 172.

* Teilo, ab Enlleu, ab Hydwn Dwn, ab Caredig, ab Cynedda Wledig.

† Dyfrig a sefydlodd ddwy athrofa yn agos i'r afon Wy; ac y mae yn debygol fod un o honynt yn y lle a elwir Gwenddwr, yn sir Frycheiniog. Jones's Hist. Breck. Vol. I.

d Brit. Sancta, Vol. I.

CANT IV.

Pan oedd y dwymyn fèlen yn difrodi y wlad, Teilo, yn nghyd â llawer o'i gydwladwyr, a aethant drosodd i Ffraingc, a chwedi aros yno saith mlynedd, a ddychwelasant i Gymru. Teilo gwedi bod yn llafurus dros lawer o flynyddoedd i daenu gwybodaeth o Grist, a fu farw yn llawn dyddiau yn Llandeilo fawr yn sir Gaerfyrddin.[a] Y mae llawer o eglwysi yn neheubarth Cymru gwedi eu cyssegru i'r sant hwn.[*] Os nid efe fu yn offerynol i sefydlu eglwysi yn y lleodd ag sydd gwedi eu galw yn ol ei enw, y mae yn dra thebygol iddo fod yn pregethu ynddynt oll.[†]

Yr eglwys gadeiriol oedd eglwys plwyf yr holl esgobaeth y pryd hyny; ac yr oedd yr holl daleith yn mha un yr oedd yr esgob yn blaenori, yn cael eu galw yn blwyf; megis plwyf Teilo, a phlwyf Dewi.[b] Yn y plwyfau hyn yr oedd amrywiol gorau neu gynnulleidfaodd, a chanddynt

[a] Godwin's Catal. of Eng. Bishops, p. 516.

[*] Megis, Llandeilo fawr, Llandeilo Creseni, Llandeilo Ferwallt, Llandeilo Glyn Llychwr, Llandeilo Aber Cowyn, a Llandeilo Berth Oleu.

[†] Y mae yn Jesus College Rhydychen, ac hefyd yn y British Museum yn Llundain, adysgrifen yn y iaith Gymraeg, o'r Siartr cyntaf Llandaf, yr hwn a roddwyd i Teilo pan oedd efe yn esgob yr esgobaeth honno. Y mae un hefyd gan Mr. Ed. Williams, Bardd wrth fraint a defod Beirdd Ynys Brydain.

[b] Jones's Hist. Breck. Vol. I. p. 214.

CANT V.

chanddynt weinidogion sefydlog, y rhai a elwid rai troion yn esgobion. Yr oedd yr esgobion taleithiol y pryd hyny ynaml yn myned oddi amgylch i'w plwyfau, neu esgobaethau, i hyfforddi'r annyallus, ac i ymweled â'u brodyr, yn nghyd â'u cynnulleidfaodd. Dywedir fod Teilo yn ddiwyd iawn yn y gorchwyl hwn, a gelwid ef yn un o'r tri ymwelwyr ynys Brydain;* o blegid ei fod yn myned oddi amgylch i bregethu yr efengyl, heb gymmeryd na rhodd na gwobr.ᵃ

Diwydrwydd Teilo.

Merddin.

Yn nyddiau Emrys Wledig yr oedd bardd enwog a'i enw Merddin Emrys,† yr hwn oedd yn wr dysgedig, yn neillduol yn y celfyddydau. Merddin Emrys a anwyd yn Nghaerfyrddin,‡ a chyfrifid

* Dewi, a Phadarn oedd y ddau arall.

ᵃ Archaiol. Vol. II. p. 61.

† Yn y chwechfed cant yr oedd Merddin Wyllt o Scotland yn byw. Yr oedd hwnw hefyd yn fardd enwog yn ei ddydd.

‡ Y mae rhai yn meddwl mai oddiwrth Merddin y cafodd Caerfyrddin ei galw felly. Ond y mae yn fwy tebygol mai oddiwrth Gaerfyrddin y cafodd Merddin ei enw, oblegid iddo gael ei eni yn y dref hono. Yr oedd Caerfyrddin yn cael ei galw felly gan y Rhufeiniaid ac ereill rai cannoedd o flynyddoedd cyn geni Merddin. Y mae y gair Caerfyrddin, yn cael ei wneuthur i fynu o dri gair; sef, Caer, a city, Mur, a wall, a Din, what surrounds; hyny yw, Dinas gwedi ei hamgylchynu â mur. Y mae yr enw Muridunum a roddid arni gan y Rhufeiniaid, yn cadarnhau yr un meddwl. Mae Giraldus Cambrensis hefyd, ag oedd yn byw yn y deuddegfed

CANT V.

dyfrifid ef yn brophwyd ardderchog yn yr amser gynt. Y mae llawer o'i ddywediadau dyrus ef yn bod hyd heddyw, ac yn rhoddi anesmwythder ar amserau i rai meddyliau gweinion a choel-grefyddol.

Y mae yn debyg fod praphwydoliaethau Merddin yn cael y fath effaith annymunol ar feddyliau dynion yn yr unfed cant ar bymtheg, fel ag y barnodd y gymmanfa a gyfarfu yn y cant hwnw yn ninas Trent yn Germany, yn addas i roddi gorchymmyn na ddarllenai neb mo honynt yn ol hyny.[a]

Mabon.

Yr oedd i Deilo frawd, a'i enw Mabon, yr hwn a gyflwynodd ei hun i waith y weinidogaeth, ag oedd yn sant enwog yn mhlith y Cymry yn nghylch yr amser hyn. Nid oes un hanes neillduol pa le yr oedd yn gweinidogaethu, ond y mae eglwys gwedi ei chyssegru iddo yn sir Dinbych, ac un arall yn Morganwg.

Y mae Duw yn gwneuthur yn ol ei ewyllys ei hun â llu y nefoedd ac â thrigolion y ddaear; a phan b'o ganddo waith i'w wneuthur, fe fedr alw y neb y myno i'w gyflawni. Er fod Gwrtheyrn yn

cant yn dywedyd fod Caerfyrddin yn ddinas gaerog. Caerfyrddin oedd prif ddinas deheubarth Cymru, ac yno y preswyliai brenhinoedd y rhan honno o Gymru, hyd oni chafodd ei dystrywio gan y Saeson. Gwedi hyny, Dynefawr oedd prif breswylfod brenhinoedd Cymru. Gwel Humfrey Lhuyd's Breviary, p. 44. Jones's Hist. Breck. Vol. I. p. 2.

[a] Lewis's Hist. Brit.

CANT V.



Edeirn. yn frenin annuwiol, ac yn offeryn i ddwyn dystryw mawr ar ei wlad, cafodd ei fab Edeirn yr anrhydedd o fod yn ddefnyddiol iawn yn eglwys Crist. Gwedi ei ddwyn i fynu yn athrofa Catwg yn Llancarfan, Edeirn a fu yn offerynol i godi cynnulleidfa luosog o gristianogion mewn llè yn sir Forganwg, a alwyd o hyny allan Llanedeirn. Gwrhir. Yn nghylch yr un amser yr oedd Gwrhir yn sant yn athrofa Catwg; ac y mae eglwys gwedi ei chyssegru iddo yn Llys Faen yn Gwaenllwg. Yr oedd Gwrhir yn fardd i Teilo, ac yn cael ei gyfrif yn un o'r dysgawdwyr goreu yn ei oes.

Elian. Elian Geimiad oedd wr llafurus yr amser hyn, ac y mae eglwys gwedi ei chyssegru iddo yn sir Fôn. Llyr. Yr oedd eglwys Llyr Mereini, mab Einion Yrth, ab Cynedda Wledig, yn Nyfed yn yr amser gynt; ond ni wyddom yn bresennol pa lwyddiant a gafodd yno. Madog. Madog Morfryn, tad Merddin Wyllt, a gafodd ei ddwyn i fynu yn athrofa Illtyd yn nghylch yr amser hyn, a gelwid ef yn un o'r tri hyfforddwyr bendigaid ynys Brydain.* a Er cymmaint o annhrefn fu yn Mrydain yn yspaid y cant hwn, yr oedd gan Dduw lawer o dystion ffyddlon yn yr ynys, y rhai a safasant yn wrol o blaid y gwirionedd, ac a fuant yn offerynol i daenu gwybodaeth o Grist yn mhlith y Cymry, a planu eglwysi crist'nogol lle nad oedd ond paganiaeth o'r blaen.

Y CHWECH-

* Catwg a Deiniol oedd y ddau arall. a Achau saint ynys Brydain, Camb. Biog.

## Y CHWECHFED CANT.

CANT VI.

Tyb Origen am reswm dynol.

ORIGEN, ac ereill yn y trydydd cant, a dybient mai ffrydiad o Dduw i'r enaid dynol yw y gynneddf o reswm, a'i bod yn cynnwys ynddi egwyddorion ac elfenau pob gwybodaeth ddynol a dwyfol; ac mai trwy ddystawrwydd, tawelwch, gorphwysdra, ac unigrwydd, yn nghyd â marwhad y corph, y mae i ddyn gynhyrfu yr egwyddorion hyn, a pheri iddynt ddwyn allan eu rhinweddau cuddiedig.[a] Llawer o gristianogion yn yr Aipht a lleodd ereill yn y dwyrain, gwedi cofleidio yr athrawiaeth hon, a ymadawsant â'u preswylfeydd a'u galwedigaethau bydol, ac i'r dyben i ddyrchafu eu heneidiau uwchlaw pob peth dynol, a'u huno â'r Duwdod mawr, a aethant i fyw i ogofau ac anialwch, lle y cospent eu cyrph trwy newyn a syched, ac yr ymostyngent i'r ddysgyblaeth mwyaf llym a allasai amgyffred dywyll ei bennodi iddynt.[b]

Gwedi byw flynyddoedd yn anialwch yr Aipht

T a lleodd

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 222.

[b] Ibid. p. 306.

CANT VI.

a lleodd ereill yn y dull unig ac anghysurus hyn, Antony yn y pedwerydd cant a ffurfiodd y cristianogion gweinion hyn, yn gorph rheolaidd, ac a'u rhwymodd hwynt i fyw mewn cymdeithasau, ac a roddodd iddynt reolau, wrth ba rai y gallasent ffurfio eu hymddygiadau. Yn ol trefn Antony yr oedd i bob cymdeithas flaenor a elwid Abad,* yr hwn oedd i ofalu am ei gymdeithas, a'i llywodraethu yn ol y rheolau gosodedig. Dyma ddechreuad y mynachod, y rhai a fu mor enwog trwy yr holl fyd cristianogol yn yr oesoedd canlynol.

Dechreuad y mynachod.

Cafodd y rheolau a wnaethpwyd gan Antony yn yr Aipht eu dwyn i mewn i wledydd ereill, ac mewn byr amser yr holl ddwyrain a lanwyd o fynachod dioglyd, y rhai, yn ymadael â'u perthynasau, a'u gorchwylion, a'u manteision dynol, a arweinient fywyd llawn o ddyoddefiadau i'r dyben (yn eu tyb hwynt) i fwynhau graddau helaethach o gymundeb â Duw a'r angylion.[a]

Gwedi i'r drefn hon lwyddo dros lawer o flynyddoedd yn y dwyrain, cafodd ei gosod i fynu yn y gorllewin; yn gyntaf yn yr Ital, wedi hyny yn Ffraingc; ac yn nechreuad y cant hwn, ymddangosodd i ryw raddau yn mhlith y Cymry. Yr oedd llawer o athrofäau y Cymry y pryd

hyn

* Abad yw Tad yn iaith yr Aipht.

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. I. p. 302.

hyn yn grefydd-dai hefyd, lle y byddai llawer o dduwiolion yn preswylio, heblaw y rhai ag oedd yn cael eu dwyn i fynu at y weinidogaeth. Ond er fod y rhan fwyaf o gristianogion Cymru y pryd hyn, yn preswylio yn nghyd yn gorpholaethau bychain dan olygiad rhyw esgob neu weinidog, lle y caent eu hyfforddi yn athrawiaethau yr efengyl, a'u hannog trwy gynghorion a siamplau da, i arwain bywyd sanctaidd; nid oeddynt yn esgeuluso eu galwedigaethau bydol, nac yn dirmygu y drefn a osodwyd gan Dduw, er cysur amserol ei greaduriaid. CANT VI.

Dunod fawr, mab Pabo, yr hwn oedd yn rhagori mewn gwybodaeth o gyfreithiau rhyfel, gwedi ei ddychwelyd at yr Arglwydd, a benderfynodd i drefnu moddion, trwy ba rai y gallasai efe, yn nghyd â'i gydwladwyr, ddwyn rhyfel yn mlaen yn erbyn pechod. I'r dyben hyn, efe a sefydlodd athrofa yn sir Fflint, dan nawdd Cyngen ab Cadell, tywysog rhan o Bowys. Gelwid yr athrofa hon, Bangor îs Coed, Bangor fawr yn Maelor, a Bangor Dunod.* Er fod llawer yn meddwl i Lleirwg tywysog Siluria, yn yr ail gant, osod athrofa i fynu yn Bangor îs Coed, nid oes dim sicrwydd o hyny. Mwy tebygol yw, mai Dunod oedd y cyntaf a sefydlodd athrofa yn y fan honno. Dywedir i'r athrofa hon gynhyddu

Dunod yn sefydlu athrofa yn sir Fflint.



* Achau saint ynys Brydain.

CANT VI. hyddu mewn amser byr i raddau helaeth iawn; a bod ynthi un cant ar hugain o saint, wedi eu dosparthu yn saith rhan; tri chant yn mhob rhan. Dywedir hefyd fod y rhai annysgedig yn eu plith, yn gweithio â'u dwylaw, ac yn darparu lluniaeth i'r brodyr ag oedd gwedi ymroddi i waith pwysfawr y weinidogaeth.[a] Yr oedd brawd gan Dunod fawr a'i enw Sawyl;[b] ac nid annhebygol yw, mai iddo ef y mae Llansawyl yn sir Gaerfyrddin gwedi ei chyssegru.

Sawyl.

Dechreuad esgobaeth Bangor. O. C. 516.

Mewn ychydig o flynyddoedd gwedi i Dunod fawr sefydlu Bangor îs Coed, Deiniol ei fab efa osododd athrofa i fynu yn Bangor yn sir Gaernarfon, lle y bu efe yn abad.[c] Ac mewn ychydig o amser Maelgwn Gwynedd, mab Caswallon law Hir a wnaeth yr athrofa honno yn esgobaeth; a Dyfrig a gyssegrodd Deiniol yn esgob ynddi. Deiniol oedd yr esgob cyntaf a fu yn Mangor.[d] Mae eglwys gwedi ei chyssegru i'r esgob hwn yn sir Aberteifi, un arall yn sir Benfro, ac un arall yn sir Fynwy. Nid oes un hanes neillduol am Gynwyl brawd Deiniol, ond ei fod yn gynnorthwy i'w dad i sefydlu athrofa Bangor îs Coed yn sir Fflint Y mae eglwys Cynwyl yn sir Gaerfyrddin gwedi ei chyssegru i'r sant hwn.

Cynwyl.

Arthur

[a] Humfrey Lhuyd's Breviary, p. 40. [b] Achau saint ynys Brydain. [c] Cam. Biog. [d] Brown Willis's Survey.

Arthur mab Meirig ab Tewdrig, a'r ugeinfed o Frân ab Llyr oedd dywysog Siluria yn nechreuad y cant hwn.[a] Yr oedd Arthur yn ŵr o gynheddfau cryfion, yn rhyfelwr dewr, ac yn rhoddi pob annogaeth i helaethu crefydd a dysgeidiaeth yn ei wlad. Y Cymry yn adnabyddus o ddaioni, doethineb, a rhinweddau milwraidd Arthur, a'i dewisasant ef mewn amser llawn o berygl, i fod yn frenin arnynt; a Dyfrig wedi ymgynghori â'r esgobion, a'i heneiniodd ef yn Frenin Brydain oll.[b]

CANT VI.

Arthur yn frenin Brydain oll.

O. C. 516.

Dywedir i Arthur pan goronwyd ef yn frenin, wneuthur gwledd yn Nghaerlleon ar Wysg, i holl frenhinoedd a thywysogion Brydain; a bod arch-esgobion Caerlleon ar Wysg, Llundain, a Chaer Efrog yno yn bresennol. Ar y dydd gosodedig, pan oedd yr holl wahoddedigion wedi dyfod yn nghyd, Dyfrig yr arch-esgob a osododd goron Brydain ar ben y brenin Arthur; ac wedi hyny y brenin Arthur a rodiodd i'r eglwys gadeiriol rhwng dau esgob, a phedwar brenin yn dwyn pedwar cleddyf o aur, yn myned o'i flaen ef. Gwenhwyfar y frenhines, hefyd, a ddycpwyd rhwng dau esgob arall i eglwys St. Julius, a phedair brenhines yn dwyn pedair colomen wen, yn myned o'i blaen hi. Gwedi addoli Duw yn yr eglwysi,

Coroni Arthur yn Nghaerlleon ar Wysg.

[a] Camb. Biog. V. Arthur. [b] Lewis's Hist. of Gr. Brit. p. 180.

CANT VI.



eglwysi, hwy a ddychwelasant i'r llys i giniawa, y gwyr wrthynt eu hunain, a'r gwragedd wrthynt eu hunain, yn ol arferiad yr hen Gymry ar y fath achosion. Ar ol ciniaw hwy a aethant allan i'r maes i ymarferyd eu nerth, a rhoddid gwobr i'r rhai a ragorent mewn ymarferiadau canmoladwy. Gwedi treulio tri diwrnod yn y dull hyn, y brenin Arthur ar y pedwerydd dydd a alwodd etto y tywysogion, yr esgobion, a phob gwr enwog ag oedd yn bresennol; ac a'i gwobrwyodd hwynt yn ol eu gwasanaeth; ac wedi hyny, efe a'u gollyngodd hwynt ymaith.[a]

Arthur, wedi ei goroni yn frenin, a aeth allan i ryfel â'r Saeson, y rhai a anrheithient y wlad mewn amrywiol fanau; ac a barhaodd yn wrthwynebwr llwyddiannus i awdurdod cynhyddol y Saeson, hyd yr anghydfod angeuol a gymmerodd le rhyngddo ef a Medrod, yr hwn a draws-feddiannodd ei goron, ac a wnaeth gyngrair â'r Saeson.[b]

Fel ag yr oedd y Saeson y pryd hyny yn baganiaid, ac heb un hawl gyfreithlon ganddynt i'r ynys hon, yr oedd achos Arthur yn cael ei ystyried yn achos Duw; a chan fod gan yr offeiriaid yn mhob oes, radd fawr o lywodraeth ar feddyliau y bobl, Dyfrig arch-esgob Caerlleon ar Wysg, pan na byddai achosion mwy pwysig yn

[a] Lewis's Hist. Great Brit. [b] Cam. Biog.

yn ei gadw gartref, a âi gydâg Arthur i ryfela â gelynion ei wlad. CANT VI.

Pan oedd Arthur yn myned i ryfela â'r Saeson yn agos i Gaer Baddon,* Dyfrig a annogodd y milwyr fel y canlyn. 'Fy nghydwladwyr cristionogol a dewr; y mae crefydd a gwladgarwch yn galw arnoch y dydd heddyw i ymegnio yn erbyn eich gelynion paganaidd, ag sydd mor ffiaidd gan Dduw a dyn. Os na wnewch hyd eithaf eich gallu i amddiffyn achos cyfiawn crefydd, chwi dynwch arnoch eich hunain waradwydd tragywyddol. A byddwch sicr, fod yr hwn a roddo ei fywyd yn ewyllysgar dros ei frodyr, fel Crist yn offrymu i Dduw aberth cymmeradwy; a gall hyderu y caiff trwy Grist faddeuant o'i bechodau, a choron o ogoniant tragywyddol mewn byd arall.'[a] Y milwyr gwedi cael y fath annogaeth gan eu harch-esgob, a ruthrasant ar eu gelynion, ac a'u gorchfygasant â lladdfa fawr.[b]

Cyfarchiad Dyfrig i'r milwyr. O. C. 518.

Er ei bod yn amser trallodus iawn yn Nghymru yn nyddiau Arthur, o blegid y rhyfeloedd aml ag oedd rhwng y Cymry a'r Saeson, yr oedd Duw yn dwyn ei waith yn mlaen, trwy gyfodi offerynau cymmwys, a bendithio eu hymdrechiadau i daenu yr efengyl trwy yr holl wlad.

Einion

* Bath. [a] Lewis's Hist. of Great Brit. p. 182. [b] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 110.

CANT VI.

Einion Frenin yn sefydlu athrofa yn Mhenmon a Henlli.

Einion Frenin o Lleyn, oedd dywysog duwiol, a llawn sel dros Dduw a'i achos yn yr amser hyn. Efe a sefydlodd athrofa yn Mhenmon yn sir Fôn, ac a osododd ei nai Seiriol yn brif athraw ynthi. Cyfrifid athrofa Seiriol yn Mhenmon, yn un o'r athrofäau mwyaf enwog yn y rhan honno o Wynedd. Heblaw y lluaws ag oedd yn dyfod iddi o amrywiol barthau Gwynedd, gwyr Llychlyn hefyd a gyrchent at Seiriol i gael eu hyfforddi yn y ffydd grist'nogol. Nid oedd Seiriol yn cyfyngu ei hun yn hollol i Benmon; yr oedd ganddo breswylfod hefyd yn ynys Seiriol, lle y byddai yn neilltuo ar amserau. Einion Frenin mewn cyssylltiad âg Emyr Llydaw, a sefydlodd athrofa neu grefydd-dŷ, hefyd yn ynys Enlli, yr hon, o blegid ei sefyllfa ynysol, a lanwyd mewn ychydig o flynyddoedd â dynion duwiol a dysgedig.[a] Yr oedd Einion Frenin yn byw yn Lleyn, yn y plwyf a elwir hyd heddyw, Llan Einion Frenin. Ac y mae ysgrifeniad * ar glochdŷ eglwys y plwyf hwnw, ag sydd yn dangos mai Einion a'i hadeiladodd.

Seiriol.

Meirion.

Yr oedd Meirion brawd Seiriol yn gweinidogaethu yn Llanfeirion.[b]

Yr

[a] Achau saint ynys Brydain.

* Lux totoi (i. e. toti genti) Aivini Odini, mihi, imo Ecclesiæ illi, Jesus est; Ut cameant (i. e. caveant) sui vivere ad Jedicen (i. e. Judicem) æternum; Istam (i. e. Ecclesiam) Encanus, Rex Waliæ fabricavit. Rowland's Mon. Antiq.

[b] Rowland's Mon. Antiq.

Yr oedd gan Bawl Hen fab a'i enw Peulan, yr hwn oedd wr enwog yn nghylch yr amser hyn. Pa un a bu yn gweinidogaethu yn sir Fôn ai peidio, y mae eglwys Llan Beulan, yn y sir honno, wedi ei galw yn ol ei enw ef.[a] CANT VI. Peulan.

Llewelyn, mab Tegonwy, a osododd athrofa i fynu yn y Trallwng; a chwedi bod yno rai blynyddoedd, efe a aeth i Enlli, lle y gorphenodd ei ytfa. Yr oedd gan Lewelyn frawd a'i enw Mabon, i'r hwn y cyssegrwyd Llanfabon yn sir Forganwg. Yn nghylch yr un amser, Cynfelyn mab Bleiddyd, a sefydlodd eglwys yn y Trallwng.[b] Y mae Llangynfelyn yn sir Aberteifi, gwedi ei chyssegru i'r sant hwn; ac nid annhebygol yw, iddo fod yn gweinidogaethu yno. Llewelyn. Mabon. Cynfelyn.

Yr oedd Cyngar mab Gwarthog yn weinidog llafurus a llwyddiannus yn y dyddiau hyn. Efe a fu yn offerynol i sefydlu eglwys mewn man yn sir Forganwg, a elwir yn awr Llangenys. Mae eglwys hefyd yn sir Fflint gwedi ei galw yn ol ei enw ef.[c] Hywgi mab Gliwys, a nai Catwg, oedd wr haelionus iawn yn ei ddydd. Efe a roddodd ei holl dir i gynnal crefydd; ac a dreuliodd y rhan ddiweddaf o'i fywyd yn Nghynnulleidfa Catwg.[d] Cyngar. Hywgi.

U Mae

[a] Achau saint ynys Brydain. [b] Ibid.

[c] Camb. Biog. [d] Ibid.

CANT VI.

Cynwyd. Mae Llangynwyd yn sir Forganwg gwedi ei chyssegru i Cynwyd Cynwydion, yr hwn oedd sant yn nghynnulleidfa Catwg, ac yn bregethwr diwyd a defnyddiol yn nghymmydogaeth Llangynwyd. Pedwar o feibion Cynwyd a gyflwynasant eu hunain i waith y weinidogaeth, ac a fuant yn ddynion defnyddiol yn eu hoes.

Talhaiarn. Talhaiarn o Gaerlleon ar Wysg, oedd fardd clodfawr, a christion enwog yn nechreuad y cant hwn. Efe a gyfansoddodd y weddi a arferid gan Orsedd Morganwg. Talhaiarn a fu yn gaplan i Emrys Wledig, a phan laddwyd y tywysog hwnw, efe a aeth yn feudwy, ac a fu byw yn sir Dinbych, mewn lle a elwir yn bresennol, Llanfair Talhaiarn.[a]

Tathan mab Amwn Ddu, brenin Graweg yn Llydaw, oedd aelod o gynnulleidfa Illtyd, ac a blanodd eglwys Llandathan yn sir Forganwg. Gwedi gweinidogaethu yno dros rai blynyddoedd, efe a ymadawodd dros ychydig, ac a sefydlodd athrofa yn Nghaer Went, yr hon a alwyd Bangor Dathan. Gwedi bod yn athraw yno ac yn gaplan i Ynyr Gwent, efe a ddychwelodd yn ol i Landathan yn ei henaint, ac yno y claddwyd ef.[b]

Bangor Dathan.

Mae eglwys Llanon yn sir Gaerfyrddin gwedi ei

[a] Cam. Biog. [b] Ibid.

eichyssegru i Non, merch Gynyr o Gaer Cawch yn sir Benfro, a mam Dewi. Yr oedd y wraig hon yn un o'r saint mwyaf enwog yn ei dydd. Yn agos i'r un amser yr oedd Dwywe, merch Gwallog ab Llênog, a gwraig Pabo yn byw. Melangell merch Cyfwlch, a fu yn offerynol i blanu eglwys mewn man yn sir Drefaldwyn, a alwyd o hyny allan, Pennant Melangell.*

CANT VI.

Non.

Dwywe.

Melangell.

Yr oedd trigolion Cymru a thrigolion Llydaw yn Ffraingc, fel un pobl, er pan sefydlodd rhai o'r Cymry yn y wlad honno, yn amser Macsen Wledig, ac y cafodd Cynan Meiriadog, tywysog Gwynedd, ei wneuthur yn frenin arnynt. Nai y brenin Arthur oedd Hywel, ag oedd y pryd hyn yn frenin Llydaw. Mewn canlyniad i'r pethau hyn, ac o blegid fod trigolion y ddwy wlad yn llefaru yr un iaith, yr oedd llawer o dramwy o un wlad i'r llall; a daeth llawer o ddynion duwiol a dysgedig yn y cant hwn, o Lydaw i Frydain, i gynnorthwyo eglwysi Cymru.

Trigolion Cymru a Llydaw yn un pobl.

Yn nechreuad y cant hwn, Cadfan mab Eneas Lydewig, o Lydaw, yn nghyd â Cynon, Ilar, Dochdwy, Padarn, Cristiolus, Rhystyd, Sulien, Tanwg, Trillo, Tegai, Llechyd, Twrog, Trinio, Sadwrn, Canna, ac ereill, a ddaethant i Gymru, ac a sefydlasant mewn amrywiol ranau o'r wlad; ac y mae eglwysi gwedi eu cyssegru i'r rhan

Cadfan a'i Gôr yn dyfod i Gymru.

U 2 fwyaf

* Camb. Biog.

CANT VI. fwyaf o honynt.[a] Bu y gwyr hyn yn foddion i helaethu achos Crist yn mhlith y Cymry i raddau helaeth.

Cadfan yn myned i ynys Enlli. Cadfan gwedi tirio yn Mrydain, a aeth i Enlli, ac a ddewiswyd yn athraw yr athrofa ag oedd yno. Cyfrifid Cadfan yn wr mawr o dduwioldeb a dysg; a bu ei athrofa yn Enlli yn flodeuog iawn. Mae Llangadfan yn sir Drefaldwyn gwedi ei chyssegru i'r dysgawdwr ardderchog hwn; ac y mae eglwys yn Nhowyn Meirionydd gwedi ei chyssegru iddo hefyd.[b]

Cynon. Aeth Cynon gydâ Chadfan i Enlli, ac a wnaethpwyd yn ganghellwr yn ei athrofa ef. Mae eglwys yn sir Drefaldwyn gwedi ei chyssegru i'r sant hwn; ac fe fu iddo eglwys hefyd yn sir Aberteifi. Gelwir y fan lle y bu yr eglwys honno, Capel Cynon, hyd heddyw.

Ilar. Nid oes un hanes pa le y sefydlodd Ilar, ond y mae eglwys yn sir Aberteifi gwedi ei galw yn ol ei enw ef; ac ysgatfydd mai yn Mhlwyf Llan Ilar yr oedd yn gweinidogaethu.

Dochdwy. Dochdwy a aeth gydâ Chadfan i Enlli, ac a wnaethpwyd yn esgob yno. Pan fu farw Cadfan, deisyfwyd ar Deilo esgob Llandaf, i fyned i Enlli i osod yr athrofa yno mewn trefn. A thra bu Teilo

[a] Achau saint ynys Brydain.

[b] Camb. Biog.

Teilo yn Enlli, Dyfrig a gyflawnodd ei le ef yn Llandaf.[a] CANT VI.

Padarn, mab Pedredin, ab Emyr Llydaw, a chefnder Cadfan, gwedi dyfod i Gymru, a aeth i athrofa Illtyd, lle yr urddwyd ef yn esgob. Gwedi bod flynyddoedd yn yr athrofa hon, Padarn a symudodd i sir Aberteifi; a Duw a lwyddodd ei weinidogaeth ef i sefydlu cynnulleidfa o chwech ugain o aelodau, mewn lle a alwyd o hyny allan, Llanbadarn fawr. Yr oedd Padarn yn wr o dduwioldeb, diwydrwydd, a haelioni mawr. Dywedir ei fod yn myned oddi amgylch i bregethu yr efengyl i bob graddau o ddynion, heb gymmeryd tâl na gwobr gan neb; a'i fod hyd eithaf ei allu yn ysgafnhau caledfyd a beichiau y tlodion. Dywedir i Badarn gael ei wneuthur yn arch-esgob, a bod Cynedyn ab Bleiddyd ab Meirion Meirionydd, yn offeiriad dano yn Llanbadarn fawr. Mae llawer o eglwysi gwedi eu cysegru i'r sant hwn heblaw Llanbadarn fawr.[b] Padarn.

Meibion Hywel Fychan ab Emyr Llydaw, oedd Cristiolus, Rhystyd, a Sulien. Cristiolus a sefydlodd yn sir Fôn, mewn lle a alwyd o hyny allan, Llan Gristiolus. Rhystyd a aeth i sir Aberteifi, ac a fu yn llafurio yn Llan Rhystyd; a dywedir ei fod dros ryw amser yn esgob Caerlleon Cristiolus. Rhystyd. Sulien.

[a] Cam. Biog. [b] Archaiol. Vol. II. p. 61. Achau saint ynys Brydain. Cam. Biog.

CANT VI. lleon ar Wysg. Aeth Sulien gydâ Chadfan, ac a sefydlodd yn Enlli.[a]

Tanwg. Tanwg, Trillo, Tegai a Twrog, meibion Ithel Hael, a sefydlasant yn Ngwynedd, ac a wnaethpwyd yn offerynau i godi cynnulleidfaodd yn y lleodd ag sydd gwedi eu galw yn ol eu henwau
Trillo. hwynt. Tanwg, yn Llan Danwg; Trillo yn
Tegai. Llandrillo; Tegai yn Llandegai; a Twrog yn
Twrog. Maen Twrog. Merch Ithel Hael hefyd oedd
Llechyd. Llechyd; ac y mae eglwys gwedi ei chyssegru
Trinio. iddi hi yn sir Gaernarfon. Trinio a aeth gydâ Chadfan i Enlli, ac y mae eglwys gwedi ei chyssegru iddo yn sir Drefaldwyn.[b]

Sadwrn. Yr oedd Sadwrn, mab Bicanys, a chefnder
Canna. Emyr Llydaw, yn nghyd â'i wraig Canna merch Tewdwr Mawr o Lydaw, yn hen iawn pan ddaethant i'r ynys hon. Ond gan fod cynnifer o'u perthynasau yn myned gydâ Chadfan y pryd hyny, a bod ei mab Crallo yn weinidog yn Llangrallo yn sir Forganwg, er ys blynyddoedd lawer, daethant hwythau i Gymru cyn eu marw. Nid oes dim hanes yn mhwy ran o'r wlad y sefydlodd Sadwrn a Channa ei wraig, na pha hyd y buont byw gwedi dyfod yma; ond y mae eglwys gwedi ei chyssegru i Sadwrn yn sir Fôn, ac un arall yn sir Gaerfyrddin; ac y mae eglwys Llan Ganna yn sir Forganwg wedi ei chyssegru i'w wraig Canna.

Yn

[a] Achau saint ynys Brydain. [b] Ibid. Cam. Biog.

CANT. VI.

Ynnghylch yr amser hyn, dechreuodd Dewi* fod yn enwog yn mhlith esgobion Cymru. Dewi oedd fab i Sandde ab Cedig, ab Caredig, ab Cynedda, o Non, merch Gynyr o Gaer Cawch yn sir Benfro.[a] Cafodd Dewi ei eni a'i fagu yn Mynyw,§ lle y mae Tŷ Ddewi yn bresennol. Yr oedd Dewi yn ofni Duw o'i ieuengctyd, a phan benderfynodd i gyflwyno ei hun i waith y weinidogaeth, cafodd ei osod dan olygiad Pawl Hen,† yn athrofa y Tŷ Gwyn ar Daf yn sir Gaerfyrddin. Dewi yn gydwybodol o'r angenrheidrwydd o ddysgeidiaeth i'r dyben i fod yn ddefnyddiol yn ei oes, a roddodd bob diwydrwydd i gyrraedd gwybodaeth helaeth o'r amrywiol ganghenau, yn mha rai yr oedd yn cael ei hyfforddi. Gwedi bod ddeng mlynedd yn myfyrio yn athrofa enwog y Tŷ Gwyn ar Daf, Dewi a gafodd ei anfon allan i bregethu yr efengyl; ac fel un gwedi ei alw a'i gymmwyso gan Dduw, i'r swydd bwysfawr honno, cafodd ei arddel i raddau helaeth, a'i wneuthur yn offerynol i blanu, ac adeiladu llawer o eglwysi.[b] Y mae pedair eglwys gwedi eu cyssegru iddo yn sir Faesyfed; dwy yn sir

Dewi.

Duwioldeb Dewi.

Diwydrwydd Dewi.

Llwyddiant Dewi.

* St. David. [a] Achau saint ynys Brydain. § Menevai yn y iaith Ladin.

† Er mae Fflewyn a Gredifel, oedd athrawon athrofa y Tŷ Gwyn ar Daf, yr oedd Pawl Hen yr hwn a'i sefydlodd ar y cyntaf, yn parhau i fod yn abad, neu yn flaenor ynthi.

[b] Brit. Sancta, Vol. I.

CANT VI.

sir Aberteifi; pedair yn sir Benfro; dwy yn sir Gaerfyrddin; tair yn sir Frycheiniog; un yn sir Forganwg; a thair yn sir Fynwy.[a] Wrth ystyried ei dduwioldeb, ei ddiwydrwydd, a'i sel, gellir penderfynu yn ddiogel, i lawer o'r eglwysi hyn gael eu planu ganddo ef ei hun. Ond er fod Dewi yn tramwy llawer trwy Gymru i bregethu yr efengyl i'w gydwladwyr, yn Mynyw yn sir Benfro, yr oedd ei breswylfod bennaf ef. Yno yr oedd ganddo athrofa ac eglwys flodeuog; a llawer o weision Duw a gyrchent atto i gael eistedd dan ei weinidogaeth yn y lle hwnw.[b]

Dechreuad esgobaeth Tŷ Ddewi.

Yr oedd y gymdeithas grefyddol ag oedd dan olygiad Dewi yn Mynyw, yn byw yn yr un lle, ac yn treulio eu hamser yn y dull canlynol. Codent y bore ar ganiad y ceiliog, a pharhaent mewn gweddiau a myfyrdod hyd oleu ddydd. Yna wedi cyfarfod ac addoli Duw yn gyhoeddus, pob un a âi allan at ei orchwyl. Gwedi treulio yr amser gosodedig wrth eu gorchwylion, dychwelent i'r athrofa, a threulient weddill y dydd mewn gweddiau, darllen ac ysgrifenu. Yn y prydnawn cyfarfyddent i addoli Duw, a pharhaent yn yr addoliad hyd dywyll nôs; yna swperent yn nghyd ar fara a llysiau. Yn ol swperu, treulient dair awr mewn myfyrdod a gweddi, ac wedi hyny aent i orphwys hyd y bore.[c]

Tra

[a] Cam. Biog. [b] Britannia Sancta, Vol. I. [c] Cressy's Church Hist. B. X. Chap. 11.

Tra yr oedd Dewi yn gweinidogaethu yn Mynyw, Dyfrig yr arch-esgob, a anfonodd at holl esgobion a gweinidogion Cymru, gan ddymuno arnynt i gyfarfod mewn cymmanfa yn Llanddewi brefi yn sir Aberteifi, i ymgynghori yn nghyd, pa fesurau i'w cymmeryd i'r dyben i ddychwelyd y Morganiaid i'r ffydd, a diddymu eu hathrawiaeth ag oedd yn awr yn dechreu adfywio ac ymdaenu yn y wlad.[a] CANT VI. Cymmanfa Llanddewi brefi. O. C. 519.

Ar y dydd gosodedig, cyfarfu yr esgobion a'r gweinidogion yn Llanddewi brefi; ac yr oedd yno gymmanfa luosog o bob graddau o ddynion, ond nid oedd Dewi esgob Mynyw, gwedi dyfod. Y gweinidogion ac ereill, yn adnabyddus o ddu wioldeb a doethineb Dewi, a anfonasant *Pawl Hen*, abad y Tŷ Gwyn ar Dâf, yn gennad *atto*, i ddymuno ei bresennoldeb a'i gynnorthwy yn y gymmanfa. Dewi, naill ai oddiar deimlad ostyngedig o'i anghymmwysder i orchwyl mor bwysfawr, ag oedd amddiffyn gwirionedd Duw mewn cymmanfa mor luosog; neu oddiar wybodaeth o'u bwriad i'w wneuthur ef yn arch-esgob, a wrthododd ddyfod. Pan fethodd ei hen athraw lwyddo gydâ Dewi, Dyfrig yr arch-esgob, a Deiniol esgob Bangor, a aethant atto i Mynyw, a thrwy daer ymbil, a lwyddasant gydâg ef i ddyfod i'r Gymmanfa.[b]



[a] Usher de Brit. Eccles. p. 474. [b] Ibid.

CANT VI.

Llawer yn pregethu yn Nghymmanfa Llanddewi brefi.

Yr oedd llawer o weinidogion wedi pregethu ar y pyngciau mewn dadl cyn i Ddewi ddyfod i'r gymmanfa; ond nid oedd y ddadl wedi ei phenderfynu. Dewi, gan hyny, ar ddeisyfiad y gweinidogion, a safodd i fynu, ac mewn pregeth ysgrythurol ac awdurdodol, a amddiffynodd y gwirionedd, ac a wrthbrofodd ddaliadau y Morganiaid yn y fath fodd goleu a nerthol, fel nad

Dewi yn dystewi y Morganiaid.

oedd ganddynt ddim i'w atteb. Dywedir i athrawiaeth Morgan ddiflannu yn Nghymru yn fuan yn ol cymmanfa Llanddewi brefi; ac na adfywiodd hi ddim drachefn yn y wlad hon dros oesoedd lawer.*

Dyfrig yn rhoddi fynu yr arch-esgobaeth i Ddewi.

Cyn diwedd y gymmanfa, Dyfrig, o herwydd ei oedran mawr, a roddodd i fynu yr arch-esgobaeth i Dewi; ac mewn cydffurfiad âg ymarferiadau camsyniol yr oes, a aeth i fyw bywyd mynachaidd yn ynys Enlli. Yr oedd y gwr duwiol a dysgedig hwn gwedi bod yn llafurus iawn yn ngwinllan Duw trwy ei holl fywyd, ac wedi llwyddo hefyd i daenu gwybodaeth o'r Atglwydd Iesu yn mhlith y Cymry, i raddau helaeth yn yr amser mwyaf peryglus. A chan ei fod yn awr yn analluog o blegid ei oedran i gyflawni dyledswyddau pwysfawr ei alwad oruchel, yn y modd ag y dymunasai; fel gweinidog doeth a da ag oedd yn chwennych daioni y praidd, efe a roddodd eu gofal hwynt i fynu i un ag oedd gwedi ei

* Usher de Brit. Eccles. p. 474.

ei gymmwyso gan y pen-bugail i'r swydd ardderchog honno. A chwedi byw dair blynedd yn Enlli, efe a fu farw yn llawn o ddyddiau,* ac a gladdwyd yn yr ynys honno.[a]

CANT VI.

Dyfrig yn marw yn Enlli.

Gan ei bod yn amser mor derfysglyd yn Nghymru yn y dyddiau hyny, llawer o'r duwiolion ag oedd yn bresennol yn nghymmanfa Llanddewi brefi, a fwriadasant i fyned gydâ Dyfrig i Enlli, fel ag y gallent addoli Duw mewn llonyddwch, heb ofni brâd na gwrthryfel y Saeson. Ond rhag iddynt gyfeiliorni, dymunasant gael cyngor Catwg, pa beth oedd oreu iddynt wneuthur. Catwg, yn llawn oedran a doethineb, a'u cynghorodd hwynt ar fesur cerdd,† i fod yn ddi-



* Dywedir fod Dyfrig yn saith ugain a chwech mlwydd oed pan fu efe farw.

[a] Cressy's Ch. Hist. B. X. Chap. 12.

† Cyngor Catwg i saint senedd Frefi:

Pan oedd saint senedd Vrevi
Yn ol gwiw bregeth Dewi
Wrth arch prynwn prophwydi
Yn myned i ynys Enlli,
Er ymwared o bob rhwystri
A hir gymhell cymhelri:
Yna dywedes Gybi
Pa vyd á geir yn ngweilgi,
Pa vwyd yn ymborth i ni
Yn nghanol y mor heli?
Catwg á ddywaid wrth
Ddewi
Val y gwnai y prophwyd Eli,
Duw á ro gynghor ichwi

Ar verodd a daiori
Goddevwch bob caleni
Nid ellir lles o ddiogi,
Trech doethineb no gwegi,
Trech llavur no dirieidi,
Dirwest a chred a gweddi
A orvydd ar bob cyvyngi,
Mil canhaws gan Dduw roddi
No chan ddyn diddim erchi,
O chredir llyvyr Generi,
Yr hwn à wiria ini
Ni chavas ddyn ei eni
Heb gael gan Dduw ei borthi,

CANT VI.

wyd yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, ac i ymostwng i'w ewyllys ef dan bob amgylchiad; gan fod yn hyderus y byddai i Dduw amddiffyn a gwaredu pawb a ddysgwylient wrtho yn llwybr eu dyledswydd.

Dewi yn cael ei gyssegru yn arch-esgob Cymru. O. C. 519.

—Dewi yn gweled fod yr holl esgobion yn unfryd yn eu dewisiad o hono ef i fod yn arch-esgob yn lle Dyfrig, a gydsyniodd â'u dymuniad hwynt, ac a gyssegrwyd i'w swydd. A chan fod Gynyr o Gaer Cawch, tad Non ei fam, gwedi rhoddi ei holl dir yn sir Benfro i'r eglwys, a bod Caerlleon ar Wysg yn ddinas boblog, llawn o derfysg, Dewi trwy gydsyniad y brenin Arthur ei nai, a'r holl esgobion, a drosglwyddodd y gadair arch-esgobaethol o Gaerlleon ar Wysg i Mynyw, yn sir Benfro, a galwyd Mynyw yn Dŷ Ddewi.[a]

Ni laesodd Dewi yn ei ymdrechiadau dros achos Duw wedi iddo gael ei urddo yn arch-esgob; ond fel milwr da i Iesu Grist, efe a ymegniodd i ddwyn yn mlaen adeiladaeth yr holl eglwysi,

Gwellwell Duw o'i addoli,
Gwaethwaeth y diawl o'i berchi.
Nag ovnwch à ddaw ichwi
Vwy no'r vwyalch yn nghelli
Nid ardd nid erddir iddi,
Nid llawenach neb no hi.
Archwn bawb i Dduw Celi

Arglwydd yr holl arglwyddi
Yr Iesu a'i bum weli
Ein dwyn drwy bob cyvrwystri,
A'i gael yn ganllaw ini
Ac ni bydd raid i neb ovni.

*Catwg Sant ai Cant.*

[a] Usher de Brit. Eccles. p. 474. Cressy's Ch. Hist. B. X. Chap. 19.

eglwysi, a dedwyddwch ei gydwladwyr yn gyffredinol. Pregethai y gair cartref, ac oddi cartref; mewn amser, ac allan o amser; a rhoddai gwbl ddiwydrwydd i ddwyn yr holl Gymry i wybodaeth o'r gwirionedd. CANT VI.

O gylch deng mlynedd yn ol y gymmanfa a gyfarfu trwy orchymmyn Dyfrig yn Llanddewi brefi, Dewi a ymgynnullodd holl weinidogion Cymru mewn cymmanfa arall, yr hon a elwir Cymmanfa fuddugoliaeth. Yn y gymmanfa hon, cadarnhawyd y rheolau a wnelsid yn y gymmanfa gyntaf, ac ychwanegwyd ereill attynt yn gyfattebol i ddiffygiadau yr eglwysi.[a] Cymmanfa fuddugoliaeth. O. C. 529.

Dewi a ysgrifenodd â'i law ei hun, yr holl reolau a wnaethpwyd yn y ddwy gymmanfa hyn, ac a'u gosododd i gadw yn eglwys Tŷ Ddewi; fel y gallai holl eglwysi Cymru gael ad-ysgrifeniadau o honynt. Ond y mae y rheolau hyn, yn nghyd â llawer o lyfrau gwerthfawr ag oedd yn eglwys Tŷ Ddewi y pryd hyny, ag a fuasai yn egluro mewn mesur mwy helaeth ansawdd eglwysi Cymru yn yr oes honno, gwedi eu colli er ys oesoedd lawer.[b]

Pan oedd gelynion Hywel brenin Llydaw yn ymgryfhau yn ei erbyn, y brenin Arthur a aeth drosodd i Lydaw i'w gynnorthwyo ef, ac a osododd Medrod ei nai yn llywydd ar y deyrnas hon, yn Arthur yn myned i Lydaw. O. C. 530.

[a] Usher de Brit. Eccles. p. 475, [b] Ibid.

CANT VI.

yn ei absennoldeb; ac a ymddiriedodd iddo hefyd ofal Gwenhwyfar y frenhines. Medrod wedi ei wneuthur yn llywydd, a hoffodd y frenhines, ac heb ystyried ei berthynas a'i rwymedigaethau i'r brenin, a'i priododd hi. Fel ag y mae un pechod yn arwain i'r llall, Medrod, i ochelyd dialedd Arthur, a wnaeth gyngrair â'r Saeson, ac a roddodd i fynu iddynt ran fawr o Loegr, a chafodd ei goroni yn frenin yn lle Arthur.[a]

Medrod yn troi yn fradwr.

Arthur yn dychwelyd. O. C. 535.

Pan glybu Arthur y pethau hyn, efe a ddychwelodd i Frydain, ac a gasglodd ei fyddinoedd yn nghyd, ac a aeth yn erbyn Medrod, yn nghyd â'r Saeson a'r Pictiaid ag oedd wedi uno âg ef. Gwedi rhyfela â hwynt dros saith mlynedd, Arthur a laddodd y bradwr Medrod, â'i law ei hun; a chafodd yntef hefyd ei glwyfo i'r fath raddau, fel ag y bu farw mewn ychydig o ddiwrnodau; a chladdwyd ef yn Glastonbury. Fel hyn y syrthiodd yr enwog Arthur, yn llawn ddyddiau a gogoniant. Yr oedd gan y Cymry y fath barch i'r rhyfelwr clodfawr hwn, fel nad allent dros flynyddoedd lawer goelio ei fod wedi marw, ond dysgwylient ei ddychweliad o wledydd tramor i ail-sefydlu teyrnas Brydain.[b]

Marwolaeth Arthur. O. C. 542.

Cyndeyrn.

Cyndeyrn Garthwys, mab Owain ab Urien, a anwyd yn Scotland, ac a ddygwyd i fynu dan olygiad Serfanus yn athrofa Culros. Yr oedd

Cyndeyrn

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 114, 115. [b] Ibid. p. 116, 117, 118.

Cyndeyrn mor fwyn yn ei dymmer a'i ymddygiad, fel ag y galwyd ef, Mwyngu.* Gwedi cael ei ddwyn i fynu yn Culros, cafodd ei gyssegru yn esgob, a sefydlodd yn Glasgow; lle y bu yn ddiwyd yn y cyflawniad o'i ddyledswyddau gweinidogaethol, ac yn offerynol i gasglu cynnulleidfa luosog. Dywedir fod Cyndeyrn yn byw ar lysiau a llaeth, ac nad oedd yn yfed dim ond dwfr. Pan gafodd ei erlid yn Scotland, Cyndeyrn a ffodd i Gymru; a chwedi bod dros ychydig o amser gydâ Dewi yr arch-esgob, efe a osododd athrofa i fynu yn agos i'r afon Elwy yn sir Fflint, yr hon a gafodd mewn ychydig o amser gwedi hyny ei dyrchafu yn esgobaeth, a'i galw yn Lan Elwy.[a]

CANT VI.

Dechreuad esgobaeth Llan Elwy, neu St. Asaph. C. C. 543.

Dywedir fod gan Gyndeyrn naw cant a phymtheg a deugain o frodyr yn ei athrofa, neu grefydd-dŷ, y rhai a wasanaethent Dduw gydâ llawer o wresogrwydd; ond nid oeddent hwy oll yn ddynion dysgedig. Yr oedd tri chant o honynt yn trin y tir, ac yn edrych ar ol yr anifeiliaid ag oedd yn perthyn i'r crefydd-dŷ; yr oedd hefyd dri chant yn darparu lluniaeth, a phethau angenrheidiol at gysur y frawdoliaeth; a'r tri chant a phumtheg a deugain ereill, oeddent yn myfyrio yn mhethau Duw, ac yn blaenori yn y gwasanaeth dwyfol ag oedd yn cael ei gyflawni yn

* Unbanus. [a] Brit. Sanct. Brown Willis's Survey.

CANT VI.



yn y crefydd-dŷ. Ac yr oeddent gwedi eu dosparthu yn y fath fodd, fel ag yr oedd addoliad parhaus a diorphwys, yn cael ei gyflawni ganddynt.[a]

Y mae llawer o eglwysi gwedi eu cyssegru i Gyndeyrn Gwarthwys, ond y mae yn debygol mai i Gyndeyrn mab Arthog ab Caredig ab Cynedda, yr hwn oedd yn byw yn y pummed cant, y cyssegrwyd Llangyndeyrn yn sir Gaerfyrddin.[b]

Dewi gwedi bod yn ddiwyd a ffyddlon yn ngwasanaeth Duw trwy ei holl fywyd, ac yn llwyddiannus i helaethu teyrnas Crist yn mhlith y Cymry, a orphenodd ei yrfa mewn llawenydd a gorfoledd mawr, ar y dydd cyntaf o fis Mawrth, yn y pedwar ugeinfed flwyddyn a dwy o'i oedran,* ac a gladdwyd yn ei eglwys ei hun yn Nhŷ Ddewi.[c] Yn nghylch pum can mlynedd gwedi ei farwolaeth, cafodd Dewi ei seintio gan Bab Calixtus yr ail.[d]

Marwolaeth Dewi. O. C. 544.

Y

[a] Brit. Sanct. Brown Willis's Survey. [b] Cam. Biog.

* Fe ddywed rhai i Ddewi arch-esgob Tŷ Ddewi, wneuthur llawer o wyrthiau yn ei ddydd, a'i fod yn saith ugain a saith mlwydd oed pan y bu efe farw. Ond nid oes sylfaen ddigonol i gredu yr holl chwedlau gwrachiaidd a adroddir gan awdwyr pabaidd am y gwr duwiol hwnw.

[c] Cressy's Ch. Hist. B. XI. Chap. 20. [d] Goodwin's Catal. of Eng. Bishops, p. 504.

Y Pictiaid yn nechreuad y cant hwn a yrasant Caw ab Geraint ab Erbin, arglwydd Cwm Cawlwyd, yn agos i Scotland, o'i etifeddiaeth; ac efe, yn nghyd â'i deulu, a ddaethant i Gymru; a chawsant dir gan Falgwn Gwynedd yn Ngwynedd, a chan y brenin Arthur yn Ngwent. Caw gwedi dyfod i Gymru a breswyliodd yn Twrcelyn yn sir Fôn; ond rhai o'i blant a aethant i Went, lle yr oedd Arthur wedi rhoddi tir iddynt. Yr oedd rhai o blant Caw yn rhyfelwyr, ond y rhan fwyaf o honynt a gyflwynasant eu hunain i waith y weinidogaeth, ac a fuant yn offerynol i blanu eglwysi yn Nghymru yn nghylch yr amser hyn.[a]

CANT VI.

Caw a'i deulu yn dyfod i Gymru.

Peirio mab Caw oedd yn aelod yn nghynnulleidfa Illtyd, ac ar farwolaeth Illtyd, a ddewiswyd yn flaenor ar y gymdeithas grefyddol honno. Ond dywedir iddo farw y dydd canlynol, ac i Samson mab Amwn Ddu gael ei ddewis yn esgob ac yn athraw yn ei le ef. Y mae Rhôs Beirio yn sir Fôn, wedi ei chyssegru i'r sant hwn.[b] Yr oedd Gallgof ac Eigrad, meibion Caw, yn aelodau hefyd yn Nghynnulleidfa Illtyd, ond yr oedd eu heglwysi hwynt yn sir Fôn, yn y lleodd a elwir Llan Allgo, â Llan Eigrad. Yr oedd eu brawd Caffo yn weinidog yn Llangaffo.[c]

Peirio.

Gallgof. Eigrad.

Caffo.

Y Dirynig

[a] Achau saint ynys Brydain. [b] Ibid. [c] Ibid.

CANT VI.

Dirynig. Samson. Gwrddelw. Maelog.

Dirynig a Samson, meibion Caw, oeddent weinidogion yn Nghaer Efrog, a chafodd Dirynig ei ladd yno gan y Saeson. Yr oedd eglwys Gwrddelw mab Caw yn Nghaerlleon ar Wysg. Y mae Llanmaelog yn sir Fôn, a Llandyfaelog yn sir Gaerfyrddin, gwedi eu cyssegru i Maelog mab Caw, yr hwn oedd yn aelod o gynnulleidfa Catwg, ac a fu yn pregethu, mae yn debygol, yn y lleodd hyny.[a]

Huail.

Huail mab Caw, gwedi treulio rhan fawr o'i amser yn ngwasanaeth y brenin Arthur, ac ymladd llawer brwydr, a gofleidiodd grefydd, ac a dreuliodd y rhan ddiweddaf o'i fywyd yn nghynnulleidfa Catwg, a chyfrifid ef yn un o saint ynys Brydain. Y mae eglwys yn sir Henffordd wedi ei galw yn ol ei enw ef. Eigron mab Caw a aeth i Gornwal, ac y mae eglwys wedi ei chyssegru iddo ef yn y rhan honno o Loegr.[b]

Eigron.

Gildas.

Yr oedd Gildas mab Caw yn y rhan hyny o'r teulu ag a aeth i ddeheubarth Cymru; ac efe a unodd â chynnulleidfa Catwg, ac a aeth yn ŵr enwog mewn duwioldeb a dysgeidiaeth. Mae yn debygol fod Gildas yn rhyfelwr dewr yn ei ieuengctyd, ond fe roddodd heibio y cleddyf yn y rhan ddiweddaf o'i fywyd, ac a osododd athrofa i fynu yn Nghaer Baddon,* lle y bu, mae yn

Gildas yn athraw athrofa Caer Baddon.

O. C. 555.

[a] Achau saint ynys Brydain. [b] Ibid.

* Bath.

yn debygol, hyd ddiwedd ei oes. Tra yr oedd Gildas yn y sefyllfa hon, efe a ysgrifenodd lyfr yn y iaith Ladin, yr hwn sydd etto mewn bod. Yn y llyfr hwn y mae Gildas yn rhoddi hanes byr o dduwiau y Cymry cyn dyfodiad yr efengyl i'r ynys, ac hefyd o gyflwr crefyddol y Cymry, o ddyfodiad yr efengyl i'r wlad hyd ei amser ei hun. Y mae hefyd yn dangos i'r Cymry y peryglon ag oeddent yn agored iddynt, o blegid ei gwrthryfelgarwch yn erbyn Duw; yn eu hargyhoeddi yn llym am eu hannuwioldeb, ac yn galw yn daer arnynt i edifarhau am eu pechodau, ac i ddychwelyd at yr Arglwydd. CANT VI. Llyfr Gildas.

Gan fod enw Gildas yn cael ei adael allan o'r hen ysgrifenadau ag sydd yn haeru mai mab Caw oedd Aneurin; a bod enw Aneurin yn cael ei adael heibio yn yr ysgrifenadau ag sydd yn dangos fod Gildas yn fab Caw, rhai a dybiant mai yr un person dan wahanol enwau oedd Gildas ag Aneurin, ac mai enw a roddid iddo fel dysgawdwr oedd Gildas.[a] Er fod y gân odidog o waith Aneurin, a elwir, Y Gododin,* yn cael ei hystyried gan feirdd Cymru fel cynllun rhagoriaeth mewn barddoniaeth, y mae llawer o wahaniaeth rhwng egwyddorion awdwr y Gododin Aneurin.

 ag

a Camb. Biog.

* Cân ar frad y gyllell hir, yn Stonehenge. Davies's Myth. p. 318.

CANT VI. ag egwyddorion Gildas dduwiol.[a] Mae yn fwy rhesymol, gan hyny, i feddwl mai gwahanol ddynion oeddent, oddi eithr cael allan, i'r Gododin gael ei gyfansoddi pan oedd yr awdwr yn ieuangc, ac yn dueddol i baganiaeth, ac i'r llyfr a elwir Gildas gael ei ysgrifenu wedi iddo gael ei ddychwelyd at yr Arglwydd, a'i egwyddori yn gyflawn yn athrawiaethau y grefydd gristianogol.[*]

Cuhelyn. Yr oedd Cuhelyn mab Caw yn fardd enwog yn ei ddydd, ac yn wahanol yn ei farn oddiwrth feirdd yr oes hono yn gyffredin. Fe ymddengys oddiwrth ei waith ag sydd etto mewn bod, nad oedd ganddo un parch i dduwiau y derwyddon; a'i fod ef yn ystyried yr arferiad ag oedd gan y beirdd i annerch Ceridwen fel ffynnon dysgeidiaeth, yn anaddas i gristion.[b]

Merched Caw. Gwenafwy, Peillan, Cwyllog, a Cain, merched Caw, oeddent wragedd duwiol, ac eglwysi gwedi eu cyssegru iddynt. Nid oes un hanes pa le yr oedd eglwysi Gwenafwy a Pheillan; ond y mae eglwys Cwyllog yn sir Fôn, ac eglwys Cain yn Llangain yn sir Gaerfyrddin.[c]

Y

a Davies's Myth. p. 386.

* Fe ddywedir mai yn nghylch chwech mlynedd cyn ei farwolaeth, yr ysgrifenodd Gildas ei lyfr. Camb. Biog. V. Gildas.

b Archaiol. Vol. I. p. 186. c Achau saint ynys Brydain.

Y mae hanes fod gan Gildas bedwar mab duwiol, a elwid Nwython, Dolgan, Cenydd, a Gwynog. Gildas yn eu gweled yn blant gobeithiol, a'u danfonodd i athrofa Catwg, lle yr oedd ef ei hun wedi cael ei ddwyn i fynu. A chwedi iddynt fod yno dros rai blynyddoedd, hwy a aethant allan i bregethu yr efengyl, a Duw a'u harddelodd i ddychwelyd llawer o dywyllwch i oleuni. Dywedir fod eglwysi Nwython a Dolgan yn Ngwynedd yn yr amser gynt. Bu Cenydd yn offerynol i sefydlu eglwys yn Llangenydd yn sir Forganwg; ac yr oedd ganddo eglwys arall yn agos i Gaerdydd, yr hon a roddodd enw i randir Seinghenydd.[a] Ac nid annhebygol yw, mai yn Llanwenog yn sir Aberteifi, yr oedd Gwynog yn gweinidogaethu.

CANT VI.

Meibion Gildas.

Nwython. Dolgan. Cenydd.

Gwynog.

Yn nghylch yr amser hyn, Taliesin Pen Beirdd, Llywarch Hen, a Merddin Wyllt, oeddent feirdd enwog yn mhlith y Cymry. Yr oedd Taliesin yn ŵr o blwyf Rhychwyn yn sir Gaernarfon,[b] a gorphenodd ei ddygiad i fynu yn athrofa Catwg, yn sir Forganwg.[c] Fe ymddengys oddiwrth ysgrifenadau Taliesin, ei fod yn ŵr dysgedig, a hyddysg iawn yn ngwaith y derwyddon; a'i fod yn un o'r beirdd mwyaf clodfawr yn ei ddydd; o herwydd pa ham y galwyd ef yn Ben

Taliesin.

[a] Achau saint ynys Brydain. Cam. Biog. [b] Gorchestion Beirdd Cymru. [c] Camb. Biog.

CANT VI.



Ben Beirdd. Er i Taliesin orphen ei ddygiad i fynu mewn athrofa gristianogol, a'i fod yn adnabyddus o athrawiaethau yr efengyl, mae yn amlwg oddiwrth ei ysgrifeniadau, ei fod yn dal llawer o gyfeiliornadau ei henafiaid paganaidd, ac nad oedd arno ddim cywilydd i'w harddel yn y modd mwyaf cyhoeddus.[a]

Llywarch Hen.

Llywarch Hen oedd bendefig o ogledd Lloegr, ac yn fardd godidog. Dywedir iddo ymegnio hyd eithaf ei allu, i amddiffyn ei wlad, yn erbyn awdurdod cynhyddol y Saeson, ac i bedwar ar hugain o'i feibion i syrthio ar faes y gwaed. Gwedi colli ei feibion, a threulio llawer o'i fywyd mewn anesmwythder, efe a geisiodd lonyddwch dan nawdd Cynddylan, tywysog rhan o Bowys; a dywedir iddo farw mewn cell yn mhlwyf Llanfor yn agos i'r Bala, yn gant a deng mlwydd a deugain oed.[b]

Merddin Wyllt.

Yr oedd Merddin mab Morfryn, yr hwn a elwir yn gyffredin Merddin Wyllt, yn cael ei goleddu gan Gwenddolau mab Ceidio, tywysog yn nghymmydogaeth Clydesdale yn Scotland.[c] Gelwid Merddin Wyllt yn farnwr uchaf y gogledd; a dywedir fod ei sel ef gymmaint dros y grefydd dderwyddol, fel ag yr oedd yn gwneuthur ei oreu i wrthwynebu cynnydd yr efengyl yn ngogledd Brydain.[d]

Rhydderch

[a] Archaiol. Vol. I. p. 17—551. Davies's Myth. p. 181.
[b] Cam. Biog. [c] Ibid. [d] Davies's Myth. p. 472.

CANT VI.

Rhydderch Hael yn erlid y derwyddon.

Rhydderch Hael, mab Tudwal, brenin Ystrad Clwyd, yn gweled fod Gwenddolau, Merddin Wyllt, a'r derwyddon ereill yn y rhan honno o'r ynys, yn gwneuthur eu goreu i wrthwynebu Colan, a'r cenhadau a anfonid i bregethu yr efengyl iddynt, a gyhoeddodd ryfel yn ei herbyn; a thrwy gynnorthwy y tywysogion cymmydogaethol, yn nghyd â'r esgobion a'r mynachod, a'u bymlidiodd hwynt allan o'i derfynau, ac a'u gyrodd i goedwig Celyddon. Dywedir i Gwenddolau gael ei lladd yn yr ymdrech hon, ac i Ferddin Wyllt hefyd ladd mab ei chwaer Gwenddydd; ac i hyny gael y fath effaith arno, fel ag y cauodd ei hun yn nghoedwig Celyddon, lle yr oedd allan o'i bwyll ar amseroedd. Dyma yr achos iddo gael ei alw yn Ferddin Wyllt. Ond pa effaith bynnag a gafodd yr aflwyddiant hyn ar feddwl Merddin Wyllt, yn mhen ychydig o flynyddoedd wedi hyny,* efe a wnaeth i'r goedwig a'r creigiau ddadseinio â melusgerdd ei gân; yr hyn sydd yn peri i rai feddwl nad oedd ei ynfydrwydd ef ond ynfydrwydd derwydd paganaidd, yn ymgynddeiriogi wrth weled aflwyddiant ei grefydd.†

Pan

* Davies's Myth. p. 467—481.

† Y mae llawer o waith Taliesin Pen Beirdd, Llywarch Hen, a Merddin Wyllt, gwedi eu cyhoeddi yn yr Archaiology of Wales; ac y mae William Owen Pugh, Esq. wedi argraffu llawer o waith awenyddol Llywarch Hen, yn nghyd â chyfieithad Saesneg, mewn llyfr a elwir, Heroic Elegies, and other Pieces of Llywarch Hen.

CANT VI.

Cyndeyrn yn dychwelyd i Glasgow.

Pan gafwyd llonyddwch gan elynion yr efengyl yn ngogledd Brydain, galwyd Cyndeyrn Garthwys yn ol i Glasgow, lle y bu drachefn yn ddefnyddiol. Cyndeyrn, cyn ymadael â Llanelwy, a ddewisodd Asaph mab Sawyl ab Pabo, un o'i ddyscyblion, i fod yn athraw, ac yn esgob yn ei le; ac o hyny allan cafodd Llanelwy ei galw yn St. Asaph. Dywedir fod Asaph yn ŵr o rinwedd, dysgeidiaeth, a duwioldeb mawr, ac iddo ddiwygio yr esgobaeth i raddau helaeth. Asaph a ddywedai yn fynych, 'fod y cyfryw rai ag oedd yn rhwystro cynnydd gair Duw, yn cynfigenu dedwyddwch dynolryw.'[a]

Asaph yn esgob. O. C. 560.

Yr oedd crefydd yn flodeuog mewn amrywiol ranau o Gymru yn y dyddiau hyn, er cymmaint oedd gormes y Saeson. Cammarch mab Gwynlliw, a brawd Catwg, oedd weinidog llwyddiannus yn Llangammarch yn sir Frycheiniog. Yr oedd ei chwaer Maches yn wraig rinweddol, ac elusengar iawn; ni chai neb a ofynai elusen ganddi, ei anfon ymaith yn waglaw. Ar un diwrnod, daeth Sais paganaidd atti, dan rith cardotyn, i ymofyn elusen, a thra yr oedd hi yn myned i roddi rhyw beth iddo, y bradwr creulon a dynodd allan ei gyllell, ac a'i brathodd â hi; a galwyd y lle hwnw, Merthyr Maches.[b] Ystyffan mab

Cammarch.

Maches.

Ystyffan.

[a] Brown Willis's Survey. [b] Cam. Biog.

mab Mawan ab Cyngen ab Cadell, tywysog Powys, oedd sant a phrydydd enwog yn y cant hwn; ac iddo ef y cyssegrwyd Llanystyffan yn sir Faesyfed.* CANT VI.

Cawrdaf. Maethlu. Cawrdaf a Maethlu, meibion Caradog Freichfras, oeddent ddynion defnyddiol yn eglwys Crist yn yr amser hyn. Cawrdaf wedi bod yn rhyfelwr dewr yn ei ieuengctyd, a neillduodd yn ei henaint, i Fangor Illtyd; ac y mae eglwys yn sir Gaernarfon gwedi ei galw yn ol ei enw ef. Y mae eglwys Maethlu yn sir Fôn. Yr oedd gan Garadog Freichfras feibion ereill yn pregethu yr efengyl, ond nid oes hanes neillduol am eu heglwysi hwynt. Y mae plwyf Dyfnog yn sir Aberteifi, wedi ei alw yn ol enw Dyfnog mab Medrod ab Caradog Freichfras.[a] Dyfnog.

Cybi. Cybi, mab Selyf ab Geraint ab Erbyn, a ddygwyd i fynu yn Mangor Dunod, ac a fu yn ddysgawdwr enwog yn y cant hwn. Wedi gorphen myfyrio yn Mangor Dunod, Cybi a aeth i sir Fôn, ac a sefydlodd grefydd-dŷ yn agos i'r fan lle yr oedd Caswallon Law Hir gwedi adeiladu eglwys yn y pummed cant; a gelwir y lle hwnw Caer Gybi hyd heddyw. Yr oedd Cybi

Z yn

* A glyweisti chwedyl Ystyffan,
Bardd Teilo, atteb buan:
'Dyn a chwennych, Duw a ran!'

[a] Camb. Biog.

CANT VI.



yn ŵr mor llafurus ac enwog, fel ag y cyssegrwyd amryw eglwysi iddo. Heblaw eglwys Caer Gybi, y mae eglwys yn sir Gaernarfon, ac un arall yn sir Aberteifi, ac un arall yn sir Fynwy gwedi eu cyssegru iddo ef. Mygnach,* mab Mydno o Gaer Seont, a fu dros ryw amser yn ysgrifenydd yn nghrefydd-dŷ Cybi, ac wedi hyny cafodd ei wneuthur yn flaenor yno.[a]

Myg-nach.

Gwyndaf ab Emyr Llydaw, gwedi bod yn gaplan yn nghynnulleidfa Illtyd, a wnaethpwyd yn brif athraw yn nghynnulleidfa Dyfrig, yn Nghaerlleon ar Wysg; ac yn ei henaint, efe a aeth i Enlli, lle y bu efe farw. Y mae Llangwyndaf yn sir Gaernarfon wedi ei chyssegru iddo ef. Ac y mae Llan Ddwywau, a Llan Dderfel, yn sir Feirionydd, gwedi ei galw yn ol enwau Dwywau a Derfel, meibion Hywel ab Emyr Llydaw, a neiaint Gwyndaf.[b] Yn y lle oedd hyny, mae yn debygol, yr oedd y ddau frawd yn gweinidogaethu.

Gwyn-daf.

Dwy-wau. Derfel.

Llonio mab Alan ab Emyr Llydaw oedd aelod o gynnulleidfa Illtyd, a Phadarn a'i dewisodd ef i fod yn ddëon yn Llanbadarn fawr; ac yr

Llonio.

* Y mae cyd-ymddiddan rhwng Mygnach a Taliesin, wedi ei argraffu yn yr Archaiology of Wales, p. 46.

[a] Achau saint ynys Brydain. Cam. Biog.

[b] Ibid.

yr oedd eglwys ar ei enw ef yn sir Aberteifi. Yr oedd ei frawd Llynab hefyd yn aelod o gynnulleidfa Illtyd; ac yn ei henaint efe a aeth i ynys Enlli.[a] CANT VI. Llynab.

Yr oedd Caranog a Tyssul, meibion Corun ab Caredig, arglwydd Caredigion, yn weinidogion duwiol a llafurus yn sir Aberteifi, yn y cant hwn. Caranog a sefydlodd eglwys yn Llangaranog, a Thyssul yn Llandyssul. Fe ddywedir i Garanog fod yn offerynol i gasglu cynnulleidfaodd mewn lleodd ereill heblaw Llangaranog. Ac y mae eglwys hefyd yn sir Drefaldwyn gwedi ei chyssegru i Tyssul. Yn nghylch yr un amser hefyd yr oedd Tyfriog mab Dingad ab Nudd Hael, yn gweinidogaethu yn Llandyfriog. Y mae eglwys Ceitho yn Llangeitho, yn sir Aberteifi, ond nid yw hanes y gwr duwiol hwnw wedi cyrhaeddyd i lawr i'n hamser ni.[b] Caranog. Tyssul. Tyfriog. Ceitho.

Afan mab Cedig ab Caredig ab Cunedda, a chefnder Caranog a Tyssul, a sefydlodd ddwy eglwys yn sir Frecheiniog; un yn Llan Afan Fechan, a'r llall yn Llan Afan Fawr, a gelwid ef Afan Muallt. Y mae Llan Afan o'r Trawsgoed yn sir Aberteifi gwedi ei chyssegru iddo hefyd. Yr oedd Afan yn ŵr duwiol a llafurus, a Afan.



[a] Achau saint ynys Brydain. Camb. Biog.

[b] Ibid.

CANT VI.

chladdwyd ef yn Llan Afan Fawr, lle y mae ei fedd hyd heddyw.*

Cynheidion.

Y mae Llangynheidion yn sir Gaerfyrddin, wedi ei chyssegru i Cynheidion mab Ynyr Gwent, yr hwn oedd yn weinidog cymmeradwy yn ei ddydd.

Idloes.

— Llanidloes yn sir Drefaldwyn, sydd gwedi ei chyssegru i Idloes mab Gwyddnabi ab Llawfrodedd Farfog, lle yr oedd y gwr doeth a duwiol hwnw, ysgatfydd, yn gweinidogaethu. Y mae un o'r hen feirdd yn darlunio Idloes fel siamplo fwynder.† Yr oedd yn yr amser gynt, eglwys yn y Dderwen, yn yr un sir, gwedi ei chyssegru i Tydio, un o feibion Arwystyl Gloff.

Tydio.

Aelgyfarch. Boda. Brothen. Celynin. Peris. Rhychwyn.

Yr oedd Aelgyfarch, Boda, Brothen, Celynin, Peris a Rhychwyn, meibion Helig ab Glanog, yn weinidogion defnyddiol tu a diwedd y cant hwn. Nid oes un hanes pa le yr oedd Aelgyfarch

* Y mae y geiriau hyn ar fedd Afan yn Llan Afan fawr:

Hic Jacet sanctus,
Avanus Episcopus.

Archaiol. Vol. II. p. 27.

† A glyweisti à gant Idloes,
Gwr gwar hygar ei einioes;
'Goreu cynnydd cadw moes?'

Hast thou heard how Idloes sang,
A man of meekness amiable in his life;
'The best quality is a good deportment?'

Camb. Biog.

x achefydd yn Sir Gaernarfon



arch a Boda yn llafurio, ond y mae eglwysi Brothen a Celynin, yn sir Feirionydd; ac eglwysi Peris a Rhychwyn yn sir Gaernarfon. CANT VI.

Cynhaiarn. Fe ddywedir i Cynhaiarn mab Hygarfael, sefydlu rhai eglwysi yn Nghymru yn nghylch yr amser hyn, a bod Llan Gynhaiarn yn sir Gaernarfon gwedi ei galw yn ol ei enw ef. Iestyn. Yr oedd Iestyn ab Geraint ab Erbyn, yn llafurio yn Llaniestyn yn sir Fon, lle y claddwyd ef.

Grwst. Y mae Llanrwst yn sir Dinbych gwedi ei chyssegru i Grwst, mab Gwaith Hengaer ab Elffin ab Urien, lle yr oedd, mae yn debygol, yn gweinidogaethu. Gwytherin. Ac y mae Gwytherin yn yr un sir, gwedi ei chyssegru i Gwytherin, mab Dingad, yr hwn oedd ŵr derbyniol y pryd hyn. Yn y plwyf hwn y mae monwent y Santes, lle y mae Capel Gwenfrewi, yn mha un y claddwyd y wyryf fendigaid honno.

Celert. Fe dybia rhai fod Bedd Celert yn sir Gaernarfon, gwedi ei chyssegru i Celert, ac i'r gwr duwiol hwnw gael ei gladdu yno; ac mai i'r un gwr y mae Llangeler yn sir Gaerfyrddin gwedi ei chyssegru. Giwg. Y mae Llangiwg yn sir Forganwg, gwedi ei galw yn ol enw Giwg, mab Aron ab Cynfarch.[a]

Yr oedd y Saeson y pryd hyn wedi cael meddiant o Loegr oll, oddieithr tywysogaeth Cornwal, ac Ystrad Clwyd; ac wedi dystrywio yr holl eglwysi

[a] Achau saint ynys Brydain. Archaiol. Vol. II.

CANT VI.



lwysi Cristianogol, a sefydlasid gan y Cymry yn Llundain, Caer Efrog, a lleodd ereill, a chwedi llanw y wlad o baganiaeth ac eilun-addoliaeth. Yr oeddynt hefyd gwedi gosod saith teyrnas * i fynu, a brenin ar bob un o honynt.[a] Ond er mor ëang oedd eu gwlad, mae yn debygol, eu bod yn yr ymarferiad annaturiol a chreulon, o werthu eu plant i genhedloedd ereill; a'u bod yn eu danfon hwynt i Rhufain i'r dyben hyny.

Y Saeson yn gwerthu eu plant yn Rhufain. O. C. 585.

Pan welodd Gregory blant y Saeson yn cael eu gwerthu yn Rhufain, efe a ofynodd o ba wlad yr oeddent, a pha un ai paganiaid ai cristianogion oedd trigolion y wlad honno? Yna wedi dyall mai Saeson o Frydain oeddent, a'u bod yn baganiaid, efe a ddywedodd mai peth galarus oedd, fod dynion mor angylaidd yn eu hymddangosiad allanol, dan lywodraeth tywysog y tywyllwch. Ac fel gwr ag oedd yn dymuno daioni ei gyd-greaduriaid, efe a aeth at Pelagius y Pab, ac a ddeisyfodd arno anfon cenhadau i Frydain i bregethu yr efengyl i'r Saeson, ac yr âi ef gydâ hwynt, os rhyngai bodd i'r Pab, i'w anfon. Y Pab a ddywedodd ei fod ef yn foddlon i Gregory gymmeryd y gorchwyl pwysfawr hwn arno, ond ni ollyngai trigolion Rhufain ŵr mor ddefnyddiol oddi wrthynt.[b]

Gregory am anfon pregethwyr at y Saeson. O. C. 586.

Gwedi

* Seith-benaeth y Saeson. 1. Kent. 2. South Saxons. 3. East Angles. 4. West Saxons. 5. Northumberland. 6. East Saxons. 7. Mercia.

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 126. [b] Bede, L. II. Chap. 1.

CANT VI.

Gwedi marw Pelagius II. Gregory a ddewiswyd yn Bab yn ei le ef. Ac yn mhen ychydig o amser gwedi cael ei ddyrchafu i'r gadair babaidd, Gregory, heb anghofio y Saeson paganaidd, a anfonodd Austin fynach, a deugain o wyr enwog gydâg ef i Frydain i bregethu yr efengyl. Pan oedd Austin fynach a'i gyfeillion ar y ffordd i Frydain, cawsant eu digaloni trwy gam-adroddiadau; a danfonasant Austin yn ol at y Pab yn eu henwau hwynt oll, i ddeisyf arno roddi cennad iddynt i ddychwelyd adref, ac na ddanfonai mo honynt ar daith mor beryglus, ac at genedl anghrediniol a ffyrnig, iaith pa un nid oeddent yn ei dyall.[a]

Gregory yn Bab, ac yn anfon Austin fynach i Frydain. O. C. 586.

Y Pab gwedi clywed yr hyn oedd gan Austin i ddywedyd yn erbyn myned i Loegr, a'i gwnaeth ef yn abad, ac a'i hanfonodd yn ol yn uniongyrch â llythyr annogaethol at ei gyfeillion, i ddeisyf arnynt na chymmerent eu digaloni gan adroddiadau gwag a disail, ond i fyned yn mlaen yn rymus â'r gwaith ag oeddent gwedi gymmeryd arnynt, gan fod gogoniant i'w ganlyn yn y byd hwn, a'r hwn a fydd; ac i bob un o honynt fod yn ostyngedig ac ufudd i Austin fynach, yr hwn oedd ef wedi ei osod yn abad arnynt. Gregory a ysgrifenodd hefyd at Eutherius arch-esgob Arles, i ddymuno arno i ddyogelu y cenhadau, a'u cynnysgaeddu hwynt â phob peth angenrheidiol.[b]

Gregory yn annog y cenhadau.

Austin

[a] Bede, L. I. Chap. 23. [b] Ibid.

CANT VI.

Austin fynach yn tirio ynLloegr O. C. 597.

Austin fynach a'i gyfeillion, gwedi eu cadarnhau trwy annogaethau y Pab, a aethant yn mlaen ar eu taith, a chwedi myned trwy Ffraingc, a chymmeryd llong, hwy a diriasant yn ddiangol yn ynys Thanet, yn Lloegr. Ac yn fuan wedi tirio, Austin a anfonodd at Ethelbert, brenin y rhan honno o Loegr, i hyspysu iddo eu bod hwy gwedi dyfod o Rhufain, â newyddion da, o dragywyddol ddedwyddwch, i bawb a'i derbynient. Y brenin, pan glybu hyn, a orchymmynodd iddynt aros yn y fan lle y tiriasent, ac i'w weision roddi pob peth angenrheidiol iddynt, nes iddo ef benderfynu pa beth i'w wneuthur.

Bertha yn gristianoges.

Nid oedd y grefydd gristianogol yn beth dyeithr hollol i Ethelbert, oblegid yr oedd Bertha y frenhines yn chwaer i frenin Ffraingc, ac yn gristianoges; a chwedi priodi Ethelbert, ar yr ammod fod iddi hi gael rhydd-did i ymarferyd ei chrefydd ei hun, a dwyn Lethard ei hesgob gydâ hi, i gynnorthwyo a chryfhau ei ffydd.[*]

Ethelbert y brenin yn gwrando Austin.

Ar ol ychydig o ddyddiau, y brenin a aeth i ynys Thanet, ac a anfonodd at Austin, ei fod ef yn barod i wrando arno. Austin pan glybu fod y brenin yn dyfod, a gyfododd, a'i gyfeillion gydâg ef, ac a aethant allan i'w gyfarfod, â chroes o arian, a baniar, a delw Crist gwedi ei lliwio arni, yn eu dwylaw, ac yn canu y weddi gyffredin,

[*] Bede, L. I. Chap. 25.

gyffredin, a deisyf ar yr Arglwydd i ddychwelyd y bobl, at ba rai yr anfonasid hwynt, oddiwrth eu heulunod mudion at y gwir Dduw.[a] CANT VI.

Atteb y brenin.

Gwedi eistedd i lawr, a phregethu yr efengyl i'r brenin, a'r rhai oedd gydâg ef, Ethelbert a attebodd ac a ddywedodd wrth Austin a'i gyfeillion, 'Fod yr athrawiaethau a'r addewidion, ag oeddent hwy yn ei draethu, yn deg ac yn ddengar, ond nad oedd efe y pryd hyny wedi penderfynu i'w cofleidio, gan nad allasai mor fuan gydsynio i ymwrthod â'r grefydd ag oedd efe, yn nghyd â holl genedl y Saeson, wedi arddel cyhyd. Ond gan eu bod hwy yn ddyeithriaid, ac wedi dyfod o bell i gyfranu gwybodaeth o'r grefydd honno ag oeddent hwy yn gredu oedd oreu, na roddai efe ddim o'r aflonyddwch lleiaf iddynt, ond yr amddiffynai efe hwynt, ac y gofalai efe, fod pob peth angenrheidiol at eu cynnaliaeth gysurus, yn cael eu darparu iddynt; ac na rwystrai efe iddynt ennill cynnifer ag a allent i gofleidio eu crefydd.' Yn ganlynol i hyn, y brenin a roddodd breswylfod iddynt yn ninas Canterbury, yr hon oedd y brif ddinas; ac a roddodd iddynt ganiatad i bregethu y gair i bwy bynnag a wrandawai arnynt.[b]

Austin yn dyfod i Ganterbury. O. C. 598.

Austin a'i gyfeillion, gwedi dyfod i Ganterbury, a ymosodasant yn nghylch y gwaith o he-



[a] Bede, L. I. Chap. 25. [b] Ibid.

CANT VI.



rwydd pa un yr anfonasid hwynt i'r wlad; ac a bregethasant y gair gydâ llawer o ddiwydrwydd; ac amrywiol wrth glywed eu hymadroddion, a gweled sancteiddrwydd eu bywydau, a gredasant yn yr Arglwydd, ac a fedyddiwyd i'r grefydd gristianogol.[a]

Yr oedd yn agos i Ganterbury hen eglwys a adeiladasid yn amser y Rhufeiniaid, yn yr hon yr oedd Bertha y frenhines yn arferol o addoli. Yn yr eglwys hon yr oedd Austin a'i gyfeillion yn pregethu yn fwyaf cyffredinol ar y cyntaf; ond gwedi bod dros ychydig o amser yn y wlad, cawsant genad i adeiladu eglwysi yn mha le bynag yr ewyllysient.[b]

Ethelbert yn credu yr efengyl.

Ethelbert gwedi ei argyhoeddi o wirionedd y grefydd gristianogol, a ymwrthododd â'i hen grefydd baganaidd, ac a wnaeth broffes gyhoeddus o'r efengyl; a llawer o'i ddeiliaid a ganlynasant ei siampl ef.[c]

Gwedi bod yn offerynol i ddychwelyd llawer o drigolion Cent i'r ffydd gristianogol, Austin a aeth i Ffraingc, ac yn ol gorchymmyn y Pab Gregory, a gafodd ei gyssegru yn arch-esgob y Saeson, gan Eutherius arch-esgob Arles; ac wedi hyny efe a ddychwelodd yn ei ol i Loegr. Austin wedi ei gyssegru yn arch-esgob Canterbury, a anfonodd Laurence yr offeiriad, a Phedr y mynach,

Austin yn arch-esgob Canterbury.

[a] Bede, L. I. Chap. 25. [b] Ibid. Chap. 26. [c] Ibid.

ach, i Rhufain, i hyspysu i'r Pab, fod y Saeson gwedi cofleidio y ffydd gristianogol, a'i fod yntef wedi ei gyssegru yn arch-esgob; ac i ddymuno cael meddwl y Pab ar amrywiol bethau, ag oedd yn dwyn perthynas â'r sefyllfa newydd, ag oedd ef wedi cael ei ddyrchafu iddi.[a] * CANT VI.

Dywedir i Morgan tywysog Morganwg, a'i ewythr Ffriog, yn nghylch yr amser hyn, wneud eu llw ger bron Eudaf esgob Llandaf, os byddai i un o honynt ladd neu fradychu y llall, na fyddai i hwnw wneuthur iawn am y trosedd trwy arian na thir; ond fod yn rhaid iddo ymadael â'r wlad, a threulio gweddill ei fywyd mewn gwledydd tramor. Gwedi byw yn heddychlon dros hir amser, Morgan a gyfododd yn erbyn ei ewythr, ac a'i lladdodd ef. Pan gofiodd Morgan ei lw, ei gydwybod a'i cyhuddodd, ac efe a aeth i Landaf at Eudaf, ac a ddeisyfodd faddeuant o'i ddau bechod mawr o fwrdd-dra ac anudon. Ar hyn yr esgob a anfonodd at yr holl weinidogion cymmydogaethol, gan ddeisyf arnynt gyfarfod mewn cymmanfa yn Llandaf, i farnu pa beth oedd gymmwys i'w wneuthur i Morgan, ag oedd yn euog o'r fath bechodau gwaradwyddus.

A a 2 Pan

[a] Bede, L. I. Chap. 27.

* Nid yw gofyniadau Austin, nac attebion y Pab, o fawr bwys i ni yn yr oes oleu hon. Ac fe fyddai talfyriad o honynt yn rhy helaeth i'w gosod i lawr yma. Gwel hwynt yn Bede, L. I. Chap. 27.

CANT VI.

Pan gyfarfu y gweinidogion, barnasant mai gwell oedd, nâ difuddio y wlad o'i thywysog, yr hwn oedd yn awr mor edifeiriol, i ganiatau iddo brynu ei alltudiaeth, trwy ymprydiau, gweddiau, ac elusenau, yn ei wlad ei hun. Yna Morgan a osododd ei ddwylaw ar yr efengyl, ac a addawodd i wneuthur y pethau hyny oll, a gweini cyfiawnder yn mhob peth dros ei holl fywyd. Ac wedi ei dderbyn i gymundeb yr eglwys, efe a gyhoeddodd eglwysi Catwg, Illtyd, ac ereill, yn rhydd oddiwrth bob treth â gwasanaeth gwladol.[a]

[a] Spelman's Concil. p. 17, 18.

Y SEITH-

## Y SEITHFED CANT.

PAN wybu y Pab pa fodd yr oedd pethau yn myned yn mlaen yn Lloegr, efe a lawenychodd yn ddirfawr, ac a anfonodd attebion i ofyniadau Austin. Anfonodd hefyd Milletus, Justus, Paulinus, a Rufinianus, a phregethwyr ereill, i gynnorthwyo Austin yn y gwaith pwysfawr ag oedd ganddo yn llaw. Ac fel ag y byddai i eglwys Loegr, fod mor debyg i eglwys Rhufain ag oedd bosibl, y Pab a anfonodd lyfrau a llestri, a phob peth arall ag oedd ef yn farnu fod yn angenrheidiol at y gwasanaeth cyhoeddus, a chyffredin. Rhoddodd hefyd fantell arch-esgobaethol i Austin, ac awdurdod i gyssegru deuddeg o esgobion mewn gwahanol fanau, y rhai oedd i fod yn ddarostyngedig i'w awdurdod ef. A phan ddychwelai trigolion Caer Efrog i'r ffydd,* i gyssegru arch-esgob yno; ac i'r arch-esgob hwnw gyssegru deuddeg o esgobion yn

CANT VII. Gregory yn anfon pregethwyr i Loegr, a mantell arch-esgobaethol i Austin. O. C. 601.

* Yr oedd yr hen Gymry duwiol, ag oedd cyn hyn yn Nghaer Efrog, naill ai gwedi eu lladd neu gwedi eu herlid i Gymru, a'r lle gwedi ei feddiannu gan y paganiaid.

CANT VII.

ychwaneg, fel ag y byddai deuddeg o esgobion dan awdurdod arch-esgob Canterbury, a deuddeg dan arch-esgob Caer-Efrog.[a] *

Y Pab yn anfon rhoddion a llythyr at Ethelbert.

Y Pab hefyd a anfonodd roddion lawer, yn nghyd â llythyr i Ethelbert y brenin, gan ei annog ef i lynu yn y ffydd gristianogol, a bod yn siampl o bob gras, a rhinwedd, i bawb o'i ddeiliaid.[b]

Yr oedd esgobion Rhufain cyn hyn gwedi dwyn i mewn lawer o arferiadau newyddion, â pha rai yr oeddent yn dysgwyl i eglwysi ereill i gydffurfio. Ac y mae yn amlwg fod llawer o eglwysi y gorllewin, yn neillduol y rhai ag oedd yn agos i Rhufain, wedi cydffurfio â hwynt, cyn i Austin ddyfod i Loegr. Ond yr oedd y Cymry yn parhau i lynu wrth yr hen arferiadau, a'r rheolau a osodasid iddynt gan eu hathrawon cyntaf. Er dyddiau Lleirwg brenin Siluria, yr hwn a anfonodd at Eleutherius, esgob Rhufain, am ddynion cymmwys i hyfforddi y Cymry yn egwyddorion y grefydd gristianogol, nid oedd fawr o gyfranogiad gwedi bod rhwng esgobion Brydain ag esgobion Rhufain; ac nid oeddent yn eu hystyried

[a] Bede, L. I. Chap. 29.

* Y mae un esgob ar hugain yn bresennol dan awdurdod arch-esgob Canterbury; a dim ond pum esgob dan awdurdod arch-esgob Caer Efrog, a chyfrif esgob Sodor a Man.

[b] Bede, L. I. Chap. 32.

CANT VII.

tyried hwynt yn amgen nag esgobion yn gyffredin, neu o fwyaf, fel Patrieirch, ar ba rai nid oedd gan eglwysi Brydain un math o ymddibyniad.

Sel Austin dros eglwys Rhufain.

Ond Austin yn llawn sel dros esgobaeth Rhufain, gwedi cael ei wneuthur yn arch-esgob, a benderfynodd i ddwyn esgobion Cymru gydnabod y Pab fel pen yr eglwys yn gyffredinol. Ac i'r dyben hyn, efe a anfonodd attynt i ddymuno arnynt i'w gyfarfod ef mewn cymmanfa ar gyffiniau sir Gaerwrangon, mewn man a alwyd o hyny allan, Derwen Austin.[*] † Ond o eisiau ychydig o fwyneidd-dra, fe ddaeth ei holl amcan i'r dim.

Cymmanfa derwen Austin. O. C. 602.

Gwedi cyfarfod yn y lle, ac ar yr amser gosodedig, Austin a ddechreuodd ymresymu âg esgobion Cymru, a'u cynghori i roddi ufudd-dod i'r Pab, ac i dderbyn y ffurf o athrawiaeth a dyscyblaeth, ag oedd y pryd hyny mewn ymarferiad yn eglwys Rhufain. Ond gan fod eglwys Rhufain yr amser hwnw gwedi dirywio llawer oddiwrth burdeb yr efengyl, nid oedd dim a ddywedai Austin yn ddigonol i ddenu y Cymry, a pheri iddynt gydsynio â'i ddeisyfiad ef. Parhaodd esgobion Cymru yn ddiysgog yn eu meddyliau, trwy yr holl amser ag y buont yn ymresymu ar y pyngciau mewn dadl; ond gan nad oedd

* Bede, L. II. Chap. 2.

† Dan dderwen y cynhaliwyd y gymmanfa hon.

CANT VII.

oedd ond ychydig o'u brodyr yn bresennol y pryd hyny, ac fel na byddai iddynt ymddangos yn fyrbwyll yn eu penderfyniad, cytunasant i gadw cymmanfa gyffredinol ar yr un achlysur, ac yn yr un lle.[a]

Saith esgob Cymru yn cyfarfod yn ail Gymmanfa Derwen Austin. O. C. 602.

Ar y diwrnod gosodedig, esgob Caerwrangon, esgob Henffordd,* esgob Llandaf, esgob Llanbadarn fawr, esgob Bangor, esgob Llanelwy, ac esgob Caergybi, yn nghyd â Dunod fawr,† a lluaws o athrawon a dysgedigion, o'r Deheubarth a Gwynedd, a aethant i'r gymmanfa. Fel ag yr oedd Dunod a'r esgobion yn myned, galwasant ar ŵr duwiol a doeth, a gofynasant iddo, Pa beth a gynghorai efe iddynt wneuthur pan ddeuent i'r gymmanfa; pa un ai ymwrthod, ai cydsynio â deisyfiad Austin? Yntef a'u hattebodd, 'Os gwr Duw yw Austin, dilynwch ef. Ac wrth hyn y gwybyddwch pa un ai gwr Duw ydyw ai peidio; y mae yr Arglwydd yn dywedyd, Cymmerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf, canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon. Fe allai fod Austin ei hun yn dwyn iau Crist, a'i fod yn chwennych i chwithau i'w dwyn hi. Ond os yw efe yn greulon ac yn falch, mae yn

Cyngor gwr doeth i esgobion Cymru.

[a] Bede, L. II. Chap. 2.

* Yr oedd esgobaeth Caerwrangon a Henffordd, yn cael eu cyfrif yn Nghymru yr amser hwnw.

† Yr oedd Dunod fawr yn ŵr oedranus iawn y pryd hyn.

yn amlwg nad yw efe o Dduw, ac nad oes un angenrheidrwydd i chwi wrando arno. Ac i'r dyben i gael allan pa un ai ei fod yn ostyngedig ai peidio, gadewch iddo ef a'i gyfeillion fod yn y gymmanfa o'ch blaen chwi; ac os cyfyd efe ar ei draed pan fyddoch chwi oll yn myned i mewn, gwybyddwch mai gwas i Grist ydyw, a rhoddwch wrandawiad barchus i'r hyn a ddywedo wrthych. Ond os diystyra efe chwi, ac ni chyfyd i'ch groesawu, a chwithau y nifer mwyaf lluosog, na wrandewch arno ef.' Gwedi cael y cyngor hwn, hwy a ymadawsant, ac a wnaethant fel y gorchymmynwyd iddynt.[a]

CANT VII.

Pan aeth esgobion, athrawon, a dysgedigion Cymru i'r gymmanfa, yr oedd Austin yno yn eistedd yn ei gadair, a'i wisg arch-esgobaethol am dano; ac er mor anrhydeddus oedd y gweinidogion, ni chododd efe i gyfarch iddynt. Pan welodd y Cymry hyn, hwy a ffromasant, ac a'i cyhuddasant ef o falchder, ac ni fynent wrando arno.[b] A thra yr oedd efe â'i holl egni yn cymhell y Cymry i ymostwng i awdurdod y Pab, Dunod fawr, a safodd i fynu, ac a ddywedodd wrth Austin a'i gyfeillion, 'Bydded hyspys i chwi, ein bod ni oll yn ufudd ac yn ostyngedig i eglwys Dduw, ac i'r Pab o Rhufain, ac i bob gwir gristion; a'n bod yn cofleidio

Ail gymmanfa derwen Austin. O. C. 602.

Cyfarchiad Dunod.

B b pawb

[a] Bede, L. II. Chap. 2. [b] Ibid.

CANT VII.



pawb yn ol eu gradd, mewn cariad perffaith, a'u cynnorthwyo trwy air a gweithred, i fod yn blant i Dduw. Ac ni wn i fod un ufudd-dod amgenach nâ hwn yn ddyledus i'r hwn yr ydych chwi yn ei alw yn Bab, neu dad y tadau; a'r ufudd-dod hwn yr ydym ni bob amser yn barod i roddi iddo ef, a phob cristion arall. Hefyd yr ydym ni dan lywodraeth esgob Caerlleon ar Wysg,* yr hwn sydd olygwr dan Dduw arnom ni, i wneuthur i ni gadw y ffordd ysbrydol."[a]

Cynnyg Austin.

Pan glybu Austin hyn, efe a ddywedodd wrth y Cymry, 'Er eich bod chwi yn gwneuthur llawer o bethau yn wrthwynebol i'r defodau a dderbynir gennym ni, a chydsyniad yr eglwys gyffredinol; os bydd i chwi gadw y pasc yr un amser a ninnau, a gweini yr ordinhad o fedydd yn ol defod eglwys sanctaidd ac apostolaidd Rhufain,† ac uno â ni, i bregethu yr efengyl i'r Saeson;

* Yr oeddent yn parhau i'w alw felly, er fod yr arch-esgob y pryd hyn yn byw yn Nhŷ Ddewi.

[a] Spelman's Concil. Vol. I. p. 26, 27.

† Yr oedd eglwysi Cymru yn parhau i gadw y pasc ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis, neu y llawn lloer, yn ol trefn yr Iuddewon. Ond yr oedd eglwys Rhufain mewn ufudd-dod i gymmanfa Nicea, yn cadw y pasc ar y Sabbath a ddygwyddai ar, neu yn nesaf yn ol y llawn lloer cyntaf wedi yr 21 o fis Mawrth.

Yr oedd eglwysi Cymru hefyd yn parhau i weini bedydd

Saeson; fe fydd i ni ddyoddef pob peth arall ag yr ydych chwi yn eu cyflawni yn wrthwynebol i'n defodau ni.' Y Cymry a attebasant, na allent hwy ddim gwneuthur y pethau hyny, na'i gydnabod ef ychwaith yn arch-esgob arnynt. Yna Austin a ddywedodd, 'Gan nad ydych chwi yn foddlon i fyw mewn heddwch â'ch brodyr, yr ydych yn debyg o gael rhyfel â'ch gelynion: a chan na phregethwch chwi ddim o ffordd y bywyd i'r Saeson, chwi gewch ddyoddef cosp marwolaeth trwy eu dwylaw hwynt.'

CANT VII.

Y Cymry yn gwrthod cynnygAustin.

Bygythiad Austin.

Gallasai y Cymry ddeall wrth yr ysbryd annymunol a amlygodd Austin ar ddiwedd y gymmanfa, ei fod yn bwriadu, gan na ymostyngent hwy i awdurdod y Pab, i ymddial arnynt hyd eithaf ei allu.*

B b 2 Yn

i fabanod a dynion mewn oedran yn ol y drefn apostolaidd, heb gyflawni yr holl ddefodau ychwanegol, ag oedd mewn ymarferiad y pryd hyn mewn amryw wledydd. Ond yr oedd gweinidogion eglwys Rhufain, wrth weini bedydd, yn cyflawni y defodau canlynol: megis, 1. Arwyddo y bedyddiedig âg arwydd y groes. 2. Rhoddi llaeth a mel iddynt. 3. Taflu halen i'w geneu. 4. Eneinio eu cyrph âg olew. 5. Eu gwisgo mewn dillad gwynion dros saith niwrnod. Dyma y pethau ag oedd Austin am i esgobion Cymru i'w wneuthur wrth weini bedydd.

a Bede, L. II. Chap. 2.

* Parhaodd eglwysi Cymru yn iach yn y ffydd, ac annibynol ar eglwys Rhufain, oddi amgylch cant a hanner o flynyddoedd gwedi hyn.

CANT VII.



Yn ebrwydd yn ol hyn, Ethelred brenin Northumberland, gwedi cael ei gynhyrfu gan Austin fynach,[a] a gasglodd ei fyddinoedd yn nghyd, ac a ddaeth â llu lluosog i gymmydogaeth Caerlleon ar Ddyfrdwy.* Brochwel mab Cyngen ab Cadell, tywysog Powys, yn gydwybodol o'i anallu i wynebu y fath luoedd lluosog, a anfonodd genhadau at Ethelred i ddeisyf ammodau heddwch. Ond Ethelred yn llawn o sel dros Austin, ac o ddigofaint yn erbyn y Cymry, ni roddodd i Brochwel ei ddymuniad. Yna Brochwel, yn nghyd â'r ychydig filwyr ag oedd gydâg ef, a giliasant yn agos i Bangor îs coed, yn sir Fflint, i ddysgwyl dyfodiad eu gelynion; a'r gweinidogion, dysgedigion, a'r mynachod, ag oedd yn y Fynachlog enwog honno, wedi treulio tri diwrnod mewn ympryd a gweddi, a aethant allan attynt, ac a safasant o'r naill du yn anarfog.[b]

Ethelred gwedi dyfod, ac yn barod i ruthro ar y Cymry, a ganfu yr offeiriaid a'r mynachod yn sefyll yn anarfog o'r naill du; a phan wybu eu bod wedi dyfod allan i weddio am lwyddiant i'w

[a] Godwin's Catal. of Eng. Bishops, p. 45.

* Chester.

[b] Bede, L. II. Chap. 2. Godwin's Catal. of Eng. Bishops, p. 45.

i'w byddinoedd, efe a orchymmynodd i'w filwyr i ruthro arnynt yn union gyrch. Y Saeson wedi cael y gorchymmyn, a ruthrasant yn ffyrnig ar y crefyddwyr diddrwg, ac a'u lladdasant oll,* ond hanner cant a ddiangodd gydâ Brochwel tywysog Powys, yr hwn a ffôdd pan welodd nad oedd yn alluog i wrthsefyll ei elynion.[a] †

CANT VII. Y Saeson yn lladd mynachod Bangor îs coed. O. C. 603.

Er i'r Arglwydd i ddybenion doeth, oddef i'w weision yn mynachlog Bangor îs coed, gael eu dyfetha gan eu gelynion; ni bu efe yn hir heb ddial eu gwaed hwynt. Oblegid pan ddaeth i glustiau y Cymry, fod y Saeson wedi goresgyn Powys, dystrywio Bangor îs coed, a lladd y duwiolion ag oedd yno; Cadfan mab Iago ab Beli,

* Dywedir fod yno un cant ar hugain o saint.

[a] Bede, L. II. Chap. 2.

† Y mae y papistiaid, i'r dyben i amddiffyn enw da Austin, yn dywedyd mai yn y flwyddyn 613 y bu yr ymladdfa hon; a bod Austin wedi marw yn mhell cyn hyny. Ond y mae esgob Godwin, a llawer o awdwyr enwog ereill yn haeru, mai yn y flwyddyn 603, y bu yr ymladdfa hon; ac nid yn unig mai Austin a gynhyrfodd Ethelred i ladd mynachod Bangor îs coed, ond ei fod ef yno yn bresennol, yn annog y milwyr i ruthro ar y Cymry; ac na fu efe ddim farw hyd y flwyddyn 608 neu 611. Y mae esgob Godwin yn dywedyd hefyd, mai ychwanegiad at hanes Bede, yw y geiriau, 'Fod Austin wedi marw cyn hyn;' ac nad oedd y geiriau yma ddim mewn amrywiol o ad-ysgrifenadau Bedé, ag oedd i'w gweled yn ei amser ef. Gwel Godwin's Catal. of English Bishops, p. 45, 46.

CANT VII.

Beli, brenin Gwynedd, yn nghyd â thywysogion Deheubarth a Chornwal, a gynnullasant eu byddinoedd yn nghyd, ac a ymlidiasant ar ol Ethelred; a chwedi ei orddiwes, hwy a ruthrasant ar y Saeson, ac a laddasant ddeng mil o honynt; ac ni ddychwelasant nes iddynt yru Ethelred i ochr ogleddol yr afon Humber. Gwedi ymlid y Saeson dros afon Humber,* cytunasant i Ethelred gael meddiannu cymmaint o Loegr ag sydd o du y gogledd i'r afon Humber, ac i Gadfan gael yr holl wlad o'r afon honno i Gymru.[a]

Deiniol, gn. Y gweinidogion ag a ddiangasant y glanastra yn mynachlog Bangor îs coed, a sefydlasant mewn gwahanol leodd yn Ngwynedd, yn neillduol yn sir Fôn;[b] ond y mae enwau y rhan fwyaf o honynt yn awr gwedi eu claddu mewn angof. Dywedir i un o honynt, sef Deiniolen, neu Deiniol ab Deiniol Ail, fyned i Wynedd uwch Conwy, ac iddo gael ei osod yn olygwr ar gymdeithas Bangor Fawr yn Arllechwedd. Sefydlodd eglwys hefyd yn mhen ychydig o flynyddoedd yn ol hyny, yn sir Gaernarfon.[c]

Y mae

* Y mae afon Humber yn gwahanu Yorkshire oddiwrth Lincolnshire, ac yn cwympo i fôr Germany, yn agos i Holderness.

[a] Cressy's Ch. Hist. B. XIV. Chap. 4.

[b] Rowland's Mon. Antiq. p. 152. [c] Camb. Biog.

Y mae hanes fod llawer o ddynion ag oedd yn enwog mewn duwioldeb a dysgeidiaeth, yn byw yn Ngwynedd a Deheubarth Cymru, yn nechreuad y cant hwn; ac i lawer o honynt fod yn offerynol i blanu eglwysi yn y lleodd hyny, lle nad oedd yr efengyl yn cael ei chyhoeddi o'r blaen. CANT VII.

Beuno * mab Bugi ab Gwynlliw, a sefydlodd llawer o eglwysi yn Ngwynedd yn nghylch yr amser hyn; ac a osododd athrofa hefyd i fynu yn Clynog yn sir Gaernarfon, yr hon a alwyd wedi hyny, Clynog Fawr yn Arfon.[a] Dywedir fod Gwenfrewi,† i'r hon y mae Tref Ffynon yn sir Fflint, gwedi ei chyssegru, yn ddyscybles i Beuno. Gwenfrewi a gyflwynodd ei hun yn ieuangc i'r Arglwydd, a bu yn ddiwyd ac yn ddiargyhoedd yn ei wasanaeth trwy ei holl fywyd. Ar un diwrnod, pan oedd ei rhieni yn yr addoliad cyhoeddus, a hithau ar ryw achlysur neillduol gwedi aros gartref. Caradog, mab i bendefig

Beuno yn sefydlu athrofa Clynog. O. C. 616.

Gwenfrewi.

* Y saith Gefnder Sant
Dewi a Chybi achubant beunydd
Dwyn Beuno yn Warant
Dingad Cynfarch a barchant
A Deiniol a Seirioel Sant.
Dyna'r saith eurfaith arfer gan Feudwy
Gwynfydu bob amser
A fu'n y Maen graen grynder
A'r saith a rifodd y ser.
Archaiol. Vol. II. p. 36.

a Camb. Biog. † Winefride.

CANT VII.

bendefig yn y rhan honno o Gymru, a aeth i mewn atti hi, a chwedi ei gweled yn unig wrthi ei hun, efe a wnaeth gynnygiadau iddi, ag oedd yn anghydsyniol â'i rhinwedd, ac â'i anrhydedd hi. Gwenfrewi, pan glywodd ei gynnygiad anweddaidd ac anfoesol, a frawychodd yn ddirfawr, ac a redodd tu a'r eglwys lle yr oedd ei rhieni yn addoli. Ond cyn iddi gyrraedd yr eglwys, Caradog a'i goddiweddodd; a chan ei bod yn parhau yn ddiymdro, efe a dynodd ei gleddyf, ac yn ei gynddeiriogrwydd a dorodd ben y wyryf ddiniweid.[a] * Er i Gwenfrewi gael ei lladd yn Nhref Ffynon, y mae yn debygol mai yn mhlwyf Gwytherin yn sir Dinbych, y claddwyd hi.[b]

Ffinan. Gwrfyw. Yn nghylch yr amser hyn, Ffinan a sefydlodd eglwys yn Llan Ffinan yn sir Fôn; a Gwrfyw mab Pasgen ab Urien, a sefydlodd eglwys hefyd yn yr un sir. Yr oedd gan Gwrfyw fab a'i enw

Nidan. Nidan, yr hwn oedd wedi cael ei ddwyn i fynu i'r weinidogaeth, ac yn athrawiaethu yn athrofa Penmon. Y mae Llanidan gwedi ei chyssegru i'r sant hwn.[c]

Bach

[a] Brit. Sanct. Cressy's Ch. Hist. B. XVI. Chap. 8.

* Dywedir i ffynon Gwenfrewi, yn Nhref Ffynon yn sir Fflint, darddu allan yn y fan lle y torwyd pen Gwenfrewi; ac mai dafnau o'i gwaed hi yw y manau cochion ag sydd i'w gweled ar y cerrig sydd yngwaelod y ffynon honno. Adroddir hefyd lawer o chwedlau pabaidd a gwrachiaidd ereill, am y wraig rinweddol honno, ag sydd yn annheilwng o sulw y dyallus.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 616. [c] Cam. Biog.

Bach ab Carwed, oedd bendefig enwog yn ei ddydd, a chwedi iddo ffoi am nodded i Wynedd, efe a sefydlodd eglwys yn agos i Gonwy, yr hon a alwyd yn ol ei enw ef. Cedwyn mab Gwgon Gwron, a fu yn offeryn i blanu llawer o eglwysi yn Nghymru, ac y mae Llanedwyn yn sir Dinbych gwedi ei chyssegru iddo ef.[a]

CANT VII.

Bach ab Carwed.

Cedwyn.

Er fod Teyrnog, Tyfrydog, a Tudur, meibion Arwystyl Gloff, yn saint enwog yn y cant hwn, nid oes un hanes iddynt fôd yn offerynol i sefydlu eglwysi. Ond Marchell eu chwaer hwynt, yr hon oedd yn byw yn sir Drefaldwyn, a fu yn offeryn i sefydlu mynachlog Ystrad Marchell yn y sir honno. Y mae eglwys Llangynyw yn y sir hon, gwedi ei chyssegru i Cynyw; ac eglwys Llanwrin wedi ei galw yn ol enw Gwrin. Ond nid oes ond enwau y ddau ŵr duwiol hyn yn unig, gwedi cyrhaeddyd ein dyddiau ni.[b]

Teyrnog. Tyfrydog. Tudur.

Marchell.

Cynyw.

Gwrin.

Y mae dwy eglwys yn sir Aberteifi, gwedi eu cyssegru i Llwchaiarn, mab Hygarfael ab Cyndrwyn, yr hwn oedd yn byw yr amser yma, ac ysgatfydd yn gweinidogaethu yn y ddau le hyny. Y mae eglwys iddo hefyd yn sir Drefaldwyn. Llandygwy, yn yr un sir, sydd gwedi ei chysseg-ru i Tegwy, mab Dingad ab Nudd Hael, a brawd Tyfriog, gweinidog Llandyfriog.[c]

Llwchaiarn.

Tegwy.



[a] Camb. Biog. [b] Ibid. [c] Ibid.

CANT VII.

Arthne. Cwnnwr. Cenych. Cathan. Curig.

Nid oes un hanes neillduol yn nghylch Arthne, Cwnnwr, a Cenych, ond eu bod yn saint, ac eglwysi gwedi eu cyssegru iddynt yn sir Gaerfyrddin.[a] Yr oedd Cathan yn fab i Cawrdaf ab Caradog Freichfras, ac yn weinidog llafurus yn Llangathen, yn y cant hwn. Curig, yr hwn oedd yn ŵr enwog mewn duwioldeb a dysgeidiaeth, a ddaeth i Gymru yn y cant hwn; ac a fu yn offerynol i blanu llawer o eglwysi yma. Y mae un wedi ei chyssegru iddo yn sir Drefaldwyn, ac un arall yn sir Gaerfyrddin.[b] Y mae eglwys Llan Sadyrnin, yn sir Gaerfyrddin, wedi ei chyssegru i Sadyrnin. Yr oedd Pedrog yn fab i Clement, tywysog Cornwal, ac yn ŵr enwog yn nghylch yr amser hyn. Y mae eglwys gwedi ei chyssegru iddo yn sir Benfro, ac un arall yn sir Gaerfyrddin.[c] Ac nid yw yn annhebygol, mai yn y lleodd hyny yr oedd yn gweinidogaethu.

Sadyrnin. Pedrôg.

Yr Arglwydd a fendithiodd lafur-waith ei weision yn sir Forganwg, i raddau helaeth yn nechreuad y cant hwn. Ac er fod y Saeson paganaidd yn anrheithio y rhan honno o Gymru, ac yn lladd y rhai a anfonid i bregethu yr efengyl, cafodd llawer o gynnulleidfaodd cristianogol eu casglu yr amser hyny, enwau pa rai sydd yn aros hyd heddyw. Dyma yr amser y sefydlwyd eglwys

[a] Archaiol. Vol. II. p. 27, 36. [b] Camb. Biog. [c] Ibid.

eglwys Rhos Ffili,* yn sir Forganwg, yr hon a gyssegrwyd i Ffili mab Cenydd ab Gildas. Yr oedd eglwys hefyd yn yr amser gynt gwedi ei chyssegru i Ufelwyn, mab Cenydd ab Aneurin, yr hwn a fu dros ychydig o amser yn gweinidogaethu yn Llandaf. Y mae eglwys Llangyfelach gwedi ei chyssegru i Cyfelach, yr hwn oedd yn weinidog derbyniol yn Llandaf, yn nechreuad y cant hwn; a lle y lladdwyd ef gan y Saeson paganaidd. Cyssegrwyd eglwys Llansamled, i Samled, hanes pa un sydd yn awr gwedi ei golli. Yr oedd Cwyan, yn ŵr duwiol a llafurus yn nghylch yr amser hyn. Efe a sefydlodd gynnulleidfa yn Llangwyan, yn Morganwg, ac a laddwyd gan y Saeson paganaidd. Y mae Llan Wyno, yn yr un sir, wedi ei chyssegru i Gwyno, un o hiliogaeth Bran ab Llyr Llediaith.[a]

CANT VII.

Ffili.

Ufelwyn.

Cyfelach.

Samled.

Cwyan.

Gwyno.

Isan, gwedi ei ddwyn i fynu yn athrofa Illtyd, a aeth allan i bregethu yr efengyl; ac a wnaethpwyd yn offerynol i blanu eglwys mewn man yn sir Forganwg, a alwyd o hyny allan, Llan Isan.[b]

Isan.

Yr oedd Tysilio, mab Brochwel, tywysog Powys, yn ŵr enwog iawn mewn duwioldeb a dysgeidiaeth yn y cant hwn. Efe a ysgrifenodd

Tysilio.

 hanes

* Rhos Sili, mewn rhai ysgrifenadau.

[a] Camb. Biog. [b] Ibid.

CANT VII. hanes crefydd yn Mrydain, yn yr hwn yr oedd yn dynoethi coel-grefydd y derwyddon i raddau helaeth; ond y mae yr hanes a ysgrifenodd yn awr gwedi ei golli.[a] Y mae eglwys gwedi ei chyssegru i Tysilio yn sir Fon; un arall yn sir Dinbych; un arall yn sir Drefaldwyn; un arall yn sir Aberteifi; un arall yn sir Gaerfyrddin; ac un arall yn sir Benfro. Ac nid annhebygol yw, iddo fod yn offeryn i blanu y rhan fwyaf o'r eglwysi hyny.

Ffraid. Y mae llawer o eglwysi Cymru gwedi eu cyssegru i Ffraid Leian, merch Cadwrthai o'r Iwerddon; yr hon oedd yn wraig lawn o sel dros Dduw a'i achos y pryd hyn. Gelwir hi St. Bride gan y Sacson.[b] Y mae dwy eglwys wedi eu cyssegru iddi hi yn sir Dinbych; un yn sir Feirionydd; un yn sir Drefaldwyn; dwy yn sir Faesyfed; un yn sir Aberteifi; un yn sir Benfro; un yn sir Frycheiniog; tair yn sir Forganwg; a thair yn sir Fynwy.

Collen. Yn nghylch yr amser hyn yr oedd Collen * mab Petrwn ab Coleddog, yn gweinidogaethu

Doged. yn Llangollen, yn sir Dinbych: a Doged mab Cedig ab Caredig ab Cunedda, yr hwn a elwir

mewn

[a] Davies's Myth. p. 19. [b] Achau saint ynys Brydain.

* Y mae hanes bywyd Collen gwedi ei ysgrifenu yn y iaith Gymraeg.

mewn rhai ysgrifenadau, Doged Frenin, yn gweinidogaethu yn Llan Doged, yn yr un sir.[a] CANT VII.

Yr oedd Edeyrn mab Nudd ab Beli ab Rhun ab Maelgwn Gwynedd, i'r hwn y mae Bod Edeyrn yn sir Fon gwedi ei chyssegru, yn fardd yn ei ieuengctyd; ond yn ei henaint efe a gofleidiodd grefydd, ac a adeiladodd Bod Edeyrn; lle y mae yn debygol yr oedd yn byw. Edeyrn.

Y mae plwyf Llandegfan, lle y mae trêf Byw Mares, yn sir Fon, gwedi ei gyssegru i Tegfan mab Carchedwys ab Cyngu; ac yno, mae yn debygol, yr oedd yn gweinidogaethu. Y mae Llan Elaeth Frenin, yn yr un sir, wedi ei chyssegru i Elaeth, mab Meirig ab Idno ab Meirchion, pendefig o ogledd Lloegr, yr hwn oedd sant a bardd enwog yn nghylch yr amser hyn. A phan y gyrwyd ef o'i etifeddiaeth gan ei elynion, efe a sefydlodd yn Mangor Seiriol, lle y treuliodd y rhan ddiweddaf o'i fywyd.[a] Yr oedd Padrig, mab Alfryd ab Goronwy, yn aelod o gynnulleidfa Cybi; ac y mae Llan Badrig wedi ei chyssegru iddo ef.[b] Tegfan. Elaeth. Padrig.

Nid oes un hanes neillduol am Dyneio, ond fod Dyneio.

[a] Camb. Biog.

[a] Y mae peth o waith y gwr hwn yn yr Archaiology of Wales.

[b] Camb. Biog.

CANT VII. fod plwyf Dynio, yn yr hwn y mae tref Pwll Heli, wedi ei gyssegru iddo ef.

Egrin. Dywedir fod Egrin, mab Gwrydyr Drwm, yn sant enwog yn yr amser hyn; ac y mae Llan Egrin yn sir Feirionydd, gwedi ei chyssegru iddo. Y mae plwyf Aelhaiarn wedi ei gyssegru i Elhaiarn, mab Hygarfael ab Cyndrwyn.[a]

Aelhaiarn.

Dogfael. Yr oedd Dogfael, mab Ithel ab Caredig, yn sant enwog yn nghylch yr amser hyn; ac y mae eglwys Llan Dydoch yn sir Benfro, gwedi ei chyssegru iddo ef.[b]

Egwad. Y mae Llanegwad yn sir Gaerfyrddin, gwedi ei chyssegru i Egwad, mab Cynddilig, ab Cenydd ab Aur y Coed Aur, yr hwn oedd sant enwog yn ei ddydd.[c]

Cadwaladyr yn cael ei goroni. O. C. 660. Ar farwolaeth Cadwallon, Cadwaladyr ei fab a goronwyd yn frenin Gwynedd yn ei le ef; ac mewn enw yn frenin Brydain. I ochelyd y newyn a'r pla ag oedd y pryd hyny yn Nghymru, mewn canlyniad i'r difrod a wnelsid gan y Saeson, Cadwaladyr a'i bendefigion, yn nghyd â llawer o'i ddeiliaid, a aethant i Lydaw; ac a dderbyniwyd yn garedig gan Alan, brenin y wlad honno. Pan glybu Cadwaladyr fod y newyn a'r pla gwedi peidio yn Nghymru, a bod y Saeson â lluodd ychwanegol yn ymdrechu helaethu eu goruchafiaeth,

[a] Camb. Biog. [b] Achau saint ynys Brydain. [c] Ibid.

goruchafiaeth, efe a ddechreuodd ddarparu i ddychwelyd yn ei ol. Ond pan oedd yn myned i gymmeryd llong, efe a rybuddiwyd mewn gweledigaeth i roddi heibio ei holl ofalon bydol, a myned yn union-gyrch i Rhufain i gael ei urddo yn offeiriad gan y Pab.* Cadwaladyr yn tybied mai gorchymmyn o'r nefoedd oedd y weledigaeth a gafodd, a roddodd i fynu ei deyrnas yn Nghymru, ac a aeth i Rhufain; a'r Pab Sergius a'i derbyniodd ef yn roesawgar. Cadwaladyr gwedi myned i Rhufain, a eilliodd ei ben, yn ol defod y papistiaid yn y dyddiau hyny, a derbyniwyd ef i blith y mynachod, lle y treuliodd efe weddill ei ddyddiau.[a]

CANT VII.

Cadwaladyr yn myned i Rhufain. O. C. 686.

Peidiodd yr enw brenin Brydain, pan aeth Cadwaladyr i Rhufain; a chafodd Cymru ei llywodraethu gan wahanol dywysogion o hyny allan, hyd yr amser ag y daeth yn ddarostyngedig i lywodraeth Lloegr.[b] Gelwid y brenin hwn yn Gadwaladyr fendigaid, o blegid yr amddiffyniad a'r cymmorth a roddai efe i'r cristianogion hyny a yrid gan y Saeson o'u hetifeddiaethau, ac a ffoent i Gymru am ddiogelwch.[c] Y mae Llan-

* Er nad oedd y Cymry y pryd hyn wedi ymostwng i iau y Pab, mae yn amlwg fod Cadwaladyr yn babydd.

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 138—141.

[b] Rowland's Mon. Antiq. p. 162. Lewis's Hist. Great Brit. p. 221. [c] Camb. Biog.

CANT VII.

Llangadwaladyr * yn sir Fon gwedi ei chyssegru i'r sant brenhinol hwn.

Yr oedd yr esgobion a'r gweinidogion mwyaf enwog yn yr amser hyn, yn myned oddi amgylch i bregethu yr efengyl, a phlanu eglwysi pa le bynnag y caent annogaeth. Gwedi sefydlu ar ryw fan, lle y byddent yn golygu y gallent fod yn ddefnyddiol i ddwyn eu cyd-greaduriaid i wybodaeth o'r gwirionedd, a chael cennad a chynnorthwy gan arglwydd † neu dywysog y lle hwnw, i adeiladu crefydd-dŷ, hwy a breswylient yn y tŷ hyny; ac fel Paul yn Rhufain, a dderbynient bawb a ddeuai attynt, ac a'u hyfforddent yn egwyddorion y grefydd gristianogol. Ond gan nad oedd yn gyfleus i bawb ag a fyddai yn adeiladu crefydd-dai i fyw ynddynt eu hunain, gosodent ryw rai o'u dyscyblion ynddynt, i gyflawni dyledswyddau y weinidogaeth; a gelwid llawer

* Y mae yr ysgrifeniad ganlynol ar y garreg uwch ben drws Llangadwaladyr, oddiwrth ba un y gellir barnu i Gadfan tad-cu Cadwaladyr gael ei gladdu yno.

Catamanus Rex Sassientisimus
Opinatisimus omnium Regum.

Rowland's Mona Antiq. p. 157.

† Beuno a roddodd i Cadfan brenin Gwynedd, yr hwn oedd yn byw yn Nghaer Seont yn agos i Gaernarfon, deyrn-wialen fechan o aur, am ei gennad a'i gynnorthwy i adeiladu crefydd-dŷ Clynog fawr. Rowland's Mona Antiq. p. 153.

llawer o honynt, yn ol enwau y personau a fyddai yn byw, ac yn gweinidogaethu ynddynt.[a] CANT VII.

Dechreuad eglwysi plwyfol.

Dyma ddechreuad yr eglwysi plwyfol, ag sydd yn awr yn Nghymru. Ac fe debygid fod sefyllfa llawer o honynt yn cyfatteb i'r ymarferiad ag oedd yn mhlith dysgawdwyr y cant hwn, o ymneillduo oddiwrth y byd i wasanaethu Duw mewn lleodd unig. O blegid y mae llawer o eglwysi plwyfol Cymru wedi eu hadeiladu mewn lleodd mor aneglur ac unig, fel ag y mae yn amlwg, fod eu hadeiladwyr yn gofalu mwy am eu hunigrwydd eu hunain, nag am gyfleusdra eu cynnulleidfaodd.[b]

Gwedi adeiladu y crefydd-dŷ, a gosod addoliad cyhoeddus i fynu ynddo, trigolion y gymmydogaeth a gyfranent o'u meddiannau tu ag at gynhaliaeth y cyfryw ag a fyddai yn gweini iddynt yn mhethau Duw; ac felly daeth cymmydogaethau crefydd-dai Cymru, mewn amser, i fod yn blwyfau, fel ag y maent yn bresennol.[c]

Eglwysi blodeuog yn Nghymru.

Yr oedd llawer o athrofäau enwog, ac eglwysi blodeuog yn Nghymru y pryd hyn; ac er nad oedd y wlad gwedi ei rhannu yn blwyfau, yr oedd y rhan fwyaf o'r eglwysi ag a roddodd

 enwau

[a] Rowland's Mon. Antiq. p. 153, 154. [b] Ibid. p. 159.

[c] Ibid. p. 160.

CANT VII.

enwau i'r plwyfau, ag sydd yn bresennol gwedi eu sefydlu cyn diwedd y cant hwn.[a]

Y mae llawer o eglwysi plwyfol Cymru wedi eu cyssegru i'r saint a grybwyllir am danynt yn yr ysgrythur; megis Pedr, Ioan, Mair, Michael yr arch-angel, ac ereill. Y mae ereill o honynt gwedi eu galw yn ol enwau y lleodd, lle y maent gwedi eu badeiladu. Ond y rhan fwyaf o honynt sydd gwedi eu cyssegru i'r tywysogion, pendefigesau, esgobion, neu y gweinidogion ag a fu yn offerynol i blanu eglwysi yn y lleodd lle y maent; neu o leiaf i'r gweinidogion a osodwyd i weinidogaethu ynddynt, gan y gwyr a'r gwragedd sanctaidd, a fu yn offerynol i'w sefydlu hwynt.[b]

Gwedd-eidd-dra gweinid-ogion.

Yn y pedwar cant cyntaf o gristianogaeth, gweinidogion yr efengyl a wisgent eu gwallt mewn modd gweddaidd, yn ol trefn yr amseroedd hyny, heb un gwahaniaeth rhyngddynt a'u cydwladwyr yn gyffredinol. Yn y pummed cant, hwy a ddechreuasant mewn ffordd o wahaniaeth oddiwrth y lluaws yn gyffredinol, i eillio eu holl ben, pan y derbynid hwynt i swyddau eglwysig. Yn nghylch dechreuad y chwechfed cant, y mynachod a dybiasant yn addas i adael heibio yr hen arferiad o eillio yr holl ben, ac i arferyd y drefn o eillio eu penau ar

[a] Rowland's Mon. Antiq. p. 153. [b] Ibid. p. 158.

ar ddull y goron ddrain, â pha un y coronwyd Crist; fel ag y byddai iddynt (yn ol eu tyb eu hunain) ddwyn gwaradwydd Crist ar eu penau. Yr offeiriaid hefyd a ddilynasant eu siampl hwynt. Ond gan nad oedd y dull hyn o eillio y pen mewn ymarferiad yn mhlith gweinidogion Llydaw, pan ddaeth Garmon i bregethu i Frydain, gweinidogion Cymru a ymlynent wrtho yn yr hen ddull.[a]

CANT VII.

Pan gafodd y Saeson eu dychwelyd i'r ffydd gristianogol, trwy bregethiad Austin, a'r cenhadau ereill a anfonodd y Pab i Loegr, y rhan fwyaf o honynt a gofleidiasant yr holl ddefodau ag oedd mewn ymarferiad y pryd hyny gan eglwys Rhufain; a dangosasant lawer o sel drostynt.

Gweinidogion eglwysi Lloegr, gwedi cyfarfod mewn cymmanfa i drefnu mesurau addas i adeilad yr eglwys gyffredinol, a farnasant fod eglwysi Cymru yn cyfeiliorni yn fawr, am nad oeddent yn cydffurfio â holl ddefodau eglwys Rhufain; a chytunasant i ymdrechu i'w dwyn i'r un feddwl a hwynt eu hunain. Ac i'r dyben hyn, dymunasant ar Aldelm, yr hwn oedd yn abad enwog yn eu plith, i ysgrifenu llythyr at Geruntius tywysog Cornwal, i ddeisyf arno i wneuthur ei oreu i ddwyn esgobion y Cymry ag oedd

Sel y Saeson dros eglwys Rhufain. O. C. 692.



a Carte, Vol. I. p. 232.

CANT VII.



oedd yn ei dalaith ef, i gydffurfio â defodau eglwys Rhufain, a byw mewn undeb a chariad â'u brodyr, y Saeson.

Aldelm yn gwybod fod tywysog Cornwal y pryd hyn yn ymddibynu llawer ar Inas, brenin y West Saxons, a gyd-agweddodd â dymuniad y Gymmanfa, ac a ysgrifenodd y llythyr canlynol at Geruntius tywysog Cornwal.

Llythyr Aldelm at Geruntius.

'At y gogoneddus arglwydd Geruntius, brenin y deyrnas orllewinol, yr hwn yr wyf yn ei gofleidio â chariad brawdol; ac hefyd at holl weinidogion Duw yn Nghornwal, i ba rai yr ydwyf yn dymuno iachawdwriaeth yr Arglwydd.'

'Pan oedd esgobion Lloegr yn gynnulledig mewn cymmanfa, ac yn ymgynghori yn nghylch daioni yr holl eglwysi, hwy a ddeisyfasant arnaf fi, er mor annheilwng ydwyf, i ysgrifenu attoch chwi, gan ddeisyf arnoch, na thorrech undeb yr eglwys gyffredinol, ac na chofleidiech feddyliau ag sydd yn anghydsyniol â'r ffydd gristianogol, a thrwy hyny i ddifuddio eich hun o ddedwyddwch trag'wyddol.'

'Ni a glywsom fod gweinidogion yn eich talaeth chwi, ag sy'n gwrthod gwneuthur ymarferiad o eilliad St. Pedr,* tywysog yr apostolion; a'u bod

* Eilliad y coryn ar ddull y goron ddrain, mae yn debygol, oedd eilliad St. Pedr.

CANT VII.

'bod yn amddiffyn eu hunain trwy ddywedyd eu 'bod yn eillio eu penau yn ol defod eu tadau ag 'oedd yn ddynion enwog mewn gras. Ond ni 'wyddant hwy mae Simon y swynwr, oedd llyf-'elwr yr eilliad hwnw; ac mai St. Pedr yw 'awdwr yr eilliad ag sydd mewn ymarferiad 'gennym ni; ac iddo gael ei osod ganddo yn yr 'eglwys i ddybenion pwysfawr.'

'Y mae yn eich plith hefyd ymarferiad arall, 'ag sydd yn fwy niweidiol i eneidiau dynion; 'sef, nad ydych yn cadw y pasc ar yr amser ag 'y cytunwyd i'w gadw gan gymmanfa Nicea, ac 'yn ol dull eglwys Rhufain.'

Casineb y Cymry at babyddiaeth â'r Saeson.

'Heblaw yr ysgelerder hyn, y mae peth arall, 'yn mha un y mae gweinidogion deheu-barth 'Cymru yn gwyro oddiwrth y ffydd gyffredinol. 'Y maent yn tybied eu hunain mor sanctaidd, 'fel na chyfeillachant â neb o' honom ni. Ni 'unant â ni ychwaith mewn gweddiau; ac ni 'chymunant â ni ar y bwrdd. Ac mor ffiaidd 'ydym yn eu golwg, fel nad yfant o'r un cwpan a nyni, heb ei ysgwrio ef yn gyntaf.'

'Y mae y fath ymddygiad a hyn mor groes i 'ysbryd yr efengyl, fel ag y mae yn galw am yr 'edifeirwch a'r galar mwyaf. A chan fod y 'pethau hyn yn wir, yr ydym yn deisyf arnoch, 'yn y modd mwyaf gostyngedig, ac yn eich tynghedu,

CANT VII.

'tynghedu, fel ag yr ydych yn gobeithio cael 'myned i ogoniant, na b'o i chwi mwyach trwy 'falchder a chyndynrwydd, gasau athrawiaethau 'a rheolau yr apostol bendigedig St Pedr; na 'diystyru traddodiadau a defodau eglwys Rhuf-'ain. Oblegid Crist a ddywedodd wrth Pedr; 'Ti yw Pedr; ac ar y graig hon yr adeiladaf fy 'eglwys; a phyrth uffern ni's gorchfygant hi. 'A rhoddaf i ti agoriadau teyrnas nefoedd, a pha 'beth bynnag a rwymech ar y ddaear, a fydd 'rwymedig yn y nefoedd; a pha beth bynnag a 'ryddhaech ar y ddaear, a fydd wedi ei ryddhau 'yn y nefoedd. Os yw Pedr, gan hyny, gwedi 'cael agoriadau teyrnas nefoedd, pwy ag sydd 'yn diystyru ordinhadau yr eglwys, a all fod 'mor rhyfygus a dysgwyl cael myned i mewn 'trwy y porth i baradwys Duw? Canys os der-'byniodd Pedr y fraint i ryddhau, a'r awdurdod 'i rwymo yn y nefoedd ac ar y ddaear, pa fodd 'y gall y rhai hyny, ag nad ydynt yn cadw y 'pasc, nac yn eillio eu penau, yn ol defod 'eglwys Rhufain, obeithio cael eu rhyddhau 'oddiwrth eu pechodau.'

Pabyddiaeth yn ei grym.

'Nid yw gwiw i weinidogion Cymru i esgus-'odi ac amddiffyn eu hunain, trwy ddywedyd eu 'bod hwy yn parchu o'u calon holl orchymmyn-'ion a rheolau yr hen Destament a'r newydd; 'a'u bod yn credu â'u holl galon fod y Duwdod 'yn hanfodi yn dri pherson, ac etto yn un Duw anfeidrol;

CANT VII.

'anfeidrol; a'u bod yn pregethu i'r bobl ddirgel-
'wch cnawdoliaeth, marwolaeth, adgyfodiad ac
'esgyniad Crist; a'u bod yn cyhoeddi gydâ di-
'wydrwydd fod barn i ddyfod, pan y bydd i
'bawb gael eu pwyso yn y glorian, a derbyn yn
'ol eu gweithredoedd; a'u bod hwy yn gobeith-
'io, trwy ffydd yn Nghrist, i gael ymddangos yn
'mhlith ei ganlynwyr glân, ar ei ddeheu-law
'mewn gogoniant.' *

Eondra a rhyfyg y Papistiaid.

'Ond ni all y pethau hyn fod o un budd idd-
'ynt, tra y byddont yn sefyll allan o gymundeb
'yr eglwys lan gyffredinol. Mewn gair, ofer
'yw ffydd y dyn hwnw, nad yw yn ufuddhau i
'holl reolau a gorchymmynion St. Pedr. Canys
'y mae sylfaen yr eglwys, a chadernid y ffydd,
'yn gorphwys yn benaf ar Grist, ac yn ganlynol
'ar St. Pedr.'[a]

Pan dderbyniodd Geruntius tywysog Cornwal y llythyr anysgrythurol, direswm, a phabaidd hwn o eiddo Aldelm, efe a'i gwnaeth yn hyspys i'r esgobion a'r gweinidogion cristianogol, ag oedd yn ei dalaith ef. Ac fe ddywedir i rai o'r bobl ag oedd yn byw nesaf at y Saeson, gael eu hennill trwyddo i gydffurfio â defodau eglwys Rhufain.[b] Ond amlwg yw, nad oedd y Cymry

* Yr oedd eglwysi Cymru y pryd hyn yn iach yn y ffydd.

[a] Cressy's Ch. Hist. B. XIX. Chap. 17. [b] Ibid.

CANT VII.

Cymry yn gyffredinol y pryd hyn ddim mor anwybodus o athrawiaethau yr efengyl, nac mor esgeulus o'u rhydd-did cristianogol, fel ag y rhoddent ufudd-dod i eglwys ag oedd mor gyfeiliornus.

Tra y parhaodd yr athrofäau i anfon allan ddynion duwiol a dysgedig, yn medru iawn-gyfrannu gair y gwirionedd, nid oedd gwiw i'r Pab na'i weision ffyddlon yn Lloegr, geisio denu gweinidogion Cymru i gydffurfio ag athrawiaethau, a defodau anysgrythurol eglwys Rhufain.

Pab-iaeth

Ac er cymmaint o sel oedd gan y papistiaid dros eu heglwys, ac er cymmaint o eiriau denu, ac o fygythiadau oedd yn llythyr Aldelm, sicr yw i'r corph o gristianogion yn Nghymru, barhau yn ddiysgog yn y ffydd, a sefyll yn wrol dros y rhydd-did, â pha un y rhyddhaodd Crist ei eglwys, flynyddoedd gwedi hyn.

YR

## YR WYTHFED CANT.

PAN aeth Cadwaladyr brenin Brydain i Rhufain, efe a adawodd Idwal Ywrch, ei fab bychan, dan olygiad Alan brenin Llydaw. Alan yn ŵr trahaus, ac yn gweled nad oedd un brenin ar y Cymry, a dybiodd y gallasai efe yru y Saeson allan o Loegr, a chymmeryd meddiant o lywodraeth Brydain oll. Ac i'r dyben i ddwyn ei amcanion tra-arglwyddiaethol oddi amgylch, efe a gasglodd ei fyddinoedd yn nghyd, ac wedi gosod Ifor ei fab yn flaenor arnynt, a'u hanfonodd i Frydain. Ifor gwedi tirio yn mharthau gorllewinol yr ynys, a gymmerodd feddiant o Gornwal, Defonshire, a gwlad yr Haf: ond yn lle ymwroli, gwthio yn mlaen, a difeddiannu y Saeson o'u tiriogaethau, efe a wnaeth heddwch â hwynt, ac a briododd Ethelburga cefnither Centwin, yr hwn oedd y pryd hyny yn frenin y West Saxons. Trwy y briodas hon, yn nghyd â marwolaeth Centwin, a mynediad Cadwell, nai Centwin, i Rhufain, daeth Ifor i fod yn frenin ar y Saeson a'r Cymry ag oedd yn mharthau gorllewinol yr ynys. Yr oedd Ifor gwedi llyngcu

CANT VIII.

Ifor a'i fyddin yn dyfod i Loegr.

CANT VIII.

athrawiaethau eglwys Rhufain, ac yn dwyn mawr sel dros ei thraddodiadau. Efe a adeiladodd fynachlog yn Glastonbury yn ngwlad yr Haf, ac a'i cynnysgaeddodd â llawer o feddiannau. Dywedir hefyd iddo roddi llawer o diroedd i eglwys Winchester.[a]

Ifor yn adeiladu mynachlog.

Gwedi blino ar ofalon pwysfawr y llywodraeth, ac ysgatfydd yn teimlo gofid am yr anghyfiawnder ag oedd wedi wneuthur â hiliogaeth Cadwaladyr, Ifor a ryddodd i fynu lywodraeth y Saeson i'w gefnder, Adelred; a llywodraeth y Cymry i Rhodri Molwynog, mab Idwal Ywrch; ac yn ol siampl Cadwaladyr a aeth i Rhufain, lle gorphenodd ei ddyddiau mewn llawenydd a gorfoledd.[b]

Ifor yn myned i Rhufain. O. C. 720.

Adelred brenin y West Saxons, yn anfoddlon i Rodri Molwynog gael llywodraeth y Cymry ag oedd yn mharthau gorllewinol Brydain, a oresgynodd Defonshire, ac a'i difrododd â'r cleddyf. Ond pan aeth i gyffiniau Cornwal, y Cymry a'i cyfarfuant, ac a'u gorchfygasant â lladdfa fawr.[c]

Amgylchiadau galarus y Cymry.

Yr oedd yn amser gofidus iawn ar y Cymry yn y cant hwn, o blegid y rhyfeloedd aml ag oedd rhyngddynt a'r Saeson, ac ymdrechiadau parhaus y pabyddion i daenu eu hegwyddorion cyfeiliornus trwy yr holl wlad. Cyn gynted ag y caffai y Cymry ychydig seibiant, i fwynhau eu rhagor-

[a] Powell's Hist. of Wales, p. 13, 14. [b] Ibid. p. 15. [c] Ibid.

rhagor-freintiau gwladol ac eglwysig, rhuthrai eu gelynion drachefn arnynt; neu cyfodai rhyw anghydfod yn eu plith eu hunain, fel na chaent amser i gynnyddu mewn gwybodaeth, na meithrin yn eu mynwesau y grasusau a'r rhinweddau gogoneddus hyny ag sydd yn nawseiddio tymherau ffyrnigaidd dyn. Er hyny nid oedd yr Arglwydd gwedi eu llwyr adael. Yr oedd yr athrofäau yn parhau i anfon allan lawer o ddynion duwiol a dysgedig; ac er nad oedd ond ychydig o ychwanegiad at rifedi yr eglwysi, yr oedd y rhan fwyaf o'r rhai ag oedd wedi eu sefydlu yn y ddau cant diweddaf, yn parhau yn iach yn y ffydd, ac yn ddifeius yn eu bucheddau. Ond cyn diwedd y cant hwn, eglwysi Cymry a gofleidiasant gyfeiliornadau pabyddiaeth i raddau pell. CANT VIII.

Yr un flwyddyn ag y cafodd Rodri Molwynog ei wneud yn dywysog ar Gymry Cornwal, y Saeson a ruthrasant i ddeheu-barth Cymru, ac a ddifrodasant y wlad i raddau galarus. Cymmaint oedd eu gelyniaeth y pryd hyny yn erbyn cristianogion y deheu-barth, fel ag y lladdasant esgob Llandaf, yn nghyd â llawer o ddoethion y plwyf; ac y dinystriasant eglwysi Llandaf, Tŷ Ddewi, a Llanbadarn.[*] Ond cristianogion y deheu-barth yn gwybod, mai trwy lawer o orth- O. C. 720.



[*] Archaiol. Vol. II. p. 472.

CANT VIII. rymderau mae yn rhaid myned i mewn i deyrnas Nefoedd, a ymwrolasant, ac a adgyweiriasant eu temlau drachefn.

Bywyd a marwolaeth Bede. Bede yr hanesydd, a anwyd yn mhentref Iarrow, yn agos i Durham, ac a ddygwyd i fynu yn mynachog S. Benedict yn y gymmydogaeth honno, ac a gynhyddodd i raddau helaeth mewn pob cangen o ddysgeidiaeth, ag a addysgid yn y lle hwnw. Pan oedd yn ddeg ar hugain oed, cafodd ei urddo yn offeiriad; a chymmaint oedd ei glod am ddoethineb a rhinweddau da, fel yr anfonodd y Pab atto, i ddeisyf arno ddyfod i Rhufain i'w gynnorthwyo ef mewn matterion eglwysig. Ond nid ymddengys i Bede gyd-agweddu â'i ddeisyfiad ef. Y'mhlith amrywiol o bethau ereill, Bede a ysgrifenodd, yn y iaith Ladin, hanes crefydd yn Lloegr, o ddyddiau'r apostolion hyd y cant hwn. Efe yw'r hanesydd cyntaf o ddim cymmeriad yn mhlith y Saeson, ac y mae ei lyfr yn deilwng i gael ei ddarllen gan bawb ag sydd yn hoffi myfyrio ar ddaioni Duw tu ag at drigolion yr ynys hon. Bede wedi gwasanaethu Duw a'i
O. C. 734. genhedlaeth gydâ diwydrwydd a ffyddlondeb mawr, a fu farw yn llawn gorfoledd, pan oedd oddi amgylch tri ugain mlwydd oed, ac a gladdwyd yn ei Fynachlog ei hun.*

O. C. 750. Eadbert brenin Northumberland, yr hwn oedd yn

* Cressy's Church Hist. B. XXII. Chap. 24, 25.

yn dywysog bywiog a gwrol, a orchfygodd y Cymry yn Ystrad Clwyd; ac a feddiannodd Gaer ar Clwyd, eu prif-ddinas hwynt. Y Saeson hefyd, yn nghylch yr un amser, a orchfygasant y Cymry ag oedd yn preswylio yn Nghornwal; a gorfu ar Rodri Molwynog, eu brenin hwynt, ffoi i Wynedd. Rodri gwedi dyfod i Wynedd, a honodd ei hawl i lywodraeth y wlad honno, a chafodd ei wneuthur yn dywysog, ac a breswyliodd yn Nghaer Seont, yn sir Gaernarfon.[a]

CANT VIII.

Yr oedd Elfod yn un o hiliogaeth Caw, ac yn esgob yn Nghaer Gybi. Gwedi bod yn Nghaer Gybi dros amryw flynyddoedd, efe a gafodd ei drosglwyddo i Fangor, lle y bu yn esgob hyd ddydd ei farwolaeth. Yr oedd Elfod yn fwy ffafrol i eglwys Rhufain y pryd hyny nag esgobion Cymru yn gyffredinol; ac fe dybia rhai, mai trwy awdurdod y Pab y gwnaethwyd ef yn esgob Bangor. Wedi dyfod i'r esgobaeth honno, Elfod a symmudodd y pasc yn ol defod eglwys Rhufain. Ac o blegid i'r esgobion ereill wrthod cadw y pasc yn ol defod y pabyddion, y Saeson a ruthrasant ar drigolion deheu-barth Cymru, a bu brwydr rhyngddynt yn nghoed Marchan; ond y Cymry a orchfygasant eu gelynion pabaidd, ac a'u hymlidiasant i'w gwlad eu hun.[b]

Elfod.

Symud y pasc yn Ngwynedd.

O. C. 755.

Offa

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 147, 148.

[b] Camb. Biog. Archaiol. Vol. II. p. 473.

CANT VIII. Offa gwedi ei wneuthur yn frenin Mercia, a ennillodd oddiar y Cymry y gwastadedd ag sydd rhwng Hafren ac Wy; ac i ddiogelu ei derfynau rhag rhuthrad y Cymry, efe a wnaeth glawdd o afon Dyfrdwy yn sir Fflint, i enau afon Gwy. Pan wnaeth Offa y clawdd hwn, tywysogion Powys a symudasant eu heistedd-le frenhinol o Pengwern, neu y Mwythig, i Mathrafal yn sir Drefaldwyn. Y mae y clawdd hwn oddi amgylch can milldir o hŷd, ac yn cael ei alw yn Glawdd Offa. Pan orphenodd Offa y gorchwyl hwn, gwyr Gwent a Morganwg a gynnullasant eu byddinoedd, ac a ruthrasant yn un fryd ar wyr Mercia, ac ar nos dydd gŵyl Stephan, a dorasant glawdd Offa yn gyd-wastad â'r llawr, ac a ddychwelasant âg yspail fawr. Offa, mewn ychydig o amser, a gododd y clawdd drachefn, ac y mae peth o hono i'w weled hyd y dydd heddyw.[a]

Clawdd Offa. O. C. 765.

O. C. 776.

Trigolion Cymru gwedi hir ryfela â'r Saeson, a hir wrthwynebu cyfeiliornadau eglwys Rhufain, a ddechreuasant ŵyro yn eu barn, ac oeri yn eu sel dros burdeb yr efengyl. Ac fel arwydd nad oeddent yn awr yn ystyried pabyddiaeth yn beth mor gyfeiliornus, esgobion y deheubarth a unasant âg esgobion Gwynedd, i gadw y pasc yn ol defod y pabyddion. Ond amlwg

Symudiad y pasc yn y deheubarth. O. C. 777.

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 149—154. Archaiol. Vol. II. p. 473.

lwg yw oddiwrth y terfysg a fu yn yr eglwysi yn nghylch y pwngc hwn, ar farwolaeth Elfod, nad oedd holl weinidogion Cymru yn cymmeradwyo y mesurau hyn â'u holl galon.[a] CANT VIII.

Yn nghylch diwedd y cant hwn, yr oedd Nennius yr hanesydd yn ei flodau. Yr oedd y gwr hwn yn ddyscybl i Elfod esgob Bangor, ac fel Gildas a Tysilio a ysgrifenodd dalfyriad o hanes Brydain, yr hwn a gafodd ei barhau gan Marcus.[b] Nennius.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 474. [b] Camb. Biog.

Y NAW-

## Y NAWFED CANT.

CANT IX.

YN nechreuad y cant hwn, bu farw Caradog, ab Gwyn ab Collwyn, tywysog Gwynedd; Arthen, arglwydd Caredigion; Rhydderch, brenin Dyfed; Cadell mab Elisaw, tywysog Powys; ac Elfod, esgob Bangor. Ar farwolaeth Elfod, bu ymryson mawr rhwng gweinidogion Cymru yn nghylch y pasc. Yr oedd yn ofidus gan lawer o honynt weled yr eglwysi yn cyd-agweddu i'r fath raddau a chyfeiliornadau y pabyddion; ac yr oeddent yn gobeithio y byddai i ddiwygiad gymmeryd lle yn eu plith wedi marw
O. C. 809. Elfod esgob Bangor. Ond gan fod y rhan fwyaf o'r gweinidogion dros gadw y pasc ar yr un amser ag eglwys Rhufain, gorfu ar y rhai gwrthwynebol ymostwng i'r drefn ag oedd wedi cymmeryd lle yn eu plith yn y cant diweddaf. Ac nid oes dim hanes fod ymryson yn eu plith yn nghylch y pwngc hwn byth gwedi hyny.*

Yn fuan yn ol marwolaeth Rhydderch brenin Dyfed,

* Camb. Biog. Archaiol. Vol. II. p. 474, 475.

Dyfed, y Saeson yn llawn gelyniaeth yn erbyn y Cymry, ac yn anfoddlon fod arch-esgob Tŷ Ddewi, a'i offeiriaid, mor wrthwynebol i lawer o athrawiaethau a defodau eglwys Rhufain, a diriasant yn Nyfed, ac a losgasant Dŷ Ddewi â thân. Bu y pethau hyn yn foddion i oeri cariad llawer, ac i ddwyn i mewn annhrefn mawr i blith y Cymry. Nid oedd un rhan o'r wlad nad oedd yn cael ei difrodi ar amserau gan y Saeson.[a]

CANT IX.

Y Saeson yn llosgi Tŷ Ddewi. O. C. 810.

Er fod cyngrair y pryd hyn rhwng Saeson Mercia, a gwyr Morganwg, a Gwent, y Saeson ar hyd nos a ddaethant i Gymru, ac a losgasant Fynachlog Senghenydd, yn nghyd â chastell Toeda; ac a ddychwelasant yn ddiangol dros afon Hafren, âg ysglyfaeth fawr.[b]

O. C. 831.

Yn mhen ychydig o amser gwedi i Egbert uno holl Loegr yn un deyrnas, y Daeniaid * a diriasant mewn amrywiol ranau o'r ynys; ond ni's gallent y pryd hyny wrthwynebu y lluoedd lluosog a anfonid yn eu herbyn gan Egbert. Gwedi cael eu gorchfygu yn Lloegr, y Daeniaid a diriasant yn Nghymru. Y Cymry mewn gobaith o orchfygu y Saeson trwy gynnorthwy y Daeniaid, a'u derbyniasant yn heddychlon, ac a unasant â hwynt yn erbyn y Saeson. Pan glybu Egbert

Y Daeniaid yn tirio yn Nghymru. O. C. 833.



[a] Camb. Biog. Archaiol. Vol. II. p. 474, 475.

[b] Ibid. p. 477. * Danes.

CANT IX.

O. C. 835.

Egbert fod y Cymry a'r Daeniaid yn dyfod yn ei erbyn, efe a aeth i'w cyfarfod â llu cadarn, ac a'u gorchfygodd â lladdfa fawr. A chymmaint oedd ei ddigofaint ef yn erbyn y Cymry, o blegid iddynt wneuthur cyngrair â'r Daeniaid, fel y gwarchaeodd efe ar Gaerlleon ar Ddyfrdwy, yr hon oedd y pryd hyny yn meddiant y Cymry, ac a'i hennillodd hi. Gwedi cymmeryd meddiant o Gaerlleon, Egbert a roddodd orchymmyn i'r holl Gymry ag oedd yn gwladychu o fewn cyffiniau ei deyrnas ef, i ymadael o fewn yspaid chwech mis, dan boen marwolaeth. Gwnaeth gyfraith hefyd, i osod pob Cymro i farwolaeth, a ddelid ar ochr Lloegr i glawdd Offa.[a]

Creulonder Egbert.

O. C. 843.

Ar farwolaeth Merfyn Frych, tywysog Gwynedd, Rhodri Mawr ei fab a deyrnasodd yn ei le ef. Rhodri Mawr a gafodd ynys Manaw,* trwy hawl ei dad; Gwynedd a Phowys trwy hawl ei fam; a Deheu-barth trwy hawl ei wraig Angharad.[b] Ond yn ol ffurf llywodraeth Cymru, nid oedd efe ond pen-arglwydd, i ba un yr oedd y tair tywysogaeth yn ymostwng fel arferol. Rhodri Mawr a symudodd ei eistedd-le frenhinol o Gaer Seont, i Aber-ffraw, yn sir Fon; ac a osododd ei dri mab yn dywysogion ar y tair talaith. Anarawd a gafodd Wynedd; Cadell a gafodd

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 207, 208.

* Isle of Man. [b] Ibid. p. 210.

gafodd Deheu-barth; a Merfyn a gafodd Powys. Yr oedd tywysogion Gwynedd y pryd hyn yn preswylio yn Aber-ffraw yn sir Fon: tywysogion y Deheu-barth yn Dynefwr yn sir Gaerfyrddin, a thywysogion Powys, yn Mathrafel yn sir Drefaldwyn.[a] CANT IX.

Fel ag yr oedd rhyfeloedd aml rhwng Rodri Mawr a'r Saeson, ac â'r Daeniaid, dystrywiwyd llawer o leodd addoliad, a lladdwyd llawer o dduwiolion yn ei amser ef. Yn y frwydr boeth ag a fu yn Mangor rhwng y Cymry a'r Saeson, esgob y lle hwnw, yn mhlith ereill, a laddwyd gan ei elynion.[b] Ond er cymmaint o derfysgiadau ag oedd yn mhlith y Cymry yn y cant hwn, llawer o bendefigion y wlad a ddangosent gariad mawr at achos Crist. O blegid pan yspeilid yr eglwysi gan y Saeson a'r Daeniaid, tywysogion Cymru a'u hadgyweirient, ac a roddent lawer o'u hetifeddiaethau at gynhaliaeth y rhai ag oedd yn gweini yn mhethau Duw. Bu arglwyddi Morganwg a Gwent yn haelionus iawn i esgobaeth Llandaf yn y cant hwn, yn neillduol pan oedd Camelian yn esgob yno.[c]

O. C. 870.

Haelioni tywysogion Cymru. O. C. 872.

Pan gafodd Alfred ei wneuthur yn frenin Lloegr, efe a roddodd annogaeth i ddynion duwiol a dysgedig, o bob gwlad, i ddyfod i Loegr, fel y caffai efe fwynhau y fantais o'u cynghorion

Alffred.



[a] Camb. Biog. Powell's Hist. of Wales, p. 34. [b] Archaiol. Vol. II. p. 480. [c] Brown Willis's Survey.

CANT IX.

cynghorion a'u haddysgiadau hwynt, yn y cyflawniad o'i ddyledswyddau gwladol ac eglwysig; ac fel y byddai i wybodaeth, dysgeidiaeth, a chrefydd, gael eu dwyn i mewn, a'u helaethu yn mhlith ei ddeiliaid. Yn mhlith ereill, Alffred a anfonodd i Dŷ Ddewi am Aser, John Menevensis, a John Erigina, tri Chymro duwiol a dysgedig, ag oedd yn myfyrio yn yr athrofa honno.

Aser. John Menevensis. John Erigina.

Yr oedd Aser yn nai i Aser, arch-esgob Tŷ Ddewi; a chwedi myned i Loegr, efe a gafodd ei wneuthur yn esgob Sherborn, ac a ysgrifenodd hanes bywyd y brenin Alffred. Nid oes dim hanes neillduol am John Menevensis, ond ei fod yn ŵr duwiol a dysgedig, a chymmeradwy yn ei ddydd. Dywedir i John Erigina, pan oedd y Daeniaid yn aflonyddu y Cymry, fyned i Athens, ac iddo aros yno flynyddoedd lawer, i ddysgu Groeg, Calde, ac Arabic. A chwedi iddo ymweled â'r athrofäau mwyaf enwog yn y dyddiau hyny, iddo ddychwelwyd trwy yr Ital a Ffraingc, i Dŷ Ddewi, lle yr oedd mewn cymmeriad mawr pan anfonodd Alffred am dano.[a] John Erigina a ysgrifenodd lawer o lyfrau ag oedd yn gymmeradwy iawn gan ddysgedigion cristianogol yr oes honno.*

Gwedi

[a] Cressy's Church Hist. B. XXIX. Chap. 6. Lewis's Hist. of Great Brit. p. 223. Camb. Biog.

* Gwel hanes am danynt yn Lewis's Hist. of Great Britain, p. 223.

CANT IX.

Gwedi i'r gwyr hyn, yn nghyd â dysgedigion ereill o wledydd tramor, ddyfod i Loegr, Alffred a roddodd orchymmyn i'r esgobion, a phendefigion y deyrnas, i gyfarfod mewn cymmanfa yn Llundain, i'r dyben i ystyried y mesurau mwyaf addas i helaethu gwybodaeth, a diddymu yr annhrefn ag oedd yn eu plith. Gwedi cyfarfod, Grimbald, gwr dysgedig o Ffraingc, ar ddeisyfiad y brenin a'r arch-esgob, a ddangosodd, gydâ llawer o ddoethineb a difrifwch, mor ardderchog oedd dyn yn ei gyflwr o ddiniweidrwydd; ac mor anwybodus, llygredig, a thruenus, y mae gwedi dyfod trwy y cwymp. Yna efe a annogodd y gymmanfa i ymwrthod â'u holl bechodau, a chyflwyno eu hunain i'r Arglwydd, a'i wasanaeth. Ac i'r dyben hyn, efe a ddangosodd iddynt mor dda oedd yr Arglwydd gwedi bod iddynt yn mhob ystyriaeth. Ac yn ddiweddaf efe a'u gosododd mewn cof o'r wobr ogoneddus sydd yn aros y saint, a'r gosp ofnadwy a ddisgyn i ran yr annuwiol mewn byd i ddyfod.

Cymmanfa yn Llundain.

Araith Grimbald.

Pan orphenodd Grimbald ei araith, y brenin Alffred a gyfarchodd yr offeiriaid, ac a'u ceryddodd hwynt yn llym, am eu hanwybodaeth cywilyddus; a'u bod mor rhyfygus a thraws-feddiannu dyledswyddau ardderchog y weinidogaeth, tra yr oeddynt yn hollol amddifaid o'r wybodaeth angenrheidiol i'w chyflawnu. Ac a orchymmynodd iddynt, naill ai rhoddi i fynu y weinidogaeth,

Araith Alffred.

CANT IX.

ogaeth, neu ymarferyd pob diwydrwydd i gyrraedd y wybodaeth a'r ddoethineb honno ag sydd yn angenrheidiol i'r rhai hyny ag sydd yn cyflwyno eu hunain i waith y weinidogaeth i'w meddiannu. Dywedir i'r araith hon o eiddo y brenin, i lanw meddyliau yr offeiriaid esgeulus â'r fath fraw, fel ag yr ymarferasant bob diwydrwydd o hyny allan i gymmyddu mewn pob gwybodaeth angenrheidiol i'w swydd.[a]

Alffred yn sefydlu athrofa Rhydychen.
O. C. 878.
Athrawon cyntaf Rhydychen.

Trwy gyngor Aser o Dŷ Ddewi, ac mewn canlyniad i'r hyn a gytunwyd arno, yn nghymmanfa Llundain, Alffred a sefydlodd athrofa Rhydychen,[b] ac a osododd bum athraw ynddi. Gosododd Aser, i addysgu Gramadeg ac Areithyddiaeth; John Menevensis, i addysgu Rhesymeg, Rhifyddeg, a Cherddoriaeth; John Erigina, i addysgu y Celfyddydion; a Grimbald a Neoth i addysgu Difinyddiaeth.[c]

Gwedi sefydlu athrofa Rhydychen, Alffred a roddodd orchymmyn i'w holl ddeiliaid ag oedd yn alluog, i anfon eu meibion i'r athrofa hon, fel y caffent eu hyfforddi mewn gwybodaeth ac ofn Duw; ac na alwent hwynt oddi yno nes byddent yn ddwy ar bymtheg oed. Ac i ddiogelu ded-

wyddwch

[a] Cressy's Ch. Hist. B. XXIX. Chap. 10.

[b] Camb. Biog. Roberts's Sketch, p. 85. Cressy's Ch. Hist. B. XXIX. Chap. 11.

[c] Cressy's Ch. Hist. B. XXIX. Chap. 11. Fuller's Church Hist. p. 117.

wyddwch ei ddeiliaid, Alffred a ddosparthodd Loegr yn siroedd, ac allan o gyfreithiau Dyfnwal Moelmud, y rhai oedd gwedi eu cyfieithu o'r Cymraeg i'r Lladin, gan Gildas, efe a gyfansoddodd gorph o gyfreithiau addas i angenrheidiau ei ddeiliaid yn Lloegr.[a]

CANT IX.

Alffred yn dosparthu Lloegr yn siroedd.

O. C. 888.

Cydifor.

Yn nghylch yr amser hyn y bu farw Cydifor, abad Llanfeithin, yr hwn oedd ŵr doeth a dysgedig, a mawr ei dduwioldeb. Yr oedd ganddo lawer o wyr dysgedig yn ei athrofa; ac o blegid fod eisiau gweinidogion y pryd hyny yn yr Iwerddon, efe a ddanfonodd chwech o'i ddyscyblion i'r wlad honno, i addysgu ei thrigolion yn egwyddorion y grefydd gristianogol.[b]

Y Saeson a ennillasant Maelawr, Dyffryn Clwyd, Rhyfoniog, a Thregeingl, oddiar Anarawd tywysog Gwynedd. Pan yrwyd y Cymry o Ystrad Clwyd, am na unent â Saeson y wlad honno, hwy a ddaethant i Wynedd; ac Anarawd a roddodd genad iddynt i wladychu y wlad a ddygasai y Saeson oddi arno, os gallent eu gyru hwynt ymaith. Cymry Ystrad Clwyd, gwedi cael cennad, a ymwrolasant, ac a yrasant y Saeson o Wynedd, ac a feddiannasant y wlad a roddasid iddynt gan Anarawd.[c]

O. C. 890.

Y Daen-

[a] Cressy's Ch. Hist. B. XXIX. Chap. 11. and 14. Roberts's Sketch, p. 85.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 482. [c] Ibid.

CANT IX.

Y Daeniaid yn anrheithio Cymru. O. C. 893.

Y Daeniaid yn parhau i aflonyddu ac yspeilio trigolion Brydain, a ddaethant dros fôr Hafren i Gymru, ac a losgasant Lan Illtyd fawr, Cynffig, a Llancarfan; ac a wnaethant ddrygau mawrion yn Morganwg, Gwent, Brycheiniog, a Buellt. Ond tra yr oeddynt ar eu dychweliad yn ol, yn anrheithio Caerlleon ar Wysg, Morgan, tywysog Morganwg, a ddaeth â llu yn eu herbyn, ac a'u gyrodd dros fôr Hafren i wlad yr Haf, lle y lladdwyd llawer o honynt gan Saeson a Chymry y wlad honno. A'r haf yr un flwyddyn y daeth pryfed dyeithr i'r Iwerddon, tebyg i waddod, â dau ddant hirion ganddynt, ac a fwytasant ffrwyth y ddaiar, fel ag y bu newyn mawr trwy yr holl wlad. Y trigolion yn ystyried y pla hwn a'r newyn yn gospedigaeth gyfiawn am eu pechodau, a ymostyngasant ger bron Duw am eu hanwireddau; ac a lefasant yn daer arno i symud arwyddion ei anfoddlonrwydd oddi wrthynt. Duw, yr hwn sydd yn hoffi trugarhau, a glybu eu llef, ac o dosturi attynt, a ddanfonodd rew cadarn yn yr haf, ac a ddyfethodd yr holl bryfed dinystriol hyny.[a]

Sel esgobion Llandaf.

Dywedir i esgobion Llandaf gynnal llawer o gymmanfaodd yn y cant hwn, ac iddynt ysgymmuno amryw o'r tywysogion cymmydogaethol, am eu llofruddiaeth, anudoniaeth, a'u hanlladrwydd.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 483.

rwydd. Ond er mor llygredig oedd llawer o'r tywysogion y pryd hyn, arswydent ysgymundod i'r fath raddau, fel yr ymostyngent i'r penyd mwyaf llym, er mwyn cael eu hadferyd i fynwes yr eglwys. A chan nad oedd neb o'r pendefigion a ysgymunid yr amser hyny yn cael eu hadferyd heb roddi llawer o'u meddiannau at achos crefydd. Ychwanegwyd llawer o diroedd at esgobaeth Llandaf yn y cant hwn.[a] CANT. IX.

Yn nghylch diwedd y cant hwn, yr oedd Geraint Fardd Glas, un o'r dynion mwyaf enwog yn Nghymru, yn ei flodau. Efe oedd y cyntaf ag y mae hanes am dano a gyfansoddodd Ramadeg o'r iaith Gymraeg. Cafodd Gramadeg Geraint ei adchwilio gan Einion ac Edeyrn, ac yn y ffurf honno y mae yn bresennol; ond yr oedd ei lyfr ei hun yn nghastell Rhaglan, cyn i'r lle hwnw gael ei anrheithio yn rhyfeloedd Cromwel. Y mae y rhan fwyaf o waith awenyddol Geraint gwedi eu colli; nid oes yn awr mewn bod ond ychydig o'i ysgrifenadau moesol ef. Tybia rhai, mai yr un gwr oedd hwn ag Aser o Dŷ Ddewi,* yr hwn a ddewiswyd i fod yn athraw yn Rhydychen.[b] Geraint Fardd Glas.

G g Y DEG-

[a] Godwin's Catalogue.

* Y rhai a farnant felly, a ddywedant mai cyfieithad o'r enw Bardd Glas, yw yr enw Aser *(azure.)* Gwel beth o waith Geraint Fardd Glas, yn yr Archaiology of Wales, Vol. III.

[b] Camb. Biog.

## Y DEGFED CANT.

CANT X.

Sefydliad Mynachlogydd.

LLAWER o ddynion duwiol o'r drefn fynachaidd, mewn amrywiol wledydd, yn anghymmeradwyo y ddysgyblaeth rydd, ag oedd wedi ymlusgo i rai o'r cynnulleidfaodd hyny a ymneillduent i ryw leodd unig; ac a ffurfient gorpholaethau o gristianogion yn ol y rheolau ag oedd yn ymddangos iddynt hwy, yn fwyaf cydffurfiol âg ewyllys Duw. Gelwid y corpholaethau hyny, yn gyffredin, yn ol enwau eu seilwyr, neu y lleodd y sefydlid hwynt ynddynt ar y cyntaf. Yr oedd amryw o'r corpholaethau hyn, yn awr yn Lloegr; ac o'r cant hwn allan, daeth y rhan fwyaf o athrofäau Cymru, yn raddol, i fod yn Fynachlogydd. Os byddai y gynnulleidfa fynachaidd yn cael ei llywodraethu gan Abad, gelwid lle eu preswylfod hwynt, yn Fynachlog; ond os Prior a fyddai yn eu llywodraethu, gelwid y lle yn Briordy. Ond nid oedd fawr o wahaniaeth rhwng Mynachlog a Phriordy, ond yn yr enw.

Athrofäau Cymry yn cael eu troi yn Fynachlogydd.

Parhaodd Abadau yr amrywiol Fynachlogydd, yn

CANT X.

yn hir wedi eu sefydliad cyntaf gan Antony, yn ddarostyngedig i esgobion y gwahanol daleithiau, lle yr oeddent. Aent bob sabbath gydâ y bobl i eglwys y plwyf; ond os byddent yn rhy bell, anfonid offeiriad i weini yr ordinhadau iddynt, yn y Fynachlog; ac yn raddol caniatawyd iddynt gael offeiriaid o'u corph eu hunain. Yr abad, yn gyffredin, oedd offeiriad y Fynachlog; ac fel ag yr oedd llawer o honynt yn ddynion dysgedig, ac yn gwrthwynebu yr heresiau ag oedd yn cyfodi i fynu, gwnaeth yr esgobion iddynt ddyfod i breswylio yn nes attynt, ac mewn canlyniad i hyn, adeiladwyd Mynachlogydd mewn dinasoedd. Yn fuan gwedi i'r abadau ddyfod i breswylio mewn dinasoedd, rhoddasant heibio eu gwastadrwydd a'u symlrwydd, ac a ymdrechasant i fod yn annibynol ar yr esgobion; yr hyn fu yn achos i gyfreithiau llym gael eu gwneuthur yn eu herbyn gan gymmanfa Chalcedon. Er hyny yr abadau, mewn amser, a ennillasant y dydd; ac a gawsant yr enw arglwydd, yn nghyd âg arwyddion esgobaethol ereill, yn neillduol y goron, a'r bugeil-ffon esgob; a galwyd y Mynachlogydd lle yr oedd yr abadau hyny yn llywodraethu, yn Fynachlogydd esgobaethol.[a]

Er fod y Cymry yn gyffredinol yr amser hyn



[a] Dr. Rees's Cyclopædia, V. abbot.

CANT X.



Daioni Duw i'r Cymry.

o'r un daliadau a'r Saeson, yr oedd yr hen elyniaeth yn parhau rhyngddynt; ac oni buasai fod yr Arglwydd yn bwriadu cadw y Cymry yn bobl neillduol, dros oesoedd, a chenhedlaethau, fe fuasai y Saeson, â'u lluodd lluosog, gwedi eu llwyr ddyfetha hwynt oddiar wyneb y ddaiar.

Marwolaeth Aser arch-esgob Tŷ Ddewi. O. C. 906.

Ar farwolaeth Aser ddoeth, arch-esgob Tŷ Ddewi, Arthwael a gyssegrwyd yn arch-esgob yn ei le ef. Yn amser y gwr hwn, y gelynion a diriasant yn Nyfed, ac a ddinystriasant Dŷ Ddewi, ac a laddasant lawer o drigolion Dyfed.* Ar farwolaeth Arthwael, Sampson a gyssegrwyd yn arch-esgob Tŷ Ddewi. Dywedir fod esgobaethau Llandaf, Llanbadarn-fawr, Bangor, St. Asaph, Chichester, Henffordd, a Chaerwrangon, dan awdurdod arch-esgobaeth Tŷ Ddewi, yn amser Sampson. Tra'r oedd Sampson yn arch-esgob Tŷ Ddewi, bu llawer iawn o bobl y wlad farw o'r clefyd melyn. Yr offeiriaid, yn ofni colli eu harch-esgob, a ddeisyfasant arno fyned o'r wlad tra y parhäai y clefyd dinystriol hwnw ynthi. Sampson, ar ddymuniad ei ewyllyswyr da, a aeth drosodd i Lydaw, ac a gymmerodd fantell arch-esgobaethol Tŷ Ddewi gydâg ef. Gwedi myned i Lydaw, Sampson a wnaethpwyd yn esgob Dole, ac ni ddychwelodd efe mwyach i Gymru. Mewn canlyniad i fynediad Sampson â'r fantell arch-

* Godwin's Catal. Archaiol. Vol. II. p. 484.

arch-esgobaethol i Dole, yn Llydaw, yn nghyd â thlodi arch-esgobaeth Tŷ Ddewi y pryd hyny, yr esgobion ag a ddaethant ar ol Sampson i Dŷ Ddewi, a gollasant yr enw arch-esgob, ac ni's cawsant ef hyd heddyw. Er hyny, parhausant i urddo esgobion, ac i ymarferyd pob awdurdod arall, perthynol i arch-esgob, hyd ddyddiau Harry y cyntaf, brenin Lloegr.[a]

CANT X.

Esgobion Tŷ Ddewi yn colli'r enw arch-esgob.

Athelstan brenin Lloegr, gwedi gorchfygu y Daeniaid a'r Scotiaid, a ddaeth i Gymru, ac a gymhellodd dywysogion Cymru i dalu iddo ef deyrnged flynyddol, o ugain punt o aur, tri chan punt o arian, a dau cant o anifeiliaid. Ond ni thalodd y Cymry y deyrnged honno yn hŵy nag yr oedd brenhinoedd Lloegr yn abl i'w cadw mewn dychryn.[b]

Trawsarglwyddiaeth Althestan.

Pan fu farw Cadell, tywysog y deheu-barth, Hywel Dda, ei fab, a deyrnasodd yn ei le ef. Yr oedd Hywel yn ŵr heddychlon; ac i'r dyben i sefydlu trefn yn mhlith ei ddeiliaid, a'u dwyn yn ufudd i'r awdurdod gwladol, efe a benderfynodd i gasglu holl hen ddefodau a chyfreithiau Cymru, y rhai, y pryd hyn, oedd yn mron colli eu heffaith, trwy derfysgiadau yr amseroedd. Ac i'r dyben hyn, efe a anfonodd am esgob Tŷ Ddewi, a'r holl esgobion a'r offeiriaid ereill, yn nghylch

Hywel Dda.

[a] Godwin's Catal. [b] Powell's Hist. Wales, p. 48.

CANT X.



Y cyfarfod mawr yn y Tŷ Gwyn ar Daf, i ddiwygio cyfreithiau Cymru. O. C. 928.

nghylch saith ugain o rifedi, a holl bendefigion Cymru, yn nghyd â chwech o'r dynion goreu, a doethaf, yn mhob cwmmwd; ac a orchymmynodd iddynt ddyfod atto ef i'w lys yn y Tŷ Gwyn ar Dâf,* yn sir Gaerfyrddin. Gwedi cyfarfod yn y Tŷ Gwyn ar Dâf, Hywel Dda, yn nghyd â'i bendefigion, a'i offeiriaid, a i ddeiliaid, a barhausant trwy yr holl rawys mewn ympryd iau a gweddiau, gan ddeisyf cynnorthwy a chyfarwyddiadau Ysbryd Duw, yn y gorchwyl pwysfawr o ddiwygio cyfreithiau Cymru, er gogoniant i Dduw, a dedwyddwch y deiliaid. Ar ddiwedd y grawys, Hywel Dda a ddewisodd allan o'r gynnulleidfa ag oedd yn bresennol yn y Tŷ Gwyn ar Dâf, ddeuddeg o'r gwyr mwyaf enwog mewn doethineb, prysurdeb, a phrofiad; ac a ychwanegodd attynt Blegwrid, arch-diacon Llandaf, yr hwn oedd ŵr enwog iawn mewn dysgeidiaeth, a gwybodaeth o'r cyfreithiau. I'r rhai hyn y rhoddodd efe orchymmyn i chwilio hen gyfreithiau a defodau Cymru, ac i gasglu o honynt yr hyn ag oedd yn angenrheidiol i lywodraeth y wlad. Yn ganlynol i hyn, hwy a ddiddymasant bob cyfraith ag oedd yn niweidiol, neu yn afreidiol, ac a eglurhasant y rhai hyny ag oedd wedi myned yn ddidrefn, ac yn annyalladwy,

* Y tŷ hwnw a barodd Hywel ei adeiladu o wiail gwynion, yn llety iddo, pan ddeuai i Ddyfed i hela, ac o blegid hyny y galwyd ef y Tŷ Gwyn. Cyf. Hywel Dda.

wy, a thrwy drefniad cymmwys o'r cyfan, hwy a ffurfiasant gorph o gyfreithiau addas i anian, angenrheidiau, a sefyllfa y Cymry.[a]

CANT X.

Gwedi i'r cyfreithiau hyn gael eu darllen, eu cyhoeddi a'u cymmeradwyo gan y cyffredin, Hywel Dda a orchymmynodd i ysgrifenu tair ad-ysgrifen o honynt; un iddo ef ei hun, un arall i'w gosod yn llys Aber-ffraw, a'r trydedd yn Dinefwr; fel y gallai y tair talaith gael cyfleustra i ymgynghori â'r cyfreithiau, pan fyddai hyny yn angenrheidiol. Ac i ychwanegu at awdurdod y cyfreithiau hyn, efe a orchymmynodd i esgob Tŷ Ddewi i gyhoeddi dedryd o ysgymmundod ar bawb o'i ddeiliaid na roddent ufudddod iddynt.[b] Ac mewn cyd-ffurfiad âg ysbryd coel-grefyddol yr oes, ac fel na byddai dim yn eisiau i wneuthur y cyfreithiau yn dderbyniol i bob graddau o ddynion, Hywel Dda yn nghyd â Hubert,* esgob Tŷ Ddewi; Mordaf, esgob Bangor; Sefer,† esgob S. Asaph; a thri ar ddeg o'r

Hywel Dda a'i osgordd yn myned i Rhufain. O. C. 940.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 485, 486. Powell's Hist. Wales, p. 50, 51. Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 238, 239.

[b] Ibid.

* Gelwir y gwr hwn gan rai yn Luert, gan ereill yn Lambert; ond yr un person a feddylir.

† Neu, Chebur.

CANT X. o'r gwyr mwyaf doeth a dysgedig yn Nghymru, a aethant i Rhufain; lle y darllenwyd y cyfreithiau newyddion ger bron y Pab, ac y cawsant eu sefydlu a'u cadarnhau ganddo. Gwedi hyny, Hywel Dda, a'i osgordd, a ddychwelasant i Gymru.[a]

O. C. 948. Yn mhen ychydig o flynyddoedd gwedi hyn, bu farw Hywel Dda. Cyfrifid ef yn dywysog cyfiawn a doeth, yn ofni Duw, ac yn ceisio ddedwyddwch ei ddeiliaid. Cerid ef yn fawr gan bawb o'r Cymry, a chan lawer o ddoethion Lloegr, a chenhedloedd ereill, lle yr oedd yn adnabyddus. Ac o blegid ei ddoethineb, ei gyfiawnder, a'i hynawsedd, galwyd ef, Hywel Dda.[b]

Er fod esgobion Cymru y pryd hyn gwedi cofleidio pabyddiaeth, yr oeddent yn parhau yn gymhedrol iawn mewn bwydydd, a diodydd. Morgeneu oedd yr esgob cyntaf yn Nhŷ Ddewi, a anturiodd i fwyta cig. Yn fuan ar ol hyny, cafodd ei ladd gan fôr-ladron, a thybiodd ei gyd-wladwyr mai barn a syrthiodd arno oedd hyny, am ryfygu bwyta cig.[c]

Morgeneu yn bwyta cig, ac yn cael ei ladd gan fôr-ladron.

Gwedi i babyddiaeth ymdaenu dros Gymru, gwnaethpwyd yr eglwysi yn noddfäau, i ddrwg weithredwyr

Yr eglwysi yn noddfäau.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 485, 486. Powell's Hist. Wales, p. 50, 51. Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 238, 239. Brown Willis's Survey.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 488. [c] Godwin's Catal.

weithredwyr i ffoi iddynt am ddyogelwch rhag cynddeiriogrwydd eu gwrthwynebwyr; a bu hyn yn foddion i gyfoethogi yr eglwysi, i fesur helaeth.

CANT X.

Yn nyddiau Padarn, esgob Llandaf, Nogwi, arglwydd Gwganwyn, a fu yn euog o gyssegr-ladrad. Yn ganlynol i hyn, Padarn a anfonodd at holl offeiriaid yr esgobaeth, ac a ddymunodd arnynt i gyfarfod mewn cymmanfa yn Llandaf, fel y gallent ymgynghori pa beth i wneuthur i Nogwi am ei gyssegr-ladrad. Pan glybu Nogwi hyn, efe a ddaeth i'r gymmanfa, a chydâ y gostyngeiddrwydd mwyaf, efe a ymostyngodd i'r llawr, gan gyfaddef ei bechod, a deisyf ar Padarn, a'r offeiriaid, i faddeu iddo, a dywedyd pa iawn oedd yn ddigonol am y trosedd a wnaeth yn eu herbyn. Padarn a'r offeiriaid, gwedi cael eu perswadio o edifeirwch Nogwi, a gytunasant i faddau iddo y cyfan, ond iddo ef adferu yr hyn a gymmerodd efe oddiar yr eglwys, ac hefyd i roddi maenor Gwydeon i esgobaeth Llandaf dros byth. Nogwi, gwedi clywed hyn, a fu ddiolchgar iddynt, ac a gyd-agweddodd â'u deisyfiad gydâ y parodrwydd mwyaf.*

Cymmanfa Llandaf. O. C. 950.

Ychydig o amser wedi hyn, un o ddiaconiaid Llandaf a laddodd ei gymmydog â'r cleddyf, wrth ymryson âg ef yn y maes; ac a ffodd i eg-

Diacon llofruddiog yn ffoi i'r noddfa. O. C. 955.



* Spelman's Concil. Vol. I. p. 222.

CANT X.



lwys S. Garmon am noddfa. Pan glybu perthynasau y marw y pethau hyn, hwy a aethant yn unfryd at eglwys S. Garmon, gydâ bwriad i dorri mewn iddi, a gosod y diacon llofruddiog i farwolaeth. Ond Blegwrid a ddaeth â thri chant o wyr gydâg ef, ac a amddiffynodd yr eglwys, yn nghyd â'r diacon ag oedd gwedi ffoi iddi am noddfa. Ond yn mhen ychydig, chwech gwr o deulu Nogwi, a ruthrasant i'r eglwys, ac a laddasant y llofruddiog, ac a dywalltasant ei waed ar yr allor, ac ar furiau yr eglwys. Pan wybu Padarn hyn, a bod Nogwi yn Mrycheiniog, efe a anfonodd at holl offeiriaid a diaconiaid yr esgobaeth, i ddyfod atto, fel y gallent benderfynu pa beth i wneuthur i'r gwyr ag oedd gwedi troseddu yn erbyn rhagor-fraint yr eglwys, a'i halogi â gwaed. Nogwi, yn llawn dychryn, rhag ofn i felldith yr holl eglwys i syrthio arno, a anfonodd at Padarn, gan ddeisyf arno, i'w gyfarfod ef yn eglwys Gwent. Gwedi cyfarfod yno, barnwyd yn addas gan y doethion o bob plaid, i Nogwi roi i fynu i law'r esgob y chwech gwr a dorasai i mewn i eglwys S. Garmon. Yr esgob, gwedi cael y chwech gwyr hyny, a'u cauodd hwy yn Mynachlog Teilo, dros chwech mis. Ar ddiwedd y chwe' mis, Nogwi a ddymunodd i'r chwech gwyr gael eu dwyn i eglwys S. Garmon, ac yno i dderbyn y gospedigaeth ag a farnai y gymmanfa fod yn gyfiawn iddynt am eu trosedd. Y gymmanfa, yn fwy eu sel dros gyfoethogi

*Nogwi yn ofni barn yr eglwys.*

*Sel yr offeiriaid dros yr eglwys.*

oethogi yr esgobaeth, na gweini cyfiawnder, a farnasant fod yn briodol i bob un o'r gwyr hyny roddi eu holl diroedd i'r eglwys ag oeddent gwedi ei halogi â gwaed, a thalu saith punt o arian fel iawn am fywyd y diacon. CANT X.

Pan benderfynwyd y pethau hyn, Padarn a safodd i fynu yn nghanol yr offeiriaid â'r efengyl yn ei law, ac a ddywedodd wrth Nogwi, Gosod dy law ar yr efengyl hon. Yna Nogwi a osododd ei law ar yr efengyl, ac a ddywedodd, Bydded y tiroedd a gyssegrwyd heddyw i'r eglwys, yn eiddo iddi byth. Pwy bynnag a gadwo yr ordinhad hon, Duw a'i cadwo yntef; ond pwy bynnag a'i torro, bydded anathema.[a]

Yr oedd amryw o'r Saeson y pryd hyn yn anfon eu meibion i athrofäau Cymru, i gael eu hyfforddi yn y ieithoedd a'r celfyddydau. Ond nid oedd pawb o dywysogion Cymru yn cymmeradwyo y mesurau hyny. Owain ab Hywel Dda, yn anfoddlon fod pendefigion Lloegr yn cael eu hyfforddi yn athrofa Llan Illtyd, a aeth yno â byddin luosog, ac o elyniaeth i'r Saeson, a ddinystriodd yr athrofa honno. Gwedi dinystrio Llan Illtyd, Owain a aeth i Lancarfan, ac a wnaeth ddrygau mawrion i'r athrofa honno hefyd.[b]

Owain yn dinystrio athrofäau Llan Illtyd, a Llancarfan. O. C. 959.

Y mae yn ysgrifenedig,* y byddai i rai yn yr

Hh 2 amseroedd

[a] Spelman's Concil. Vol. I. p. 222. [b] Archaiol. Vol. II. p. 490. * 2 Tim. iv. 1, 3.

CANT X.



amseroedd diweddaf i ymadael oddiwrth y ffydd, gan roddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid; yn gwahardd priodi, ac yn erchi ymattal oddiwrth fwydydd, y rhai a greodd Duw i'w derbyn trwy roddi diolch gan y ffyddloniaid, a'r rhai a adwaenant y gwirionedd. Dechreuodd eglwys Rhufain annog yr offeiriaid i arwain bywyd o weddw-dod, yn y trydedd cant; ac yn yr oesoedd canlynol, gwnaethpwyd cyfreithiau i wahardd yr offeiriaid i briodi.[a] Bu hyn yn achos ó lawer o anfoesoldeb yn mhlith yr offeiriaid, ac o fawr niwed i grefydd Crist. Yn y cant hwn bu cynnwrf mawr yn Nghymru yn nghylch y peth hyn. Ond yr offeiriaid yn y wlad hon, naill ai o gariad at eu gwragedd, neu o barch i osodiad Duw, a wrthodasant roddi ufudd-dod i'r Pab, trwy ymadael â'u gwragedd, ac arwain bywyd o weddw-dod.

Eglwys Rhufain yn gwahardd yr offeiriaid i briodi.

Ar farwolaeth Padarn esgob Llandaf, Rhodri, mab Morgan Mawr, arglwydd Morganwg, a ddewiswyd yn esgob yn ei le ef. Ond o blegid fod Rhodri yn ŵr priod, y Pab a wrthododd ei gydsyniad â'r dewisiad hwnw; a chafodd Rhodri ei wenwyno yn mhen ychydig o amser gwedi hyny; a rhoddodd y Pab orchymmyn na phriodai neb o'r offeiriaid. Parodd y gorchymmyn hwn

Rhodri yn esgob o anfodd y Pab. O. C. 961.

[a] Formey's Eccles. Hist. Vol. I. p. 57.

hwn y fath anfoddlonrwydd angherddol yn neheu-barth Cymru, a pharhaodd cyhyd, fel ag y cytunodd y Pab, o'r diwedd, i offeiriaid Cymru gael priodi fel yn yr amser gynt. Yn yr un flwyddyn y bu farw Rhydderch, esgob Tŷ Ddewi; ac y gwnaethpwyd Mynachlog y Rhydau.[a] CANT X.

O blegid i dywysogion Gwynedd esgeuluso talu y deyrnged ddyledus i frenin Lloegr, y brenin Edgar a ddaeth i Wynedd â llu dirfawr, ac a yspeiliodd yr eglwysydd, a'r mynachlogydd, o'u holl drysorau; ac a ddifrododd y wlad i raddau galarus. Ond pan ystyriodd Edgar, pa nifer o anifeiliaid Cymru oedd yn cael eu dyfetha gan y bleiddiaid, ag oedd mor lliosog yn y wlad; efe a faddeuodd i dywysogion Gwynedd yr hen deyrnged, ar yr ammod iddynt hwy ddanfon iddo ef dri chant o fleiddiaid yn flynyddol. Talwyd y deyrnged hon gan dywysogion Cymru, yn ddyladwy dros ddwy flynedd, ac ar y drydedd flwyddyn, nid oedd un blaidd i'w weled yn un rhan o'r ynys. O hyny allan cafodd tywysogion Gwynedd eu rhyddhau oddiwrth dalu un math o gydnabyddiaeth i frenhinoedd Lloegr.[b]

Edgar yn yspeilio yr eglwysi. O. C. 962.

Y Cymry yn talu teyrnged o 300 o fleiddiaid i'r Saeson.

Iago tywysog Gwynedd, gwedi ei ddiorseddu gan Hywel ei nai, a ffodd i Loegr; ac a dyciodd gydâg Edgar i ddyfod â'i fyddin i Wynedd, i'w adferu

[a] Archaiol. Vol. II. p. 491. Camb. Biog. [b] Archaiol. Vol. II. p. 492. Powell's Hist. Wales, p. 56.

CANT X.



adferu ef i'w hawl. Hywel, yn analluog i wrthsefyll galluoedd Edgar, a'i derbyniodd yn anrhydeddus yn ninas Bangor; ac a ganiataodd i'w ewythr Iago ran o lywodraeth Gwynedd, fel cynt. Edgar y pryd hyny a adeiladodd eglwys newydd yn Mangor, o'r tu dehau i'r eglwys gadeiriol, ac a'i cyssegrodd i Fair y forwyn, ac a gadarnhaodd ragor-freintiau yr esgobaeth honno, ac a'i cynnysgaeddodd â llawer o diroedd a rhoddion ereill. Dywedir hefyd i Edgar adeiladu llawer o eglwysi ereill yn Nghymru, fel iawn am y rhai a ddinystriasai efe o'r blaen.[a]

Arthmael yn lladd ei frawd, ac yn cael ei ysgymuno. O. C. 972.

Arthmael, arglwydd Gwent, gwedi lladd ei frawd Elised, a gafodd ei ysgymuno gan Gugan* esgob Llandaf, mewn cymmanfa o offeiriaid a gyfarfu ar yr achos hyny. Pan ddeallodd Arthmael ei fod gwedi cael ei ddifuddio o ragorfreintiau yr eglwys, efe a edifarhaodd am ei bechod; a chydâ llawer o ddagrau, a ddeisyfodd gael ei adferu; ac a roddodd Lanfihangel Lichrit, a thiroedd ereill i esgobaeth Llandaf, fel iawn am ei drosedd.[b]

Gwedi

[a] Powell's Hist. Wales, p. 59. Archaiol. Vol. II. p. 494.

* Gugan a gyssegrwyd yn esgob gan arch-esgob Canterbury; ac o'r amser hyny hyd yn bresennol, y mae esgobaeth Llandaf dan olygiad arch-esgob Canterbury. Parhaodd esgobaeth Tŷ Ddewi yn annibynol ar Ganterbury, hyd amser Harry y cyntaf. Godwin's Catal.

[b] Spelman's Concil. Vol. I. p. 284.

Gwedi marw Edgar, Iago a wrthryfelodd yn erbyn Hywel ei nai; a Hywel â byddin luosog o Gymry a Saeson, a'i dilynodd ef i Lleyn, ac a gymmerodd Iago yn garcharor. Ar y rhyfel-gyrch hwnw, Hywel a dorodd i lawr lawer o'r eglwysi yn Lleyn, ac a anrheithiodd y wlad yn aruthr. Gwedi cymmeryd Iago yn garcharor, Hywel a faddeuodd iddo y cyfan, ac a ganiataodd iddo fwynhau rhan o'r llywodraeth dros ei fywyd. Ond nid ymddygodd Hywel mor foneddigaidd tu ag at ei ewythr, Edwal Fychan, yr hwn, am ryw achos ag sydd yn awr yn guddiedig, a gafodd ei osod i farwolaeth.[a]

CANT X.

Iago yn gwrthryfela.

O. C. 978.

Pan osodwyd Edwal Fychan i farwolaeth trwy orchymmyn Hywel, Cystenyn Ddu, mab Iago, i'r dyben i ddial y cam a gawsai ei deulu, a gododd fyddin o'r Daeniaid, a oresgynodd Wynedd, ac a anrheithiodd holl wlad Fon. Hywel, pan wybu hyn, a gasglodd ei alluoedd yn nghyd, a chwedi cyfarfod â'r Daeniaid, a'u gorchfygodd hwynt, ac a laddodd ei gefnder, Custenyn Ddu, â'r cleddyf. Y Daeniaid, gwedi eu gorchfygu yn Ngwynedd, a oresgynasant y Deheu-barth, a anrheithiasant sir Benfro, ac a ddinystriasant eglwys Tŷ Ddewi. Ond gwedi ymladd brwydr enwog, Llanwenog, a chael eu gorchfygu

Cystenyn Ddu yn myned yn erbyn Hywel.

O. C. 980.

a Archaiol. Vol. II. p. 495. Powell's Hist. Wales, p. 60.

CANT X. gorchfygu gan y Cymry, gorfu arnynt ffoi o'r wlad.[a]



Bledri. O. C. 983. Ar farwolaeth Gugan esgob Llandaf, Bledri, trwy gydsyniad y tywysog, a'r offeiriaid, a'r bobl, a ddewiswyd yn esgob yn ei le ef. Dywedir mai yr ysgolhaig goreu yn Nghymru y pryd hyny oedd Bledri; a'i fod yn ddiwyd iawn i helaethu gwybodaeth yn yr esgobaeth. Fel ag y mae y dynion goreu yn ddarostyngedig i ofidiau, dygwyddodd rhyw ymryson rhwng gweision Bledri a gweision y Tywysog; ac wrth ymdrechu eu heddychu hwynt, cafodd Bledri ei glwyfo. Bledri yn barnu fod y tywysog yn attebol am yr ymddygiad anfoesol hwn o eiddo ei weision, a'i hysgymunodd ef; ac ni's cafodd ei adferu i heddwch yr eglwys, nes iddo roddi maenor Iunulwc i eglwys Llandaf, fel iawn am y trosedd.[b]

Y Daeniaid yn sir Forganwg. O. C. 986. Y Daeniaid, gwedi tirio yn ngwlad yr Haf, a ddaethant drosodd i sir Forganwg, ac a losgasant Gôr Cenydd, yn nghyd â llawer o eglwysi ereill, ac a yspeiliasant y wlad. Y flwyddyn ar ol hyny, tiriodd y Daeniaid yn sir Aberteifi; ac fel pe buasent yn cyhoeddi rhyfel yn erbyn crefydd y Cymry, hwy a ddinystriasant eglwysi Llanbadarn-fawr, Llanrhystid, a Llandydoch; a chwedi myned

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 293. [b] Camb. Biog. Godwin's Catal.

myned i Dŷ Ddewi, a dinystrio yr eglwys honno, hwy a aethant ar hyd fôr Hafren, i Forganwg, ac a ddinystriasant Gôr Cattwg, Côr Cyngar, ac eglwys Llandaf, yn nghyd â llawer o'r eglwysi goreu yn y wlad. Llosgasant hefyd yr ydau, a lladdasant gynnifer o anifeiliaid, fel y bu newyn mawr yn y wlad,* ac y bu farw llawer o'r trigolion.[a] Meredydd, tywysog y Deheu-barth, yn analluog i orchfygu y Daeniaid, ac yn ofni yr emmillent y wlad, a gytunodd i dalu iddynt geiniog am bob dyn yn ei dywysogaeth, ar yr ammod iddynt ymadael yn hollol â'r wlad. Oni ni thalodd un o dywysogion Gwynedd y deyrnged ddi-anrhydeddus hon.[b] CANT X. O. C. 988.

Cristianogion y cant diweddaf, a'r cant hwn, yn cam-ddyall yr ugeinfed bennod o'r Datguddiad,† a dybiasant y byddai i Satan gael ei ollwng o'i garchar, ac y byddai diwedd ar y byd yn y flwyddyn mil o oedran Crist. Mewn canlyniad i hyn, llawer o ddynion a adawsant eu perthynasau, a'u cyssylltiadau gwladol; ac wedi rhoddi eu tiroedd, a'u trysorau, i'r eglwysi a'r mynachlogydd, a aethant gydâ brys i wlad Canaan, lle Dysgwyliad am ddiwedd y byd.

 yr

* Dywedir mai yn nghylch yr amser hyn y dechreuwyd bwyta pysgod Cregin, yn neheu-barth Cymru.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 499.

[b] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 300.

† Adnodau 2, 3.

CANT X.

yr oeddynt yn dysgwyl Crist i ddisgyn o'r nefoedd, i farnu y byd. Ereill a gyflwynasant eu hunain i'r gwasanaeth mwyaf gwael yn mhlith yr offeiriaid, gan feddwl y buasai Barnwr mawr y byd yn fwy tirion o honynt, o blegid iddynt roddi eu hunain yn gaeth-weision i'w weinidogion ef. Pan fyddai diffyg ar yr haul, neu ar y lleuad, trigolion y dinasoedd, mewn amrywiol barthau o'r byd, a adawent eu trigfanau, ac a fföent i ogofau y ddaiar, ac i goppa y mynyddoedd. Mewn llawer o wledydd, gadawent y temlau, y llysoedd, a'r adeiladau gwychaf i adfeilio; ac mewn rhai manau, tynwyd hwynt i lawr, gan dybied na byddai dim angenrheidrwydd wrthynt, yn gymmaint a bod ymddattodiad pob peth yn nesau. Y doethion, a'r rhai dyallus, a ymdrechent i ddiddymu yr achos o'r ofnau afreidiol hyn, a'u gyru ymaith; ond yr oedd eu hymdrechiadau yn aneffeithiol, ac ni chafodd ofnau y werin goel-grefyddol eu symmud ymaith yn hollol, cyn dechreuad y cant nesaf.[a] Y mae yn ansicr i ba raddau y cafodd y dyb gyfeiliornus hon ei chofleidio yn Nghymru; ond oddiwrth y parch ag oedd gan y Cymry y pryd hyn i eglwys Rhufain, a'u parodrwydd i dderbyn pa bethau bynnag a gymmeradwyid ganthi, gellir casglu yn naturiol, nad oedd eglwysi Cymru ddim yn hollol rydd oddiwrth y cyfeiliornad cyffredinol hwn, yn nghyd â'i effeithiau poenus a dinystriol.

YR

[a] Mosh. Eccles. Hist. Vol. II. p. 217.

## YR UNFED CANT AR DDEG.

RHWNG y difrod parhaus ag oedd ar yr athrofäau a'r eglwysi, yn nghyd âg anwybodaeth a thrachwant llawer o'r esgobion, yr oedd achos crefydd yn isel iawn yn mhlith ein hynafiaid yn nechreuad y cant hwn. Yr esgobion, i'r dyben i gyfoethogi eu hesgobaethau, a ysgymunent arglwyddi a phendefigion Cymru, am y drygau lleiaf; ac ni adferent hwynt i heddwch yr eglwys, heb gael llawer o'u tiroedd, a'u meddiannau, fel iawn am y trosedd. Mewn canlyniad i'r ymarferiad pabaidd, a thrawsarglwyddiaethol hwn, yn mhlith esgobion Llandaf, cynhyddodd yr esgobaeth hono i faintioli a chyfoeth mawr. Ond nid ymddengys fod esgobion yr esgobaethau ereill, dan lywodraeth yr ysbryd cybyddlyd a thrahaus hwn, i raddau mor helaeth, ag esgobion Llandaf. Pan ddinystrid yr athrofäau gan ryfelwyr anfoesgar yr oes, yr oedd y llyfrau yn cael eu llosgi, a'r athrawon, yn nghyd â'u dyscyblion, yn cael eu hymlid ymaith, neu eu gosod i farwolaeth: a thrwy hyny yr oedd anwybodaeth ac annhrefn yn cynnyddu.

CANT XI.

Crefydd yn isel yn Nghymru.

O. C. 1000.

CANT XI.



Aeddan yn adgyweirio yr eglwysi. O. C. 1003.

Pan oedd pethau yn y dull annbrefnus hyn, Aeddan ab Blegwrid, tywysog Cymru, a roddodd orchymmyn i adgyweirio yr eglwysi a'r athrofäau a dorasid yn y rhyfel; ac i osod pob peth yn drefnus ynddynt fel o'r blaen. A phan laddwyd Aeddan, ac y daeth Llywelyn ab Seisyllt i fod yn dywysog yn ei le ef, dywedir i'r wlad gael heddwch dros ddeuddeng mlynedd.

Dedwydd dwch y Cymry dan deyrnasiad Llywelyn. O. C. 1015.

Yr oedd Llywelyn ab Seisyllt, yn rhyfelwr dewr, ond yn caru heddwch, trefn, a chyfiawnder A dywedir fod y Cymry, yn ei amser ef, yn llwyddo yn eu holl orchwylion, ac yn fwy cyfoethog nag oeddent wedi bod er ys oesoedd o'r blaen.[a]

Joseph, esgob Llandaf. O. C. 1022.

Ar farwolaeth Bledri, esgob Llandaf, Joseph a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef. Yn amser Joseph, Rhydderch ab Iestyn, tywysog y Deheu-barth, a roddodd lawer iawn o diroedd, ac eglwysi, i esgobaeth Llandaf;* ac a gadarnhaodd y meddiannau a roddasid iddi o'r blaen. Arglwydd Morganwg, hefyd, yn nghyd â phendefigion ereill, gwedi eu hysgymuno, a roddasant lawer o feddiannau i esgobaeth Llandaf, am eu gollyngdod.[b]

Gan

[a] Archaiol. Vol. II. p. 501, 503.

* Y mae Godwin yn dywedyd iddo roddi pedwar ar bymtheg ar hugain o leodd; a bod rhai, o'r rhai hyny, yn sir Gaerfyrddin a sir Benfro.

[b] Godwin's Catalogue.

CANT XI.

Gan fod esgobion Llandaf y pryd hyn yn cael eu cyssegru gan arch-esgob Canterbury, y mae yn rhaid fod cydffurfiad agos rhyngddynt mewn athrawiaeth a dyscyblaeth, ag esgobion Lloegr yn gyffredinol; ac y mae yn ddiammau fod cyfreithiau eglwysig y brenin Canute, y rhai a wnaethpwyd yr amser hyn yn nghymmanfa Winchester, yn egluro llawer ar ansawdd a threfn pethau yn esgobaeth Llandaf.

Cymmanfa Winchester. O. C. 1022.

Gwedi i'r brenin Canute, a'i bendefigion, a'i offeiriaid, gyfarfod yn Winchester, cytunasant ar y pethau canlynol, 1. 'Fod yn ddyledswydd ar 'bawb i gadw rheolau y grefydd gristianogol. '2. Os lleddir dyn mewn eglwys, ystyrir y pe-'chod hwnw yn anfaddeuadwy; oddi eithr i'r 'llofrudd ffoi i ryw noddfa gymmeradwy, a gwn-'euthur iawn am y trosedd i Dduw a dyn, yn ol 'yr hyn a orchymmyno y brenin. 3. Fod trosedd-'iadau llai, a gyflawnir mewn eglwysi, i gael eu 'cospi yn ol natur y trosedd, ac urddas yr eglwys.* '4. Fod yr ordinhadau a weinir gan yr offeiriaid, 'i gael eu parchu yn fawr; yn gymmaint a bod 'yr angylion yn bresennol, ac yn barod i gospi pob 'dirmyg a roddir arnynt. 5. Os cyhuddir off-'eiriad o ryw fai gan un dyn, gall buro ei hun, 'trwy ddywedyd yr offeren, a chymuno: os cy-'huddir ef gan dri o ddynion, rhaid iddo, heblaw

'cymuno,

* Yr oedd rhai eglwysi yn fwy urddasol nâ'u gilydd.

CANT XI. 'cymuno, gael dau gyd-burwyr o'r un radd ag 'ef ei hun. 6. Na chaniateir i weinidogion 'Duw, yn neilltuol yr offeiriaid, i gael dim mas-'nach â benywod. A bod i'r rhai a gadwo 'ddiweirdeb, i fwynhau rhagor-freintiau cyd-'radd a'r arglwyddi. 7. Fod pob cristion i 'ymochelyd rhag priodi ei berthynas, o fewn i'r 'chwechfed radd; ac na fyddo i neb briodi my-'naches, neu un a fyddo gwedi ei hysgaru oddi 'wrth ei gwr. 8. Os gwrthod neb i dalu deg-'wm,* bydded i swyddog y brenin, yr esgob, yr 'offeiriad, ac arglwydd y maenor, gymmeryd y 'degwm trwy drais, a'i roddi i'r sawl y byddo yn 'ddyledus; a gadael ond y nawfed rhan i'r tro-'seddwr; a rhaned yr esgob, ac arglwydd y 'maenor, yr wyth rhan a fyddo yn ol, rhyng-'ddynt. 9. Fod ceiniogau Pedr,† i gael eu talu 'yn ddyladwy. 10. Os na thelir y blaen-ffrwyth-'au ar ŵyl S. Martin, bydded y ddirwy,§ yn un 'ar

* Ethelwulff oedd y brenin cyntaf yn Lloegr a wnaeth gyfraith i beri i'w ddeiliaid dalu degwm, yn y flwyddyn 855. Fuller's Ch. Hist. p. 111.

† Ceiniogau Pedr, oeddynt dreth o geiniog ar bob tŷ, a godwyd yn gyntaf gan Issa, brenin y West Saxons, yn y flwyddyn 725, i'r dyben i sefydlu, a chynnal athrofa Saesneg yn Rhufain. Mewn amser, daeth i fod yn dreth gyffredinol trwy holl Loegr, ac er mai at gynnal athrofa Saesneg yn Rhufain y codwyd hi ar y cyntaf, y Pab, pan gafodd gyfleustra, a'i cymmerodd yn hollol iddo ei hun. Mosh. Eccles. Hist. Vol. II. p. 278. Note.

§ Fine.

CANT XI.

'ar ddeg cymmaint i'r esgob, a dau cant, ac 'ugain swllt i'r brenin. 11. Os bydd gan ben-'defig eglwys a lle claddedigaeth yn ei faenor, 'rhaid iddo roddi i'r eglwys honno y drydedd 'ran o'i ddegymau, a theyrnged i'r fam-eglwys 'oddi wrth bob tŷ lle y byddo deiliaid rhydd. '12. Fod offrymau i gael eu rhoddi dair gwaith 'bob blwyddyn, at gadw goleu yn yr eglwysi. '13. Fod tâl ddyladwy i gael ei roddi, pan 'dorir tir at gladdedigaeth. 14. Fod gwyliau 'ac ymprydiau yr eglwys i gael eu cadw. 15. 'Na byddo na chadw marchnadoedd, na myned 'i hela, ar y sabbath. 16. Fod yr ymprydiau 'i gael eu cadw yn y grawys; ac ar wythnosau 'y cydgoriau;* ac ar noswyliau y forwyn fendi-'gaid, a'r holl apostolion; oddieithr ar amser y 'pasg, ac o ddydd nadolig hyd yr wythfed dydd 'o'r ystwyll; ac ar bob dydd gwener, na byddo 'yn ddydd gŵyl. 17. Na byddo neb i dderbyn 'llwon ar y gwyliau, na dim barn i gael ei wneu-'thur mewn llysoedd, o'r mis cyn nadolig, hyd 'yr wythfed dydd o'r ystwyll; ac o'r trydydd 'Sul cyn y grawys, hyd y pymthegfed dydd yn 'ol y pasg. 18. Annogir pawb i ddiwygio eu 'buchedd, a chyfaddef eu pechodau i'r offeiriad, 'ac i dderbyn y cymmun, o leiaf, dair gwaith yn 'y flwyddyn. 19. Annogir pawb i garu Duw, a 'chadw

* Sef ar ol y dydd cyntaf o'r grawys, y Sulgwyn, y 14 Fedi, a'r 15 o Ragfyr.

CANT XI. 'chadw ei orchymmynion; i ddysgu y grêdo, a 'gweddi yr Arglwydd, yr hon, mewn saith dei'syfiad, a gynnwys bob peth angenrheidiol i'r 'bywyd hwn, a'r un i ddyfod. Hefyd, i bawb 'ymwrthod â phechodau marwol; ac os trosedda 'neb, fod iddynt ddiwygio, yn ol cyfarwyddiad'au yr offeiriad. Fod pawb i gilio oddi wrth 'buteindra, godineb, a phob aflendid; a chadw 'yn eu cof fanylrwydd y farn ddiweddaf. 20. 'Yn ddiweddaf, fod yr esgobion a'r bugeiliaid, 'i gael eu hannog i fod yn wyliadwrus ar eu 'praidd; i bregethu athrawiaethau iachus, ac i 'fod yn siamplau o bob daioni.'[a]

Sel Joseph. Joseph, esgob Llandaf, yn gofidio wrth ystyried esgeulusdra rhieni i hyfforddi eu plant yn egwyddorion y grefydd gristianogol, a'r anfoesoldeb mawr ag oedd wedi ymdaenu trwy ei holl O. C. 1030. esgobaeth mewn canlyniad, a roddodd orchymmyn, na wnelid un math o waith ar y Sabbath; ac hefyd i'r offeiriaid i addysgu y ieuengctyd i ddarllen yr ysgrythurau, heb na thâl na gwobr; ac i fyw yn heddychlon â phob dyn. Joseph hefyd a ddiwygiodd y dull o gadw y gwyliau Mabsant; ac a barodd na byddai dim yn cael ei wneuthur ar y cyfryw ddyddiau, ond gweddio Duw, gwneuthur elusenau, a chynnal coffadwriaeth

[a] Cressy's Ch. Hist. B. XXXIV. Chap. 6.

iaeth barchus o Dduw a'i saint, yn nghyd â'u gweithredoedd canmoladwy. Dywedir fod Joseph yn ŵr doeth, duwiol, a dysgedig;[a] ac wedi iddo fod yn esgob yn Llandaf dros ugain mlynedd, a gwneuthur llawer o ddaioni yn yr esgobaeth honno, efe a fu farw ar ei daith yn agos i Rhufain.[b]

CANT XI.

Gruffydd ab Llywelyn. O. C. 1037.

Yn ebrwydd gwedi i Gruffydd ab Llywelyn ennill llywodraeth Gwynedd, y Saeson a'r Daeniaid a oresgynasant Ddeheu-barth Cymru. Gruffydd yn dywysog ieuangc, llawn o ddewrder, a aeth i'w cyfarfod hwynt, ac a'u gorchfygodd wrth Rhyd y Grog, ar lan afon Hafren. Gwedi cael ei ddercbafu trwy y fuddugoliaeth hon, Gruffydd, ar ei ddychweliad i Wynedd, a dramwyodd trwy y Deheu-barth, ac a losgodd Lanbadarn-fawr yn ulw. Hywel, tywysog y Deheu-barth, yn ofni colli ei dywysogaeth, a lwyddodd gydâg Edwyn, brawd Leoffric, iarll Caerlleon ar Ddyfrdwy, i ddyfod â byddin o Saeson a Daeniaid, i'w gynnorthwyo ef yn erbyn Gruffydd. Ond pan gyfarfu Gruffydd â hwynt, efe a'u gorchfygodd â lladdfa fawr, a gorfu ar Hywel ffoi am ei einioes.[c]



[a] Archaiol. Vol. II. p. 506, 510.

[b] Godwin's Catal.

[c] Powell's Hist. Wales, p. 85.

CANT XI.

Hywel, tywysog y Deheu-barth, gwedi adgadarnhau ei fyddin, a wnaeth gynnyg drachefn i ennill yn ol ei dywysogaeth; ac a gymmerodd ei wraig gydâg ef i faes y gwaed, fel y gallai hi gyfranogi o orfoledd y fuddugoliaeth ag oedd ef mewn gobaith o'i chael. Pan glybu Gruffydd hyn, efe a ddaeth yn gyflym o Wynedd i'r Deheubarth, ac a gyfarfu â Hywel yn Mhencadair, yn sir Gaerfyrddin; lle y gorchfygodd efe ef yn hollol. Hywel, trwy lawer o anhawstra, a ddiangodd, ond cymmerwyd ei wraig ef yn garcharor. Er fod Gruffydd yn rhyfelwr doeth a dewr, ac wedi ei gynnysgaeddu â llawer o rinweddau da, pan ennillodd efe y fuddugoliaeth ar Hywel, efe a ymchwyddodd. Ac yn lle ymddwyn fel tywysog anrhydeddus, ac amddiffyn rhinwedd ac anrhydedd y wraig a gymmerasai yn garcharor, efe a oddefodd ei hun i gael ei orchfygu gan ei glendid hi, ac a'i cymmerodd yn ordderch-wraig iddo ei hun. Bu hyn yn ofid mawr i lawer o dduwiolion yr oes, a dywedasant lawer yn erbyn y weithred bechadurus hon o eiddo Gruffydd, ond ni's gallasant lwyddo gydâg ef i'w gollwng hi ymaith. Hywel, yn llawn galar ac anfoddlonrwydd am y golled a gafodd, a gasglodd ei filwyr yn nghyd cyn gynted ag y gallodd, gydâ bwriad i ennill yn ol ei wraig a'i goron; ond Gruffydd a'i gorchfygodd drachefn, a

Brwydr Pencadair. O. C. 1038.

chafodd

chafodd Hywel ei ladd, a'i holl fyddin ei dinystrio.[a] CANT XI.

Ar farwolaeth Hywel, meibion Rhydderch ab Iestyn a honasant hawl yn nhywysogaeth y Deheu-barth; ond nid oeddynt yn ddigon galluog i orchfygu Gruffydd; a'r wlad a gafodd lonyddwch dros ychydig o flynyddoedd. Ar ddiwedd yr heddwch hwn, Harold, blaenor llu y Saeson, a ddaeth â'r fath fyddin luosog i Wynedd, fel y gorfu ar Ruffydd ffoi o'i wlad. A phan ddychwelodd efe yn ol, Madog Min, esgob Bangor, yr hwn a fradychasai ei dad Llywelyn ab Seisyllt, a'i bradychodd yntef hefyd; a chwedi torri pen Gruffydd, hwy a'i hanfonasant yn anrheg i Harold.[b] Marwolaeth Hywel. Madog Min yn bradycha Gruffydd.

Pan fu farw Joseph, esgob Llandaf, Herwallt a ddewiswyd yn esgob yn ei le ef. Er fod Herwallt yn Gymro, efe a gafodd ei ddwyn i fynu yn mhlith y Saeson, a'i gyssegru mewn cymmanfa, yn Llundain, gan arch-esgob Canterbury. Dywedir i Herwallt, fel yr esgobion o'i flaen, ysgymuno rhai o arglwyddi y gymmydogaeth, a chael llawer o diroedd i'r esgobaeth am eu gollyngdod hwynt. Yr oedd pabyddiaeth Herwallt. O C. 1059.



[a] Archaiol. Vol. II. p. 508. Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 316—320.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 515.

CANT XI.

Pererindod i Rhufain.

iaeth gwedi cynnyddu i'r fath raddau y pryd hyn, fel ag y cyfrifai cristianogion Cymru daith o bererindod i Rhufain, yn iawn digonol am lawer o bechodau. Dywedir i un Caradog, yn amser esgob Herwallt, fel arwydd o'i edifeirwch, a chydâ bwriad i wneuthur iawn am ei bechodau mawrion, fyned ar daith o bererindod i Rhufain, ac addaw treulio saith mlynedd o benyd, a rhoddi tir i esgobaeth Llandaf.[a]

William y Gorchfygwr yn dyfod i Loegr. O. C. 1066.

Gwedi coroni Harold yn frenin Lloegr, William y Gorchfygwr, Duc Normandy,* a ddaeth i'r ynys hon, â byddin luosog; ac a orchfygodd Harold yn mrwydr Hastings, ac a deyrnasodd yn ei le ef. Tra bu William a Harold yn ymladd am goron Lloegr, ni chymmerodd y Cymry ddim sulw o honynt. Ond gwedi i'r Saeson golli y dydd, a thra yr oedd William yn absennol yn Normandy, y Cymry a unasant â'r Saeson i anrheithio sir Henffordd. Ychydig o amser wedi hyn, Caradog mab Gruffydd ab Rhydderch, a anfonodd am fyddin o'r Normaniaid i'w gynnorthwyo ef i ennill tywysogaeth y Deheu-barth oddiar Meredydd, mab Owain ab Edwyn.[b]

O. C. 1069.

Y Normaniaid gwedi gorchfygu Meredydd, gosod

[a] Godwin's Catal.

* Talaith yn Ffraingc.

[b] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 343—345.

gosod Caradog yn dywysog y Deheu-barth, a chael blâs ar anrhaith y wlad, a oresgynasant Ddyfed, ac a anrheithiasant sir Aberteifi. Er fod Caradog dan rwymau iddynt am y cynnorthwy a roisant iddo, nid oedd efe yn hoffi eu gweled yn anrheithio ei wlad: o blegid hyny efe a aeth â llu dewisol o wyr Gwent a Morganwg, yn nghyd â'i wyr ei hun, ac a'u gyrodd hwynt allan o'r wlad, gwedi dwyn eu hyspail oddi arnynt.[a] CANT XI.

Ar farwolaeth Bleiddyd, esgob Tŷ Ddewi, Sulien ddoeth, gwr enwog mewn duwioldeb a dysgeidiaeth, a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef. Gwedi bod yn ddiwyd yn y cyflawniad o ddyledswyddau pwysfawr y swydd ardderchog hono dros bum mlynedd, Sulien a'i rhoddodd i fynu; ac Abram a wnaethpwyd yn esgob Tŷ Ddewi yn ei le ef.[b]

Sulien, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1070.

O blegid i dywysogion Morganwg gael llywodraeth y Deheu-barth, Rhys ab Tewdwr Mawr,* a aeth drosodd i Lydaw. Ond yn amser Abram, esgob Tŷ Ddewi, efe a ddaeth yn ol i Gymru, ac a honodd hawl i lywodraeth y Deheu-barth. Y Cymry, gwedi blino ar deulu Gwrgant, ag oedd yn llywodraethu y pryd hyn, o blegid fod y teulu hwnw yn caru rhyfel, ac yn gwybod

Rhys ab Tewdwr, tywysog y Deheubarth. O. C. 1077.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 518. [b] Ibid. p. 521.

* Tewdwr oedd fab i Einion ab Owain ab Hywel Dda.

CANT XI.

gwybod fod hawl Rhys ab Tewdwr yn gyfiawn, a'i fod yntef yn ŵr doeth a deallus, a gytunasant yn unfryd i'w dderbyn ef yn dywysog arnynt.[a] Y flwyddyn ar ol hyn, y Saeson a diriasant yn Nhŷ Ddewi, ac a ddinystriasant y dref. Ac yn fuan yn ol hyny, Abram, esgob Tŷ Ddewi, a fu farw; a gwnaethpwyd i Sulien, yr hen esgob, i gymmeryd gofal yr esgobaeth arno drachefn.[b]

Yr oedd eglwys Tŷ Ddewi mewn parch mawr gan holl gristianogion yr ynys, yn yr oes hon. Cyfrifent fod cymmaint o haeddiant yn y weithred o fyned i ymweled â Thŷ Ddewi, ddwy waith, a myned i ymweled â Rhufain, un waith.* Ac mewn canlyniad i'r grediniaeth goel-grefyddol hwn, pererinion o amrywiol leodd a aent i ymweled â Thŷ Ddewi.[c] Pan oedd Sulien yr ail waith yn esgob Tŷ Ddewi, William y Gorchfygwr, Duc Normandy, gwedi clywed am sancteiddrwydd y lle, a chredu fod llawer o rinwedd a haeddiant yn y weithred o ymweled â'r eglwys

[a] Archaiol. Vol. II. p. 521. [b] Ibid. p. 522.

* Roma semel quantum, bis dat Menevia tantum. i. e. It was esteemed as meritorious to visit St. David's twice, as to visit Rome once.

Rhyw ŵr mwy union-gred nâ chyffredin, a attebodd,
Mercedem similem reddit uterque Locus. i. e. It is as meritorious to visit one as the other.

[c] Brown Willis's Survey.

eglwys gadeiriol, lle y bu Dewi yn gweinidogaethu, a aeth ar daith o bererindod i ymweled â Thŷ Ddewi. Pan oedd ar y daith hon, efe a roddodd lawer o roddion i eglwysi, esgobion, ac offeiriaid Cymru; ac hefyd i'r mynachlogydd, a'r mynachod.[a]

CANT XI.

William yn myned i ymweled â Thŷ Ddewi.

O. C. 1080.

Yn yr un flwyddyn ag y bu William y Gorchfygwr yn Nhŷ Ddewi, Rhys ab Tewdwr a wnaeth ryfel â Iestyn ab Gwrgant o Forganwg; ac a ddinystriodd gastellydd Denys Powys, Llan Illtyd; a Dindryfan. Mewn canlyniad i hyn, Iestyn a ruthrodd arno yntef, ac a anrheithiodd ystrad Towi, a Brycheiniog, ac a gafodd y fuddugoliaeth arno. Iestyn, pan ddychwelodd o'r frwydr hon, a adeiladodd gastell cadarn yn Nghaerdydd; ac a wnaeth gastell Cynffyg, a chastell Trefufered, yn gadarnach nag oeddent o'r blaen.[b]

O. C. 1087.

Tri mab Bleddyn ab Cynfyn, yn dymuno cael yn ol y llywodraeth a gollasent ar farwolaeth eu tad, a wrthryfelasant yn erbyn Rhys ab Tewdwr. Rhys, yn analluog i'w gwrthwynebu, a ffôdd i'r Iwerddon; a chwedi cael byddin o Wyddelod a Scotiaid, a ddychwelodd i Gymru, ac a ruthrodd ar ei elynion yn Llechryd, ac a'u gorchfygodd hwynt yn llwyr. Y flwyddyn ar ol hyn, bu farw

Brwydr Llechryd.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 522. [b] Ibid.

CANT. XI.

Marwolaeth Sulien. O. C. 1088.

farw Sulien esgob Tŷ Ddewi. Cyfrifid yr esgob hwnw y doethaf, a'r mwyaf clodfawr o holl esgobion Cymru, a dywedir ei fod yn rhagori ar bawb yn ei dduwioldeb a'i rinweddau da. Yn yr un flwyddyn hefyd, bu daiar-gryn mawr trwy holl ynys Brydain; a thiriodd môr-ladron yn Nhŷ Ddewi, y rhai, gwedi yspeilio yr eglwys o'i holl drysorau, a losgasant y dref â thân.[a]

Ar farwolaeth Sulien, Rhyddmarch ei fab a gyssegrwyd yn esgob Tŷ Ddewi yn ei le ef. Dywedir fod Rhyddmarch, fel ei dad, yn hynod mewn doethineb a dysgeidiaeth; ac na fu un athrofa yn Nhŷ Ddewi gwedi ei ddyddiau ef, dros lawer o flynyddoedd. Y mae llaw-ysgrifen o'i waith ef, ag sydd yn cynnwys, yn benaf, hanes bywyd saint ynys Brydain, mewn bod hyd heddyw.[b] *

Fel ag yr oedd pechodau y Cymry yn galw am farn i syrthio arnynt, yr Arglwydd a oddefodd i amgylchiad i gymmeryd lle y pryd hyn, ag a fu yn achos o gyfnewidiad mawr yn y wlad. Llewelyn ac Einion, dau bendefig yn Neheu-barth Cymru, a wrthryfelasant yn erbyn Rhys ab Tewdwr, ac a ruthrasant arno ef yn Llandudoch, yn sir Benfro; lle yr oedd y pryd hyny yn preswylio.

Brwydr Llandudoch. O. C. 1088.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 523. [b] Camb. Biog.

* Among the Cottonian collection in the British Museum, Vespasian, A. XIV.

wylio. Ond Rhys ab Tewdwr a'u gorchfygodd hwynt â lladdfa fawr. Einion, gwedi ei orchfygu, a ffôdd at Iestyn ab Gwrgant, tywysog Morganwg, yr hwn hefyd oedd mewn gwrthryfel yn erbyn Rhys ab Tewdwr, tywysog y Deheu-barth. Iestyn a addawodd roddi ei ferch yn wraig i Einion, ond iddo ef lwyddo gydâ y Normaniaid, i anfon byddin i'w cynnorthwyo hwynt yn erbyn Rhys ab Tewdwr. Ar yr addewid hon, Einion a aeth i Loegr; a Robert ab Amon,* gwr mawr yn llys William Ruffus, ar ddymuniad Einion, a gymmerodd y gorchwyl arno, ac a ddewisodd ddeuddeg o farchogion cymmeradwy â byddin luosog o filwyr i wasanaethu dano. Robert ab Amon, a'i wyr, a diriasant yn Morganwg, yn gynnar y flwyddyn ganlynol, a chawsant eu derbyn yn anrhydeddus gan Iestyn, arglwydd y wlad; a chwedi uno â'r Cymry, hwy a ddechreuasant anrheithio tiriogaethau Rhys ab Tewdwr. Er fod Rhys y pryd hyn yn ddeuddeg mlwydd a phedwar ugain oed, efe a aeth yn erbyn y gwrthryfelwyr, ac a'u cyfarfu hwynt yn Hirwaen Wrgant, lle y bu brwydr waedlyd, ac y cafodd tywysog y Deheu-barth ei orchfygu. Goddiweddwyd Rhys ab Tewdwr yn Nglyn Rhoddnai; ac yno y gosodwyd ef i farwolaeth. Felly y syrthiodd Rhys ab Tewdwr, a chydâg ef ogoniant tywysogaeth y Deheu-barth.[a]

CANT XI.

O. C. 1090.

Marwolaeth Rhys ab Tewdwr.

O. C. 1091.



* Robert Fitzhammon. Archaiol. Vol. II. p. 524.

CANT XI.



Iestyn ab Gwrgant, gwedi ennill llywodraeth y Deheu-barth, a dalodd y Normaniaid am eu gwasanaeth, ac a'u gollyngodd hwynt ymaith; ond ni roddai efe ei ferch i Einion yn ol ei addewid. Einion, yn llawn llid, o blegid ymddygiad anghyfiawn Iestyn tu ag atto, a frysiodd ar ol y Normaniaid, ac a'u goddiweddodd cyn iddynt hwylio. Gwedi i'r Normaniaid ddyfod i dir, Einion a ddangosodd iddynt hwy y cam a gawsai gan Iestyn, ac mor hawdd oedd iddynt hwy ennill holl diriogaethau y tywysog hwnw.

Robert abAmon, a'i wyr, yn meddiannu Morganwg.

Robert ab Amon, yn cyd-ymdeimlo â'i gyfaill, ac yn gweled fod ganddo gyfleustra i gymmeryd meddiant o wlad ëang a ffrwythlon, a gyd-agweddodd â deisyfiad Einion; ac a ddi-feddiannodd Iestyn o'i diriogaethau. Gwedi gorchfygu Iestyn, Robert ab Amon, a'i ddeuddeg marchog, a ranasant oreuon ei wlad ef rhyngddynt. Robert ab Amon a gadwodd y rhan benaf iddo ei hun, yn nghyd âg arglwyddiaeth y cyfan oll; a rhanodd y gweddill rhwng y deuddeg marchog ag oedd gwedi anturio gydâg ef;* a chafodd Einion

* Pendefigion y Normaniaid yn Lloegr, gwedi clywed am lwyddiant Robert ab Amon, a'r marchogion, a lanwyd o ddymuniad am etifeddiaethau yn Nghymru; ac a ddeisyfasant gennad gan y brenin, i feddiannu, mewn ufudd-dod iddo ef, y tiriogaethu a allent hwy orchfygu ar eu traul eu hunain yn Nghymru. Brenin Lloegr yn tybied y gallasai hyny fod yn foddion i ddwyn Cymru oll, mewn amser, dan ei lywodraeth, a ganiataodd iddynt eu deisyfiad. Mewn canlyniad i hyn, llanwyd

Einion y mynydd-dir, a'r rhanau mwyaf anffrwythlon o'r wlad. Fel hyn y daeth y Normaniaid i Gymru, ac y cafodd arglwyddi y mers eu sefydlu yn y wlad hon.[a] CANT XI.

Bu y rhyfeloedd hyn yn niweidiol iawn i achos crefydd yn Ngwent a Morganwg; a dywedir fod prinder ŷd ac enllyn trwy yr holl wlad, mewn canlyniad i'r rhyfeloedd ag oedd gwedi bod dros amrywiol flynyddoedd trwy yr holl ynys; ac i lawer farw o newyn.[b] Newyn yn ynys Brydain.

Yn yr amser terfysglyd hwn, cafodd Herfeus ei gyssegru yn esgob Bangor. Dywedir ei fod yn llym yn ei ddyscyblaeth, a bod y Cymry yn ei anmharchu yn fawr. Y mae yn debygol fod Herfeus yn ffafrol i'r Saeson, ac iddo trwy hyny, dynu anfoddlonrwydd y Cymry. Ond pa beth bynnag oedd yr achos, gwyr Bangor a laddasant ei frawd; a phan ddarfu iddynt fygwth gwneuthur yr un peth iddo yntau, efe a ffôdd i Loegr, ac a gafodd esgobaeth Ely.[c] Pan oedd Herfeus yn Herfeus, esgob Bangor. O. C. 1093.



Powys, Gwynedd, a Deheu-barth, mewn byr amser, o bendefigion y Normaniaid, y rhai a elwid arglwyddi y mers, neu barwniaid; ac y mae llawer o'u hiliogaeth yn Nghymru hyd heddyw. I'r dyben i amddiffyn eu hunain yn eu hetifeddiaethau anghyfiawn, arglwyddi y mers a adeiladasant gastellydd trwy y wlad; a chanddynt hwy yr adeiladwyd y rhan fwyaf o'r castellydd ag sydd yn Nghymru.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 524, 525.

[b] Ibid. p. 528. [c] Brown Willis.

CANT XI.

Marwolaeth Rhyddmarch. O. C. 1098.

yn Mangor, bu farw Rhyddmarch enwog, esgob Tŷ Ddewi; a chyssegrwyd Griffri yn esgob yn ei le ef.[a] Yn ol dyddiau Griffri, collodd esgobaeth Tŷ Ddèwi ei hawdurdod arch-esgobaethol, ac a ddaeth yn ddarostyngedig i arch-esgob Canterbury.[b]

[a] Brown Willis. [b] Camb. Biog.

Y DEU-

## Y DEUDDEGFED CANT.

HERWALLT, esgob Llandaf, gwedi bod dros ddeugain mlynedd yn yr esgobaeth honno, ar amser peryglus iawn, a fu farw yn nechrenad y cant hwn, yn ŵr can mlwydd oed; a Gwrfan,* arch-diacon Llandaf, a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef. Pan wnaethpwyd Gwrfan yn esgob Llandaf, yr oedd yr esgobaeth honno mewn cyflwr tlawd a thruenus iawn. Pa beth bynnag oedd cyflwr moesol y plwyfolion, yr oedd yr eglwys gwedi ei dinystrio yn mron i'r llawr, yn y rhyfeloedd a fu o achos Iestyn ab Gwrgant; a'r ar-drethi wedi eu cymmeryd yn fforffed; ac o'r pedwar canonwr † ar hugain, ag oedd yn perthyn i'r eglwys gadeiriol, braidd y gallent gynnal dau, gydâ yr esgob. Gwrfan, i'r dyben i ddwyn pethau i well trefn, a achwynodd wrth y Pab, ac a gafodd lythyrau ganddo ef at frenin Lloegr,

CANT XII.

Marwolaeth Herwallt. O. C. 1103.

* Urban y gelwir yr esgob hwn gan Godwin.

† Canonwyr ydynt offeiriaid ag sydd yn feddiannol ar Gorfywoliaeth, ac yn cyflawni gwasanaeth crefyddol yn yr eglwysi cadeiriol.

CANT XII.

Lloegr, yn nghyd âg arch-esgob Canterbury, ac at offeiriaid, a boneddigion esgobaeth Llandaf; i ddeisyf arnynt i roddi pob cynnorthwy i adgyweirio yr eglwys gadeiriol, yn nghyd â'r eglwysi ereill ag oedd gwedi eu dinystrio trwy y rhyfeloedd ag oedd wedi bod yn y wlad. Arch-esgob Canterbury, hefyd, i'r dyben i annog y bobl i roddi yn hael at adeiladu yr eglwysi, a ryddhaodd bawb ag a roddai ddim at yr achos hyn, oddi wrth y bedwarydd rhan o bob penyd a osodid arnynt. Gwrfan, gwedi cael llawer o arian, a dynodd i lawr yn llwyr yr hen eglwys gadeiriol; ac a adeiladodd yr eglwys ag sydd yno yn bresennol.* Ac efe a barodd adeiladu yr eglwysi ereill hefyd, ag oedd gwedi eu tynu i lawr yn yr esgobaeth. Gwedi gorphen y pethau hyn, Gwrfan a ymdrechodd i gael yn ol y tiroedd ag oedd gwedi eu cymmeryd oddiwrth yr esgobaeth gan esgobion Tŷ Ddewi, a Henffordd; ac a achwynodd eu bod hwy gwedi traws-feddiannu rhaglawiaeth Gŵyr, Cydwely, Cantref bychan, Ystradwy, ac Euas; y rhai oedd gynt yn perthyn i esgobaeth Llandaf. Pan brofwyd y pethau hyn gan chwech o dystion, gorchymmynodd y Pab i adferu yr holl leodd hyny i esgobaeth Llandaf, fel cynt, ac i'r trigolion roddi ufudddod i Gwrfan, fel eu hesgob cyfreithlon.[a]

Y Pab yn annog y bobl i adeiladu eglwys Llandaf.

Gwrgan yn adeiladu yr eglwysi.

Pan

* Dechreuwyd adeiladu eglwys gadeiriol bresennol Llandaf, Ebrill 14, 1120. Godwin's Catalogue.

[a] Godwin's Catal.

Pan lifodd y môr dros ran fawr o wlad Fflanders, gorfu ar y trigolion ymofyn am wlad arall i breswylio. Llawer o honynt a ddaethant i Loegr, ac a ddeisyfasant ar y brenin Harry i roddi iddynt ryw ran o'i deyrnas, i wladychu ynthi. Harry, yn gwybod y buasai y fath nifer o drigolion defnyddiol yn ychwanegu at gryfdwr a chyfoeth ei deyrnas, ac hefyd yn ewyllysio darostwng cenedl y Cymry, er nad oedd ganddo un hawl gyfreithlon, a roddodd genad i'r Fflandrysiaid i wladychu yn ngwlad Rhws, yn sir Benfro; lle y maent hyd heddyw.[*]

CANT XII.

Y Fflandrysiaid yn dyfod i sir Benfro. O. C. 1105.

Riccart Grinfil, un o'r marchogion a ddaeth gydâ Robert ab Amon i Gymru, gwedi cael arglwyddiaeth Glyn Nedd yn etifeddiaeth, a aeth i wlad Canaan, i ymweled â bedd Crist yn Jerusalem. Pan ddychwelodd yn ol, efe a ddygodd gydâg ef o Ganaan, ŵr a'i enw Lalys, yr hwn oedd yn gywraint iawn mewn llawer o bethau, yn neillduol mewn Saernïaeth. Gwedi dyfod i Glyn Nedd, Riccart Grinfil a osododd Lalys ar waith i adeiladu Mynachlog Castell Nedd; ac a roddodd lawer o'i diroedd oddi amgylch i afon Nedd a Tawe, yn nghyd â chappel Castell Nedd, a'i ddegymau, a hanner pysgod Nedd, i gynnal y Fynachlog honno. Ac fel nad oedd yn ewyllysio cadw dim oddiwrth y Cymry, efe a roddodd y rhan

Adeiladu Mynachlog Castell Nedd. O. C. 1111.

[*] Powell's Hist. Wales, p. 128.

CANT XII. y rhan arall o'i etifeddiaeth i'r rhai ag oedd yn berchenogion arni, cyn ei ddyfodiad i'r wlad. Lalys, gwedi gorphen Mynachlog Castell Nedd, a gafodd diroedd yn Llangewyd yn sir Forganwg, ac a adeiladodd dref Trelalys, ac a symudodd yr eglwys yno.[a] Yn nghylch yr un amser, Gilbert, mab Richard de Clare, a roddodd eglwys Llanbadarn, yn sir Aberteifi, yn nghyd â'r tiroedd ag oedd yn perthyn iddi, i eglwys S. Pedr yn Nghaerloyw. Ond er hyny, y mae yn amlwg fod hen sefydliad eglwysig Llanbadarn fawr mewn bod flynyddoedd lawer wedi hyn.[b]

Trelalys.

Bernard, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1112.

Ar farwolaeth Griffri, esgob Tŷ Ddewi, Bernard, un o'r Normaniaid, a chaplan i'r brenin Harry y cyntaf, a wnaethpwyd yn esgob yn ei le ef, heb gael ei ddewis gan offeiriaid yr esgobaeth, fel arferol. Bernard, wedi ei wneuthur yn esgob gan y brenin Harry, ac yn gwybod ei fod mewn ffafr ganddo, a gymmerodd arno yr enw o arch-esgob Tŷ Ddewi; ac a barodd i'r groes gael ei dwyn o'i flaen ef trwy Gymru. Anfoddlonodd hyn arch-esgob Canterbury yn fawr, ac ni esgeulusodd un moddion i ddarostwng balchder esgob Tŷ Ddewi. A gorfu ar Bernard, gwedi gwario llawer o arian yn yr ymdrech hwn, roddi i fynu ei hawl i'r enw arch-esgob.[c] Ac o hyny allan,

[a] Archaiol. Vol. II. p. 541. Dugdale's Monast. Vol. I. p. 89.

[b] Hoare's Notes on Giraldus's Itin. [c] Godwin's Catal.

allan, daeth holl esgobaethau Cymru yn ddarostyngedig i arch-esgob Canterbury. CANT XII.

Ar ddyfodiad y Normaniaid i Gymru, a marwolaeth Rhys ab Tewdwr, Gruffydd, ei fab bychan, a gymmerwyd i'r Iwerddon, rhag ofn iddo gael ei ladd gan ei elynion. Gruffydd ab Rhys, gwedi aros yn yr Iwerddon nes ydoedd yn bump ar hugain oed, a ddychwelodd i'w wlad ei hun; ac a breswyliodd dros ychydig o amser yn Nghastell Penfro, gydâ Gerallt, yr hwn oedd yn briod â'i chwaer Nest. Pan glybu y brenin Harry fod Gruffydd ab Rhys gwedi dychwelyd i Gymru, a'i fod yn honni hawl i dywysogaeth y Deheu-barth, efe a roddodd orchymmyn i rai o'i gyfeillion i'w ddal ef. Gruffydd gwedi cael gwybodaeth o hyn, a ffôdd at Ruffydd ab Cynan, tywysog Gwynedd; yr hwn a'i derbyniodd ef yn gariadus, o blegid y cyfeillgarwch ag oedd gwedi bod rhyngddo a'i dad. Harry, gwedi clywed fod Gruffydd ab Rhys, yn cael ei oleddu gan dywysog Gwynedd, a ddeisyfodd ar Ruffydd ab Cynan, i ddyfod atto ef i Loegr; a thrwy eiriau denu, gwobrau mawrion, ac addewidion hael, a lwyddodd gydâ tywysog Gwynedd i addaw traddodi Gruffydd ab Rhys i'w ddwylaw ef. Cyfeillion Gruffydd ab Rhys, yn ofni fod rhyw ddrygau yn cael eu dwyn yn mlaen rhwng brenin Lloegr a

Gruffydd ab Rhys yn dychwelyd i Gymru. O. C. 1113.

Anffyddlondeb Gruffydd ab Cynan.

CANT XII.

thywysog Gwynedd, a ddeisyfasant arno i gilio o Aberffraw, fel y gallai gael cyfleustra i sylwi ar ymddygiad Gruffydd ab Cynan ar ei ddychweliad o Loegr. Pan ddaeth tywysog Gwynedd yn ol i Aberffraw, ac heb weled Gruffydd ab Rhys yno, efe a ofynodd pa le yr oedd; a phan wybu, efe a anfonodd wyr arfog i'w ddwyn ef yn ol. Gruffydd ab Rhys, yn gwybod eu bod yn dyfod, a redodd am noddfa i eglwys Aberdaron. Gruffydd ab Cynan, yn diystyru rhagor-fraint yr eglwys, mewn achos o'r natur hyny, a roddodd orchymmyn i'w wyr ei ddwyn ef oddi yno trwy drais. Ond offeiriaid y gymmydogaeth, yn llawn sel dros ragor-freintiau yr eglwys, a godasant yn unfryd yn erbyn swyddwyr y tywysog; ac a ddywedasant na oddefent hwy ddim i ragorfreintiau yr eglwys gael eu cwtogi yn y mesur lleiaf. A thra bu yr offeiriaid, a swyddwyr y tywysog, yn dadleu yn nghylch rhagor-freintiau yr eglwys, Gruffydd ab Rhys a ddiangodd liw nos, ac a ddaeth i Ystrad Tywi.[a]

Sel offeiriaid Gwynedd.

Llwyddiant Gruffydd ab Rhys.

Pan glybu cyfeillion Gruffydd ab Rhys ei fod gwedi dyfod i Ystrad Tywi, hwy a gyrchasant atto o bob man; ac efe a'u harweiniodd hwynt allan yn erbyn y Saeson, ac a ddinystriodd lawer o gastellydd y Normaniaid, ag oedd yn wasgaredig

[a] Archaiol. Vol. II. p. 542—544. Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 420—425.

edig trwy Gymru. Gwedi anrheithio Aber-tawy, a gwneuthur drygau mawr oddi amgylch i Lanymddyfri, Gruffydd ab Rhys a aeth i Gaer-fyrddin, yr hon oedd brif-eisteddle llywodraeth y Saeson yn Nghymru y pryd hyny; a chwedi gwarchae y castell, efe a'i maluriodd, ac a losg-odd y dref yn ulw. Gruffydd hefyd a ennillodd gastell Cydweli oddiar William de Lwndwn, ac a ddug yspail fawr o'r parthau hyny. Pan glywodd gwyr Caredigion am lwyddiant Gruff-ydd, hwy a ddeisyfasant arno i gymmeryd eu llywodraeth hwynt arno. Er cryfed oedd y Saeson yn y wlad honno, Gruffydd a aeth yn union i Aberteifi, a chwedi gwarchae y castell ag oedd iarll Gilbert, a'r Fflandrysiaid gwedi godi yn Mlaen Porth, efe a'i hennillodd, ac a'i malur-iodd i'r llawr. Bu yr ymladdfa hon yn angeuol iawn i'r Saeson ag oedd yn gwladychu yn y parthau hyny o sir Aberteifi. Gwedi dinystrio castell Blaen Porth, Gruffydd ab Rhys a ennill-odd gastell Peithell, lle yr oedd goruchwyliwr Gilbert yn byw. Pan orchfygodd Gruffydd y Saeson a'r Normaniaid ag oedd yn y parthau hyf o sir Aberteifi, efe a aeth i Glasgryg yn agos i Lanbadarn fawr, gydâ bwriad i ymosod ar gastell Aberystwyth dranoeth. Tra yr oedd Gru-ffydd yn gwersyllu yn Nglasgryg, bu eisiau llun-iaethar ei filwyr; a gorfu arno gymmeryd rhai o'r anifeiliaid ag oedd yn pori o fewn terfynau noddfa

CANT XII.

O. C. 1114.

Brwydr Blaen Porth.

CANT XII.

Llanbadarn;* yr hon oedd weithred annoeth a pheryglus yn yr oes goel-grefyddol honno. Ar y noswaith ag yr oedd Gruffydd yn Nglasgryg, llywodraethwr castell Aberystwyth a anfonodd i Ystrad Meirig, am fwy o wyr. Gruffydd, yn anwybodus o hyn, a esgeulusodd gadw ei filwyr mewn trefn; a phan ruthrodd efe dranoeth ar y castell, y Normaniaid a ddaethant allan, ac a'i gorchfygasant ef; a gorfu ar Ruffydd ab Rhys ddychwelyd i Ystrad Tywi.[a]

Gwrfan yn esgob Llandaf a Bangor.

O blegid nad oedd gan Gwrfan ond ychydig at ei gynhaliaeth, tra y bu yn dwyn pethau i drefn yn esgobaeth Llandaf; dywedir iddo, yn fuan wedi i Herfeus ymadael âg esgobaeth Ban- gor, gymmeryd gofal yr esgobaeth honno arn hefyd. Ond pan orphenodd efe adeiladu eglwys Llandaf, a chael yn ol y tiroedd ag oedd yn per- thyn iddi, efe a roddodd i fynu esgobaeth Ba- gor, ac un Dafydd o Scotland, a gyssegrwyd y esgob y lle hwnw. Yn amser esgob Dafydd lludw ac esgyrn Dyfrig, yr hwn oedd wedi bo yn esgob yn Llandaf, ac yn arch-esgob Nghaerlleon ar Wysg, a ddygwyd o ynys En

Dafydd, esgob Bangor. O. C. 1120.

* Nid yn unig yr oedd dynion yn mwynhau rha freintiau y Noddfäau hyn, ond anifeiliaid hefyd, a phob arall ag oedd yn byw o fewn eu terfynau. Powell's Wales, p. 147.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 546—548. Warrington's Hist. W Vol. I. p. 428—430.

lle y bu efe farw, i Landaf, ar ddeisyfiad esgob Gwrfan.[a]

CANT XII.

Morgan ab Cadwgan ynmyned i Jerusalem. O. C. 1126.

Morgan ab Cadwgan, gwedi lladd ei frawd Meredydd, a gafodd ei argyhoeddi yn llym gan ei gydwybod; ac i'r dyben i'w thangnefeddu, a chydâ golwg ar wneuthur iawn am ei bechod, a aeth ar daith o bererindod i Jerusalem: ond pan oedd yn dychwelyd yn ol, efe a fu farw yn ynys Cyprus.[b]

Mynachlog Llandudoch. O. C. 1129.

Yn amser esgob Bernard, Martin, y Norman cyntaf a orchfygodd y rhan honno o sir Benfro, a elwir Cemes, a adeiladodd Fynachlog yn Llandydoch, ac yno y claddwyd ef. Yr oedd y Fynachlog hon yn perthyn i'r gynnulleidfa honno o Fynachod a elwid Tiron: a Robert mab Martin a fynodd Abad i lywodraethu y mynachod ag oedd yno; ac a roddodd eglwys Llandydoch, a'r tiroedd ag oedd yn perthyn iddi, yn nghyd â'r bysgodfa i gynnal y Fynachlog. A'r brenin Harry y cyntaf, a gadarnhaodd holl roddion Robert, i fynachlog Llandydoch. Dywedir fod William, abad Tiron, a Bernard, esgob Tŷ Ddewi yn bresennol, pan urddwyd yr abad cyntaf yn y fynachlog hon.[c] Yr oedd Mynachlog Pil, yn sir Benfro, yr hon a adeiladwyd yn nghylch

[a] Brown Willis. [b] Powell's Hist. Wales, p. 156.

[c] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 55. Vol. III. p. 257.

CANT XII. nghylch yr un amser, yn perthyn i'r un gynnulleidfa.[a]

Mynachlog Tintem. O. C. 1131. Ychydig o amser gwedi hyn, Walter ab Richard a adeiladodd fynachlog yn Tintem; ac a roddodd lawer o diroedd i'w chynnal, a llawer o ragor-freintiau i'r mynachod ag oedd ynthi. Yr oedd y fynachlog hon yn perthyn i fynachod S. Mary. William, iarll Penfro gwedi hyny, a gadarnhaodd holl roddion Walter i fynachlog Tintem. Yn yr un flwyddyn yr adeiladwyd mynachlog Basingwerc, yn sir Fflint. Llawer o flynyddoedd gwedi adeiladu y fynachlog hon, Harry yr ail a gadarnhaodd yr holl diroedd a roddasid ar y cyntaf i fynachod Basingwerc, ac wedi hyny gan Ranulph, iarll Caerlleon ar Ddyfrdwy.[b]

Mynachlog Basingwerc.

S. Clares. Gwedi i'r Normaniaid ddyfod i Gymru, hwy a adeiladasant eglwys ar lan afon Taf, yn sir Gaerfyrddin, ac a'i cyssegrasant i S. Clares, gwr enwog o'u cenedl eu hun.[c] Ac yn mhen ychydig o amser gwedi hyn, adeiladwyd yno Briordŷ; mynachod pa un oeddent o gynnulleidfa S. Martin des Camps, yn Mharis.[d]

Yr oedd Gwrfan, esgob Llandaf, yn ŵr doeth, heddychlon,

[a] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 55. Vol. III. p. 257.

[b] Ibid. Vol. I. p. 90. [c] Archaiol. Vol. II. p. 36.

[d] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 116.

heddychlon, a haelionus iawn; ac efe a fu yn offeryn, nid yn unig i adferu yr esgobaeth honno i'r cyflwr ag yr oedd cyn ei amser ef, ond hefyd i ddiwygio moesau y trigolion i raddau mawr. Dywedir fod esgobaeth Llandaf, yn amser yr esgob hwn, yn fwy heddychlon nag un rhan o Gymru.[a] Gwrfan a fu farw pan oedd ar ei daith i Rhufain; ac esgobaeth Llandaf a fu heb un esgob dros chwe' mlynedd gwedi ei farwolaeth ef.[b] Dywedir fod Bernard, ag oedd y pryd hyn yn esgob Tŷ Ddewi, yn ŵr trahaus; ac iddo ddifrodi llawer o ardrethi yr esgobaeth, wrth ymdrechu i gael ei ddyrchafu i sefyllfa well. A phan nad oedd un esgob yn Llandaf, Bernard, heb yr esgus lleiaf o gyfiawnder, a gymmerodd diriogaethau Gŵyr, Cydwely, Cantref bychan, Ystradwy, ac Euas, oddi wrth esgobaeth Llandaf, ac a'u cyssylltodd âg esgobaeth Tŷ Ddewi. Ac o blegid mai Norman ydoedd, a'i fod yn ffafr y brenin Harry y cyntaf, nid oedd gwiw i neb i'w wrthwynebu ef yn hyn: ac o'r amser hyny hyd yn bresennol, y mae y tiriogaethau uchod yn rhan o esgobaeth Tŷ Ddewi.[c] Pan orfu ar Bernard roddi fynu ei hawl i'r enw arch-esgob, dywedir iddo, i'r dyben i ddangos ei sel dros babyddiaeth, osod gorchymmyn y Pab mewn grym,

CANT XII.

Marwolaeth Gwrfan. O. C. 1133.

Trahâ Bernard.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 556. [b] Godwin's Catal.

[c] Hoare's Notes on Giraldus's Itin.

CANT XII. grym, a gwneuthur i holl offeiriaid yr esgobaeth, ag oedd yn briod, i ymadael â'u gwragedd.[a]

Marwolaeth Harry y cyntaf. O. C. 1134.

Y Cymry, pan glywsant am farwolaeth Harry y cyntaf, brenin Lloegr, a ymwrolasant; ac o gariad at eu gwlad, a wrthryfelasant o unfryd yn erbyn y Saeson, y Normaniaid, a'r Flandrysiaid, ag oedd wedi trâws-feddiannu eu hetifeddiaethau, ac yn arglwyddiaethu arnynt. Gruffydd ab Rhys, gwedi cael cynnorthwy gan Ruffydd ab Cynan, tywysog Gwynedd, a ddinystriodd gastellydd Aberystwyth, Dinerth, a Chaerwedros; ac a laddodd nifer fawr o'i elynion. A phan oedd y Saeson yn ffoi rhag Gruffydd ab Rhys, meibion Caradog ab Iestyn a ddaethant yn eu herbyn, ac a laddasant dros dair mil o honynt yn Nglyn Nedd.[b]

Gwledd Gruffydd ab Rhys. O. C. 1135.

Gwedi gorphen yr ymgyrch hon, Gruffydd ab Rhys a wnaeth wledd fawr dros ddeugain niwrnod, yn Ystrad Tywi, i'w holl gyfeillion o Wynedd, Powys, a Deheu-barth. Gruffydd ab Cynan, a'i feibion, a'r pendefigion o bob ardal yn Nghymru, a ddaethant yno. Ar ddiwedd y wledd, Gruffydd ab Rhys a roddodd roddion anrhydeddus i'r holl Feirdd, Cerddorion, Doethion, a'r

[a] Fuller's Ch. Hist. p. 24.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 557. Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 441.

a'r Campwyr, ag oedd yn haeddiannol o honynt; ac a ollyngodd bawb ymaith mewn cariad a thangnefedd. Gwedi y wledd hon, Gruffydd a alwodd atto ddoethion a dysgedigion y wlad; a chwedi ymgynghori â hwynt, efe a wnaeth reolau a chyfreithiau newyddion; ac a osododd lys yn mhob Cantref, a rhag-lys yn mhob Cwmmwd, fel ag y byddai i rydd-did a dedwyddwch ei ddeiliaid gael eu diogelu, a phob peth gael eu dwyn i well trefn. Gruffydd ab Cynan a wnaeth yr un pethau yn Ngwynedd.[a]

CANT XII.

Ychydig o amser gwedi y pethau hyn, Gruffydd ab Rhys a fu farw; a'i fab, Rhys ab Gruffydd, a lywodraethodd yn ei le ef. Dywedir fod Gruffydd ab Rhys yn dywysog doeth, dewr, trugarog, a chyfiawn; a bu galar mawr ar ei ol ef. Yr un flwyddyn hefyd y bu Gruffydd ab Cynan, tywysog Gwynedd, farw.[b] Pan wybu y tywysog hwn fod amser ei ymddattodiad yn nesau, efe a alwodd atto ei feibion oll; a chwedi rhanu ei etifeddiaeth rhyngddynt, efe a'u hannogodd i fod yn wrol, yn gariadus, yn drugarog, ac yn haelionus. Ac fel prawf o'i ofal am achos crefydd, efe a roddodd arian i lawer o eglwysi Iwerddon, gwlad ei enedigaeth; ac i

Marwolaeth Gruffydd ab Rhys. O. C. 1136.

Haelioni Gruffydd ab Cynan.

N n lawer

[a] Archaiol. Vol. II. p. 558.

[b] Ibid.

CANT XII.

lawer o eglwysi Gwynedd,* lle y bu yn llywodraethu dros chwech mlynedd a deugain; ac hefyd i'r esgob a'r offeiriaid ag oedd yn byw yn agos atto. Dafydd, esgob Bangor, yn nghyd â'i offeiriaid, pan glywsant fod Gruffydd ab Cynan yn agos i angeu, a aethant atto, ac a irasant ei gorph âg olew cyssegredig, yn ol defod eglwys Rhufain.† Yr oedd Gruffydd yn ddwy flwydd a phedwar ugain oed, pan y bu efe farw; a chafodd ei osod mewn ysgrin, a'i gladdu yn eglwys Bangor; a'r wlad a alarodd ar ei ol ef.[a] Meilyr, yr hwn oedd yn brydydd enwog yr amser hyn, a gyfansoddodd farwnad godidog i Ruffydd ab Cynan; ac y mae y marwnad hwnw etto i'w weled.[b]

Meilyr Brydydd.

Owain

* Gruffydd ab Cynan a roddodd ugain swllt i eglwys Nulun, lle y ganwyd ac y magwyd ef: a chymmaint i holl eglwysi penaf yr Iwerddon. Rhoddodd hefyd ugain swllt i eglwys Tŷ Ddewi; ac i Fynachlog Caer; ac i Fynachlog Amwythig; ond rhoddodd fwy nâ hyny i eglwys Bangor. Rhoddodd hefyd ddeg swllt i Gaer Gybi; a chymmaint i eglwys Penmon; ac i Enlli; ac i Meifod; ac i Lan Armon; ac i Dineirth; ac i lawer o'r eglwysi penaf ereill. Yr oedd Gruffydd hefyd yn ymgeleddwr mawr i Feirdd, a Cherddorion ei wlad enedigol; ac efe a alwodd lawer cymmanfa, yn mha rai y sefydlwyd cyfreithiau i wella trefniad Barddoniaeth a Cherddoriaeth. Archaiol. Vol. II. p. 604, 605.

† Y mae saith sacrament yn eglwys Rhufain, 1. Bedydd. 2. Bedydd esgob. 3. Swpper yr Arglwydd. 4. Penyd. 5. Eneinio y claf cyn marw. 6. Urddau. 7. Priodas.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 604, 605.

[b] Yn Archaiol. Vol. I. p. 189.

CANT XII.

Owain Gwynedd.

Owain ab Gruffydd, ab Cynan, yr hwn a elwir Owain Gwynedd, gwedi dyfod ar farwolaeth ei dad i lywodraeth Gwynedd, a gyhoeddodd ryfel yn erbyn y Saeson ag oedd yn Nghymru; ac wedi dyfod i Ddyfed, efe a ddinystriodd gastellydd Ystrad Meirig, Pont Ystyffan, a Chaerfyrddin; ac a ddychwelodd i Wynedd âg yspail fawr.[a]

Meirig, esgob Bangor. O. C. 1139.

Gwedi marw Dafydd, esgob Bangor, Meirig, yr hwn, yn ol tyb rhai, oedd yn arch-diacon Bangor, a gafodd ei gyssegru gan Theobald, arch-esgob Canterbury, i fod yn esgob yn y lle hwnw. Yr oedd Meirig mor ffyddlon i'w wlad, fel y gwrthododd efe, dros hir amser, i dyngu ffyddlondeb i frenin Lloegr. Ond pan ddyallodd fod yr holl esgobion ereill yn gwneuthur hyny, yn hytrach nâ rhoddi i fynu ei esgobaeth, efe a gymmerodd ei berswadio i wneuthur yr un peth.

Uchtryd esgob Llandaf. O. C. 1139.

Ar yr un amser hefyd y cyssegrwyd Uchtryd yn esgob yn Llandaf.[b] Yr oedd Uchtryd yn ŵr mawr ei dduwioldeb a'i ddysg; ac efe a fu yn offeryn i ddiwygio dyscyblaeth yr eglwys, a'r drefn o gadw y gwyliau gosodedig yn yr esgobaeth honno; ond ni allodd efe gael yn ol y tiroedd a gymmerasai Bernard oddiwrth esgobaeth Llandaf.[c]



[a] Archaiol. Vol. II. p. 559.

[b] Brown Willis. [c] Archaiol. Vol. II. p. 568.

CANT XII.

Rhys Goch. Yn nghylch yr amser hyn, yr oedd Rhys Goch, ab Rieart, ab Einion, ab Collwyn, prydydd enwog o'r Coetty, yn Morganwg, yn ei flodau. Y mae llawer o waith y gwr hwn wedi eu cadw hyd heddyw. Tad-cu y prydydd hwn, oedd yr Einion hwnw ag a ddaeth â'r Normaniaid gyntaf i Forganwg.[a]

Robert Candas, gwedi ennill arglwyddiaeth Caerlleon ar Wysg, a Goldclive, a adeiladodd Briordy Goldclive; yr hon, yn nghyd â'r holl diroedd a'r degymau ag oedd yn perthyn iddi, a roddodd efe i Fynachlog Bec, yn Normandy. Ond rhoddodd y Pab orchymmyn yn nghylch yr amser hyn, i uno Priordy Goldclive a Mynachlog Tewksbury.[b]

Priordy Goldclive. O. C. 1142.

Y mae yn debygol i'r rhyfeloedd aml a chreulon ag a fu yn Ngwynedd, fod yn achos i anrheithio a thlodi esgobaeth S. Asaph, i'r fath raddau, fel na fu un esgob yno, dros lawer o flynyddoedd, gwedi marw Sefer, yr hwn fu gydâ Hywel Dda yn Rhufain. Yr esgob cyntaf, ag y mae hanes am dano, yn S. Asaph, yn ol Sefer, yw Gilbert, yr hwn a gyssegrwyd yr amser hyn, gan Theobald, arch-esgob Canterbury.[c]

Gilbert, esgob S. Asaph. O. C. 1143.

Er i lawer o Fynachlogydd gael eu hadeiladu yn

[a] Camb. Biog. [b] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 75.

[c] Brown Willis.

yn y cant hwn, mae yn anhawdd penderfynu yn mha flwyddyn yr adeiladwyd rhai o honynt. Mynachlog y Cwmhir, yn agos i Knighton, a adeiladwyd yr amser hyn, ac yr oedd ynthi dri ugain o fynachod. Yr oedd llawer o diroedd, a rhagor-freintiau, yn perthyn i'r Fynachlog hon, a pharhaodd yn enwog dros lawer o flynyddoedd. Yn nghylch yr un amser hefyd, yr adeiladodd John Toryton, Fynachlog yn y Tŷ Gwyn ar Daf,[a] lle yr oedd athrofa enwog gwedi bod dros lawer o oesoedd.

CANT XII.

Mynachlog y Cwmhir.

Mynachlog y Tŷ Gwyn ar Daf.

Er cymmaint o anfantais oedd gan y Cymry i gynnyddu mewn gwybodaeth yn yr amser trallodus hyn, yr oedd rhai dynion enwog mewn duwioldeb a dysgeidiaeth yn eu plith. Sulien ab Rhyddmarch, un o offeiriaid Llanbadarnfawr, gwedi bod yn ffyddlon yn y weinidogaeth dros lawer o flynyddoedd, a fu farw yr amser hyn. Yr oedd y gwr hwn yn cael ei gyfrif y doethaf a'r mwyaf duwiol o holl offeiriaid esgobaeth Tŷ Ddewi, yn y dyddiau hyny; a dywedir ei fod yn ddiwyd iawn i attal drygioni a chreulondeb ei gyd-wladwyr.[b]

Marwolaeth Sulien o Lanbadarn. O. C. 1145.

Y flwyddyn y bu farw Sulien, Gilbert, iarll Clâr, a adgyweiriodd gastell Caerfyrddin, a chastell meibion Uchtryd. Pan glybu Rhys ab Gruffydd,

[a] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 97, 102.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 561.

CANT XII.

Rhys yn ennill castell-ydd Dynefwr, Caerfyrddin, a Llanstyffan.

Gruffydd, tywysog y Deheu barth, fod y Saeson yn ymgryfhau, efe a aeth yn eu herbyn hwynt, ac a ennillodd gastell Dynefwr, a chastell Caerfyrddin; ond ni laddodd efe neb, ond y rhai a ddelid mewn arfau yn ei erbyn. Gwedi cymmeryd meddiant o gastell Caerfyrddin, Rhys a aeth i Lanstyffan, ac a ennillodd y castell hwnw hefyd, ac a laddodd lu mawr o'r Normaniaid, Saeson, a'r Fflandrysiaid, ag oedd yn ei amddiffyn. Tra yr oedd Rhys yn fuddugoliaethus ar y Saeson yn y Deheu-barth, Owain Gwynedd a warchaeodd gastell y Wyddgrug, yn sir Fflint, lle yr oedd y Saeson yn gwneuthur llawer o ddrygau; ac wedi ymwroli, efe a'i cymmerodd.[a]

Robert Consyl yn dwyn yn mlaen y celfyddydau.

Robert Consyl, arglwydd Morganwg, yn gweled nad oedd gwyr ieuangc Cymru yn cael eu dwyn i fynu, y pryd hyny, mewn gwybodaeth o'r celfyddydau, a anfonodd i Ffraingc am athrawon deallus, i'w hyfforddi hwynt yn y celfyddydau hyny ag oedd yn angenrheidiol i gysur, dyogelwch, ac anrhydedd y wlad.[b]

Mewn canlyniad i'r anghydfod a ddygwyddodd rhwng Cadwaladyr ab Gruffydd, a'i neiaint, Hywel a Chynan, meibion tywysog Gwynedd; y tywysogion ieuaingc a aethant i sir Feirionydd, ac a anrheithiasant ei diriogaethau ef. Y trigolion

[a] Archaiol. Vol. II. p. 561. [b] Ibid.

trigolion yn llawn dychryn wrth weled y gelynion yn dyfod i'w gwlad, a ffoisant i'w noddfäau. Ond pan gyhoeddodd y tywysogion, nad oeddent hwy yn bwriadu dim drwg i'r rhai hyny a ufuddhaent i'w hawdurdod hwynt, y bobl a ddychwelasant i'w trigfanau. Gwedi hyny y tywysogion a warchaeasant gastell Cynfael, ag oedd gwedi ei adeiladu gan Gadwaladyr, a'i roddi i Merfyn, abad y Tŷ Gwyn ar Daf, i'w gadw. Ni allai, mae yn debygol, na bygythion, na gwobrau, siglo ffyddlondeb yr offeiriad rhyfelgar hwn, a pheri iddo roddi i fynu y castell. Merfyn a amddiffynodd y castell gydâ y gwroldeb mwyaf, ac ni roddodd efe i fynu, nes i'r muriau gael eu malurio, a llawer o'r gwarchawdlu gael eu clwyfo a'u lladd. Goddefwyd i Ferfyn fyned ymaith yn ddiangol, o blegid ei fod yn ŵr cyssegredig.[a]

CANT XII.

Gwroldeb Merfyn.

Y flwyddyn hon y bu farw Uchtryd, esgob Llandaf, ac y cyssegrwyd Nicolas ab Gwrgant, yn esgob yn ei le ef.[b] Er fod yr eglwysi a ddinystriasid yn rhyfeloedd Iestyn ab Gwrgant gwedi eu hadgyweirio, nid oedd y rhagor-freintiau ag oedd yn perthyn iddynt gynt, gwedi cael eu hadferu iddynt etto. Nicolas ab Gwrgant, gan hyny, gwedi ei wneuthur yn esgob, a fynodd adferu nawdd eglwysi Llan Daf, Llan Garfan, Llan Illtyd,

Marwolaeth Uchtryd. Nicolas yn esgob Llandaf. O. C. 1145.

[a] Archaiol. Vol. II. p. 562. [b] Ibid.

CANT XII.

Illtyd, Llan Doche, Llan Ffagan, Caerlleon ar Wysg, a Chaer Went, a'r eglwysi ereill hefyd ag oedd â nawdd iddynt yn yr amser gynt. Rhoddodd nawdd briodol hefyd i'r Mynachlogydd newyddion ag oedd gwedi eu hadeiladu yn yr esgobaeth, hyd onid aeth rhan fawr o esgobaeth Llandaf yn nawdd yr eglwysi. Ac mewn canlyniad i hyn, daeth y trigolion i fod yn well llafurwyr nâ rhyfelwyr; a chafwyd mwy o lonyddwch yn Morganwg a Gwent, nag yn un rhan o Gymru.[a]

Dafydd ab Gerallt, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1147.

Pan fu farw Bernard o Dŷ Ddewi, Dafydd ab Gerallt, arch-diacon Aberteifi, a wnaethpwyd yn esgob yn ei le ef. Yr un flwyddyn, Robert, iarll Caerloyw, a adeiladodd Fynachlog Margam yn sir Forganwg, ac a roddodd lawer o diroedd i'w chynnal. Y flwyddyn ar ol hyn, Cadwaladyr ab Gruffydd a adeiladodd gastell yn Llan Rhystyd, ac a'i rhoddodd i'w fab Cadwgan. Ond o blegid fod Cadwgan yn ŵr anghyfiawn, ei wyr ef a wrthryfelasant yn ei erbyn, ac a roisant ei gastell a'i gyfoeth i Hywel ab Owain Gwynedd.[b]

Einion Mebyd.

Yr oedd Einion Mebyd, arch-diacon Celynog, yn un o'r dynion doethaf yn mhlith dysgedigion Gwynedd

[a] Archaiol. Vol. II. p. 565.

[b] Ibid. p. 562. Dugdale's Monast. Vol. I. p. 58.

Gwynedd yr amser hyn; a chydâ y diwydrwydd mwyaf yn cynghori ei gyd-wladwyr i fod yn ddoeth, yn gyfiawn, ac yn drugarog, yn eu hamrywiol sefyllfaodd. Ond cymmaint oedd annuwioldeb yr oes, fel nad oedd ei gynghorion yn cael fawr o dderbyniad.[a] CANT XII.

Ar farwolaeth Gilbert, esgob S. Asaph, Galffrai ab Arthur,[*] mab maeth, a nai fab brawd i Uchtryd o Landaf, a gyssegrwyd yn esgob yn esgob yn ei le ef. Ond efe a fu farw yn ei dŷ yn Llandaf, cyn iddo gael ei osod mewn meddiant o'r esgobaeth. Yr oedd Galffrai ab Arthur yn offeiriad teulu i William mab Robert; ac, o blegid ei wybodaeth a'i ddysgeidiaeth, a gafodd ddëoniaeth yn eglwys Llandaf, lle yr oedd yn athraw i lawer o ddysgedigion a phendefigion. Efe a gyfieithodd gronicl Brydain o'r Cymraeg i'r Lladin; ac o blegid fod y cronicl hwnw, fel llawer o hen ysgrifenadau ereill, yn llawn o gamsyniadau, tybiwyd mai efe oedd yr awdwr o hono yn hollol; ond camsyniad yw hyn, o blegid nid oedd gyffelyb Galffrai ab Arthur yn mhob rhinweddau da;[b] ac ni wnaeth efe ond cyfieithu y cronicl fel ag yr oedd. Ar farwolaeth Galffrai ab

Galffrai ab Arthur, esgob S. Asaph. O. C. 1152.



[a] Camb. Biog.

[*] Geoffrey of Monmouth.

[b] Archaiol. Vol. II. p. 566.

CANT XII.

Godfrey, esgob St. Asaph O. C. 1154. ab Arthur, un Richard a gafodd ei wneuthur yn esgob St. Asaph; ond Richard hefyd a fu farw yn fuan gwedi cael ei gyssegru, a gwnaethpwyd Godffrey yn esgob yn ei le ef.[a]

Marwolaeth Caradog o Lancarfan. O. C. 1156. Yn nghylch yr amser hyn y bu farw Caradog o Lancarfan, yr hwn a ysgrifenodd hanes Cymru, o'r amser y gadawodd Cadwaladyr, brenin Brydain, y deyrnas,* hyd ei amser ei hun. Y mae amrywiol adysgrifenadau o'r hanes hwn mewn bod, y rhai sydd yn cytuno yn gyffredin mewn sylwedd, ond yn amrywio yn yr adroddiad, ac yn amser eu terfyniad;§ ac y mae rhai o honynt gwedi eu parhau gan ryw awdwyr, dros lawer o flynyddoedd yn ol marwolaeth Caradog.[b]

Harry yr ail yn dyfod i Wynedd. O. C. 1157. Cydwaladyr ab Gruffydd, pan gollodd ei etifeddiaeth, a aeth i Loegr; a thrwy gynnorthwy Madog ab Meredydd, tywysog Powys, a lwyddodd gydâ Harry yr ail i ddyfod i Gymru i'w gynnorthwyo ef i ennill yn ol ei etifeddiaeth. Pan glybu Owain Gwynedd fod brenin Lloegr gwedi dyfod i Gymru, a'i fod yn gwersyllu ar Forsa

[a] Brown Willis.

* Y flwyddyn 686.

§ Gallasai hyn ddygwydd oddiwrth yr amrywiol ad-ysgrifenadau ag a ysgrifenwyd o'r hanes, mewn gwahanol amseroedd.

[b] Camb. Biog.

Forfa Caerlleon, efe a aeth i'w gyfarfod â llu lliosog, ac a wersyllodd yn Basingwerk, yn agos i Dreffynon, yn sir Fflint. Harry, wedi deall fod tywysog Gwynedd yn Basingwerk, a ddanfonoddrai o'i wyr arfog i gyfarchwylio'r lle; ond pan ddaethant i goed Eulo, Dafydd a Chynan, meibion Owain, a ruthrasant arnynt, ac a laddasant y rhan fwyaf o honynt. Harry, gwedi cael y golled hon, a ymadawodd â Morfa Caerlleon, ac a aeth i dref Fflint, gydâ bwriad i fyned yn mlaen y ffordd honno, nes myned rhwng Owain Gwynedd a'i wlad. Owain, pan welodd y Saeson ar lan Dyfrdwy, a ruthrodd arnynt, ac a laddodd lawer o honynt; ond pan nad oedd yn abl i'w gorchfygu hwynt, efe a giliodd i le a alwyd o hyny allan, Cil Owain. Oddi yno efe a aeth i Bryn y Pin, oddi amgylch pum milldir o du y gorllewin i St. Asaph, a'r brenin Harry a wersyllodd yn Rhuddlan. Tra yr oedd y Cymry a'r Saeson yn y sefyllfaodd hyn, Madog ab Meredydd, tywysog Powys, a llynges Lloegr dan ei dywysiad, a diriodd yn sir Fôn, ac a anrheithiodd ran o'r wlad honno, ac a yspeiliodd ddwy o'r eglwysi. Ond pan oedd yr yspeilwyr yn dychwelyd i'r llongau, gwyr Môn a ruthrasant yn unfryd arnynt, ac a'u lladdasant oll. Pan welodd Madog ab Meredydd a'r Saeson hyn, hwy a ddigalonasant, ac a ddychwelasant â'r llynges i Gaerlleon. Owain yn gweled nad all-

CANT XII.

Madog yn anrheithio Môn.



asai

CANT XII.

Owain yn gwneuthur heddwch â'r Saeson.

asai orchfygu y Saeson, a bod ei ddeiliaid mewn perygl o drengu o newyn, a wnaeth heddwch â'r brenin Harry, ar ammodau ag oedd ynniweidiol i Gymru yn gyffredinol, ac i'w achos yntef yn neillduol. Yn ol y cytundeb hwn, Owain a'i bendefigion a ymostyngasant i frenin Lloegr, ac a roddasant yn ol y castellydd ag oeddent gwedi ennill oddiar y Saeson yn Ngwynedd. Owain hefyd a adferodd ei frawd Cadwaladyr i'w heddwch, ac a roddodd yn ol iddo ef ei diriogaethau.*

O. C. 1158.

Y flwyddyn ar ol hyn, cymmerodd heddwch cyffredinol le rhwng Lloegr a Chymru. Holl dywysogion a phendefigion y Deheu-barth, oddi eithr Rhys ab Gruffydd, a ymostyngasant i frenin Lloegr. Rhys, yn llawn o ysbryd gwrol ac ardderchog ei dadau, ni fynai ymostwng i ddyeithriaid; ac wedi gorchymmyn i'w holl weision i ddyfod atto ef i Ystrad Tywi, a ryfelodd â'r Saeson oddi yno, heb gynnorthwy neb o'r tywysogion. Y brenin Harry, yn ofni awdurdod Rhys ab Gruffydd, a ddanfonodd i'w hol ef i'w lys, gan sicrhau y caffai dderbyniad groesawus; ond os ni ddeuai o'i wir fodd, y gosodai efe holl alluoedd Cymru a Lloegr ar waith i'w ddwyn yno trwy drais. Pan glybu Rhys ab Gruffydd hyn, efe a dybiodd mai gwell oedd iddo ufuddhau; ac efe a aeth i lys Harry; a chwedi ymostwng iddo, a rhoddi

Rhys ab Gruffydd yn myned i lys Harry II.

* Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 470—478.

rhoddi ei ddau fab yn wystl o'i ffyddlondeb, efe a gafodd addewid o Gantref Mawr, ag oedd wedi bod yn meddiant ei hynafiaid. Ond er i Harry addaw rhoddi Cantref Mawr i dywysog y Deheu-barth, ni chafodd efe ond ychydig o arglwyddiaethau, a lleodd ereill ag oedd yn mhell oddiwrth eu gilydd, ac yn gymmysgedig hefyd â thiriogaethau y Saeson. Rhys, yn cael ei aflonyddu yn ei sefyllfa newydd gan y Saeson cymmydogaethol, ac yn methu cael un math o amddiffyniad gan y brenin, a wrthryfelodd drachefn yn ei erbyn, ac a gymmerodd feddiant o gastell Llanymddyfri, ac a ddarostyngodd holl sir Aberteifi, ac a ddinystriodd yr holl gastellydd ag oedd gan y Saeson yn y wlad hono. Pan glybu Harry hyn, efe a diriodd yn Morganwg; ond gwedi methu gorchfygu Rhys ab Gruffydd, efe a wnaeth heddwch âg ef; ac wedi dychwelyd i Loegr, efe a aeth drosodd i Normandy. Harry gwedi dychwelyd o Normandy, a chlywed fod Rhys yn parhau i wrthryfela yn erbyn awdurdod Lloegr, a oresgynodd Ddeheu-barth-Cymru; a phan ddaeth i Bencadair, efe a barodd i Rhys ab Gruffydd i ymostwng. Rhys yn gweled nad oedd yn bosibl iddo lwyddo yn erbyn lluodd mor gadarn, a ymostyngodd yr ail waith i'r brenin Harry, ac a roddodd iddo wystl o'i ffyddlondeb dros yr amser i ddyfod.[a]

CANT XII.

Rhys ab Gruffydd yn ymostwng i'r brenin Harry yn Mhencadair. O. C. 1163.

Gwedi

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 480—487.

CANT XII. Mynachlog Ystrad-fflur. O. C 1164.

Gwedi i Rhys ab Gruffydd wneuthur heddwch â brenin Lloegr, efe a drodd ei feddwl at bethau crefyddol, ac a adeiladodd Fynachlog yn Ystrad-fflur,* yn sir Aberteifi, ac a'i cymmysgaeddodd â llawer o feddiannau. Ac fel ag yr oedd Rhys yn parhau yn dywysog rhinweddol, efe a gadarnhaodd y meddiannau a roddasai i Fynachlog Ystrad-fflur, yn mheu llawer o flynyddoedd gwedi hyn, yn mhresennoldeb ei filwyr, yn eglwys St. Bridget, yn Rhaiadr. Y brenin Harry yr ail, hefyd, a gadarnhaodd yr un pethau.[a]

Yn fuan gwedi hyn, Einion, nai Rhys ab Gruffydd, yr hwn oedd langc gwrol a gobeithiol iawn, a laddwyd gan ei was, trwy gynhyrfiad iarll Caerloyw. Rhys, yn gweled nad oedd dim diogelwch iddo dan lywodraeth Lloegr, a wrthryfelodd drachefn, ac a lwyddodd i ddarostwng rhan fawr o'r Deheu-barth dan ei lywodraeth. Pan glywodd Owain Gwynedd, a thywysog Powys am lwyddiant Rhys ab Gruffydd, caysant eu llanw o sel dros rydd-did eu gwlad, ac a unasant â Rhys i daflu ymaith iau y Saeson. Pan ddaeth hyn i glustiau Harry, efe a gymmerodd y milwyr dewisol ag oedd ganddo o Loegr, Normandy, a Fflanders, ac a ddaeth i Bowys, gydâ hollol fwriad i lwyr ddyfetha yr holl drigolion.

Owain

* Strata Florida.

[a] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 103.

Owain Gwynedd, Rhys ab Gruffydd, ac Owain Cyfeiliog, tywysog Powys, a'u holl alluoedd o Gymru, oeddent yn barod i'w gyfarfod; a phan glywsant ei fod yn gwersyllu yn sir Dinbych, hwy a ruthrasant arno, a thrwy ddaioni rhagluniaeth, a'u gorchfygasant, ac a ryddhausant eu gwlad unwaith drachefn o dan iau y Saeson.[a]

CANT XII.

Y Cymry yn gorchfygu y Saeson. O. C. 1165.

Madog ab Gruffydd Maelor, tywysog rhan o Bowys, a adeiladodd Fynachlog Ystrad Marchell, yn Mhowys, ac a roddodd lawer o drefydd bychain, a thiroedd, i'w chynnal. Bu y Fynachlog hon yn enwog iawn dros lawer o flynyddoedd.[b]

Mynachlog Ystrad Marchell. O. C. 1170.

+ Ar farwolaeth Owain Gwynedd, bu ymryson mawr rhwng rhai o'i feibion yn nghylch tywysogaeth Gwynedd. Madog, un o'i feibion, yn ofni y buasai yr ymryson hwn o ganlyniadau niweidiol i Wynedd, a dybiodd fod yn well iddo i ymofyn am wlad arall i breswylio. A chwedi darparu ychydig o longau, efe a hwyliodd tu a'r gorllewin, gan adael yr Iwerddon o du y gogledd, ac mewn amser a ddaeth i wlad anadnabyddus, lle yr oedd pob peth yn ymddangos yn newydd iddo, a moesau y trigolion yn wahanol iawn i'r hyn ag oedd ef wedi weled yn ei wlad ei hun. Madog, gwedi aros yno dros ychydig o amser,

Madog ab Owain yn myned i America. O. C. 1170.

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. I. p. 488—496.

[b] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 104.

+ Gweler "Hanes Prydain Fawr." 183

CANT XII.

amser, a gweled ffrwythlondeb a hyfrydwch y wlad, a adawodd rai o'i wyr yno, ac a ddychwelodd i Wynedd. Gwedi dychwelyd i Wynedd, Madog a ddarluniodd i'w gyfeillion helaethrwydd a dymunoldeb y wlad ag oedd ef wedi gael allan, ac a lwyddodd gydâ llawer o'i gydwladwyr i fyned gydâg ef i'r wlad honno. Madog a'i gyfeillion, gwedi cael deg o longau, a darparu pob peth ag oedd yn angenrheidiol i'w môr-daith, a hwyliasant o Wynedd tu a'r gorllewin, ac ni ddychwelasant byth yn ol.[a] *

Beirdd yr oesoedd canol.

Yr oedd llawer o Feirdd enwog yn Nghymru yr amser hyn, megis Gwilym Ryfel, Perif ab Cedifor, Seisyllt, Elidyr Sais, Cynddelw, Gwalchmai, Meilyr ab Gwalchmai, Einion ab Gwalchmai, Dewi Mynyw, ac ereill.[b] Y mae peth o waith awenyddawl y rhan fwyaf o'r Beirdd hyn

mewn

[a] Powell's Hist. Wales, p. 195, 196.

* Y mae Dr. John Williams, William Owen Pugh, Esq. a Mr. Edward Williams, Bardd wrth fraint a defod Beirdd ynys Brydain, gwedi casglu lluaws o dystiolaethau i brofi i Madog ab Owain Gwynedd, a'i gyfeillion, fyned i America, a bod eu hiliogaeth yno, fel cenedl, hyd heddyw, a'u bod yn preswylio ar ganghenau deheuol yr afon Missouri, dan yr enwau Padoucas, Indiaid gwynion, ac Indiaid Cymreig. Yr oedd Madog ab Owain Gwynedd gwedi myned i America dros dri chant o flynyddoedd cyn i Columbus gael y wlad honno allan.

[b] Camb. Biog.

mewn bod hyd heddyw. Fe debygid oddiwrth rai o ysgrifenadau Cynddelw,† ei fod yn hanner pagan, ac felly y cyfrifid ef gan offeiriaid yr oes. Yn ganlynol, pan oedd yn agos i angeu, mynachod Ystrad Marchell, yn Mhowys, a anfonasant fynach atto, i ddywedyd wrtho, Na's gallasent hwy ddim ei dderbyn yn ei fywyd, na'i gladdu yn eu mynachlog, pan y byddai farw. Cynddelw a'u hattebodd, gan ddywedyd, 'Gan 'nad oes un cyfammod a ellwch ddwyn yn fy er- 'byn, trwy wybodaeth Duw, fe fuasai yn fwy 'cyfiawn ynoch i'm derbyn na'm gwrthod.'* — CANT XII.



Ar farwolaeth Godffrey, esgob St. Asaph, Adda, gwr dysgedig o Gymru, a William Petit,§ haneswr enwog o Loegr, a safasant i fynu am yr esgobaeth; ond o blegid i William, yn ei hanes, ysgrifenu pethau chwerw yn erbyn y Cymry, cafodd ei wrthod ganddynt, a dewisasant Adda yn esgob yn lle Godffrey.[a] — Adda, esgob St. Asaph O C. 1175.

Giraldus Cambrensis, yr hwn a anwyd yn Ma- — Giraldus Cambrensis,

Pp norbeer,

† Marwnad Ririd Uleit.

* Cen ni b'ai ammod dyfod——i'm herbyn
A Duw gwyn yn gwybod,
Oedd iawnach i fynach fod
I'm derbyn nag i'm gwrthod.
Archaiol. Vol. I. p. 263.

§ Neu, William Newbrigensis.

[a] Godwin's Catal.

CANT XII.

norbeer,† yn sir Benfro, oedd ŵyr i Rhys ab Tewdwr o ran ei fam, ac yn nai i Dafydd ab Gerallt, esgob Tŷ Ddewi. Pan wybu Dafydd ab Gerallt fod Giraldus ei nai am gyflwyno ei hun i waith y weinidogaeth, a bod ganddo ddoniau i ddysgu, efe a'i cymmerodd ef oddiwrth ei dad, ac a'i dygodd ef i fynu ar ei draul ei hun. Giraldus, gwedi bod dan olygiad ei ewythr nes ydoedd yn bedair blwydd ar hugain oed, a aeth i orphen ei ddygiad i fynu i Paris, yn Ffraingc, lle yr oedd yr athrofa mwyaf enwog yn Ewrop y dyddiau hyny, ac a arosodd yno dair blynedd. Tra yr oedd Giraldus yn athrofa Paris, efe a roddodd wersi ar areithyddiaeth, a hoyw-athrawlithiau;* ac athrawon yr athrofa honno a'i nodent ef allan fel siampl i wyr ieuaingc yr oes. Ar ei ddychweliad ‡ i Gymru, cafodd ei urddo yn offeiriad, a rhoddwyd iddo fywiolaethau yn Nghymru a Lloegr. Giraldus, gwedi ei urddo yn offeiriad, a gyflwynodd ei holl gynheddfau i'r daioni cyffredin, ac a ymdrechodd, hyd eithaf ei allu, i ddwyn yn mlaen fanteision yr eglwys; a chan fod llawer o anfoesoldeb ac annhrefn y pryd hyny yn esgobaeth Tŷ Ddewi, mewn canlyniad i esgeulustra yr esgobion, ac nad oedd ond rhai o wyr sir Benfro a sir Aberteifi yn talu degwm

† Yn y flwyddyn 1145. * Belles Lettres.

‡ Yn y flwyddyn 1172.

wm gwlân a chaws, Giraldus a aeth i Ganterbury, a chwedi gosod y pethau hyn ger bron yr arch-esgob, a gafodd ei osod ganddo yn genhadwr Cymru, ac awdurdod i ddiwygio y pethau hyn, yn nghyd â phob cam-driniaethau ereill a allasai fod yn esgobaeth Tŷ Ddewi. Gwedi ei osod yn y swydd hon, Giraldus a'i cyflawnodd gydâ llawer o wroldeb a llwyddiant, ac a ysgymunodd bawb, yn ddi-wahan, na thalai y degymau ag oedd yn ddyledus oddi wrthynt: ac y mae yn debygol i'w ofn ef i syrthio i'r fath raddau ar bawb o'r diffygwyr, oddieithr y Fflandrysiaid yn ngwlad Rhws, fel y talasant bob degwm cyfreithlon gydâ y diddigrwydd mwyaf; a'r Fflandrysiaid, o blegid na thalent y degymau fel ereill, a gawsant eu hyspeilio o'u meddiannau gan wyr yr eglwys.*

CANT XII.

Giraldus yn genhadwr neu raglaw Cymru. O. C. 1175.

Giraldus hefyd a ymdrechodd i ddiwygio moesau yr offeiriaid, ac a fu yn llym iawn yn erbyn y cyfryw rai ag oedd yn cadw gordderchwragedd.* Pan glybu fod Jordan, arch-diacon

Anfoesoldeb offeiriaid yr oes hon.



* Hoare's Gir. Cambrensis, Vol. I.

* Yr oedd llawer o'r offeiriaid yn cadw gordderch-wragedd, wedi i eglwys Rhufain wahardd iddynt briodi: a chynhyddodd y pechod hwn i'r fath raddau yn Nghymru, fel y deisyfodd yr offeiriaid, yn y flwyddyn 1452, ar esgob Tŷ Ddewi i ymarferyd ei awdurdod i yru eu gordderch-wragedd hwynt o'u tai. Yr esgob a attebodd, na wnai ef ddim o hyny, am ei fod yn derbyn mwy nâ dau cant o bunnau bob

CANT XII.



Aberhonddi, yn cadw gordderch-wraig, efe a aeth atto, a chwedi dywedyd llawer yn erbyn anfoesoldeb ei ymddygiad, efe a'i cyngborodd yn enw yr arch-esgob, i droi ei ordderch-wraig o'i dŷ. Jordan, yn tybied hyny yn afresymol iddo wneuthur, a ddechreuodd ddifenwi yr arch-esgob a'i swyddwr. Pan welodd Giraldus nad allasai ddiwygio yr hen anlladwr, efe a'i diswyddodd ef, ac a'i difuddiodd o'i fywioliaethau eglwysig. Giraldus, gwedi cwblhau ei gennadwriaeth, a aeth gydâg esgob Tŷ Ddewi at arch-esgob Canterbury; ac esgob Tŷ Ddewi, ar ddeisyfiad yr arch-esgob, a roddodd arch-diaconiaeth Aberhonddi i Giraldus, am ei ddiwydrwydd a'i sel, ond iddo dalu ychydig i Jordan, yn flynyddol, am fod yn llonydd.*

Trawsargl-wydd-iaeth esgob St. Asaph.

Yn nghylch yr amser hyn, Adda, esgob St. Asaph, a honnodd hawl yn y rhan fwyaf o sir Faesyfed, a phlwyfau Cerry, a Moughtreff, yn sir Drefaldwyn, ac a alwodd ar drigolion Powys a Chedewin, i'w gynnorthwyo ef i gymmeryd meddiant o eglwys Cerry, trwy drais, os byddai hyny yn angenrheidiol. Pan glybu Giraldus y pethau hyn, efe a aeth yn union-gyrch o Landeu, lle yr oedd y pryd hyny, ac a groesodd afon

blwyddyn gan yr offeiriaid yn ei esgobaeth, am gael rhyddid i gadw gordderch-wragedd!!! Jones's Hist. Brecon, Vol. I. p. 216.

* Hoare's Gir. Cambrensis, Vol. I.

CANT XII.

afon Wy, ac a orchymmynodd i offeiriaid sir Faesyfed i'w gyfarfod ef yn Cerry; a rhag ofn na byddai ei resymau ef ddim yn ddigon nerthol, efe a ddeisyfodd ar Einion a Chadwallon, dau arglwydd yn y wlad honno, i roddi iddo ef ychydig o wyr meirch, i'r dyben i amddiffyn hawl esgobaeth Tŷ Ddewi, os byddai angenrheidrwydd. Gwedi myned i eglwys Cerry, a darllen y gwasanaeth, efe a glywodd fod yr esgob yn agos, ac a ddanfonodd atto, na anturiai efe osod ei draed ar drothwy yr eglwys, oddi eithr iddo ddyfod fel cyfaill mewn modd heddychlon. Pan glybu yr esgob hyn, efe a gynnygodd ddangos hen lyfr, i brofi, nid yn unig fod yr eglwys honno, ond yr holl eglwysydd rhwng Hafren ac Wy, yn perthyn i esgobaeth St. Asaph. 'Chwi ellwch ysgrifenu yr hyn a weloch fod yn 'dda yn eich llyfr eich hun,' ebe Giraldus, 'ond 'myfi a wn fod yr eglwys hon yn perthyn i es'gobaeth Tŷ Ddewi er ys tri chant o flynydd'oedd, a thrwy gymmorth Duw, myfi a'i cadwaf 'i'r esgobaeth honno tra b'o anadl ynof.' Wedi ymddiddan yn hir yn nghylch eu bwriad i ysgymuno y naill y llall, esgob St. Asaph a ddisgynodd oddiar ei geffyl, ac a osododd ei feitr ar ei ben, ac a ymaflodd yn ei fugail-ffon, gydâ bwriad i ysgymuno Giraldus. Giraldus, yn gwybod mai gwr byrbwyll oedd yr esgob, a orchymmynodd i offeiriaid sir Faesyfed ag oedd yno yn bresennol,

Gwroldeb Giraldus.

CANT XII.



bresennol, i'w ddilyn ef yn eu gwisgoedd gwynion, a'r groes a'r canhwyllau gydâ hwynt, megis mewn gorymdaith. 'Pa beth yr ydych yn ei 'wneuthur yn awr?' ebe yr esgob. 'Dim,' ebe Giraldus, 'ond darparu, os byddwch chwi mor 'fyrbwyll a'n ysgymuno ni, i'ch ysgymuno 'chwithau ar yr un funudyn.' 'Wele,' ebe yr esgob, 'o herwydd y cyfeillgarwch ag oedd 'rhyngom ni ein dau, pan oeddem yn myfyrio yn 'athrofa Paris, myfi a fyddaf yn drugarog wr-'thych, ac ni wnaf eich ysgymuno wrth eich 'enwau; ond yr wyf yn awr yn ysgymuno pawb 'ag sydd am ddifuddio esgobaeth St. Asaph o'i 'hawl.' 'Yr ydwyf finnau,' ebe Giraldus, â llef uwch, 'yn ysgymuno pawb ag sydd am 'ddifuddio esgobaeth Tŷ Ddewi o'i hawl;' a chan edrych o'r tu cefn iddo, efe a orchymmynodd iddynt ganu y clych, fel cadarnhad o'i ddedryd, ac er di-anrhydedd i'w wrthwynebwr. Pan glywodd yr esgob y clych, efe a gymmerodd ei geffyl, ac a farchogodd ymaith, a'r lluaws a'i dilynasant ef, gan daflu cerrig a thywarch ar ei ol. Felly yr amddiffynodd Giraldus hawl esgobaeth Tŷ Ddewi, ac yn mhen ychydig gwedi hyny, efe a ymheddychodd âg esgob St. Asaph, ac a gafodd ganmoliaeth ganddo am ei wroldeb.[a]

Marwolaeth Dafydd ab Gerallt. O. C, 1177.

Ar farwolaeth Dafydd ab Gerallt, esgob Tŷ Ddewi, canonwyr Tŷ Ddewi a ddewisasant Giraldus

[a] Hoare's Giraldus Cambrensis, Vol. I.

raldus ei nai yn esgob yn ei le ef. Ond Giraldus, yn tybied eu bod yn fyrbwyll ac afreolaidd yn eu dewisiad, a roddodd i fynu yr esgobaeth y dydd canlynol. Brenin Lloegr yn anfoddlon fod canonwyr Tŷ Ddewi yn parhau yn eu dewisiad o Giraldus, a alwodd gymmanfa, ac a ddeisyfodd ar arch-esgob Canterbury, a'i esgobion, i ddewis gwr priodol i fod yn esgob yn Nhŷ Ddewi. Gwedi ymgynghori, hwy a ddewisasant Giraldus, o blegid ei fod yn ŵr dysgedig, ac o ysbryd gwrol; ond y brenin a anfoddlonodd iddynt, ac a ddywedodd nad oedd yn gymmwys nac yn angenrheidiol i wneuthur dewisiad o ŵr mor gyfiawn a bywiog i fod yn esgob Tŷ Ddewi, gan y gallasai y fath ddewisiad fod yn niweidiol, nid yn unig i eglwys Canterbury, ond hefyd i goron Lloegr.* Mewn canlyniad i hyn, Peter de Leia, yr hwn oedd lywydd priordŷ Wenlock, yn sir y Mwythig, ar ganmoliaeth y brenin, a ddewiswyd i fod yn esgob Tŷ Ddewi yn lle Dafydd ab Gerallt;

CANT XII.

Peter, esgob Tŷ Ddewi.

* Ar ddiwedd y gymmanfa, y Brenin a ddywedodd wrth ei gyfeillion, er fod ganddo ef y dyb oreu am ddoniau ac uniondeb Giraldus, etto nad oedd yn tybied ei bod yn ddiogel i ddewis gwr ag oedd mor agos perthynas i Rhys, tywysog y Deheu-barth, a'r rhan fwyaf o bendefigion Cymru, i fod yn esgob Tŷ Ddewi, ac y buasai balchder y Cymry i gael ei ddyrchafu trwy ddewisiad o ŵr ag oedd mor alluog, teilwng, a gwrol. Pan glybu Giraldus hyny, efe a ddywedodd fod y dystiolaeth honno yn fwy o anrhydedd iddo ef nâ'r esgobaeth orau.

CANT XII.

Gerallt; a Giraldus a aeth drosodd i Paris, lle yr arosodd dros lawer o amser.[a]

Peter yn adeiladu eglwys Tŷ Ddewi. O. C. 1180.

O blegid fod eglwys gadeiriol Tŷ Ddewi wedi cael ei dinystrio yn aml i raddau mawr gan y Daeniaid, a môr-ladron ereill, esgob Peter a'i tynodd hi i lawr, ac a'i hadeiladodd o'r newydd. A gellir dywedyd mai efe, mewn rhan fawr, a adeiladodd yr eglwys ag sydd yno yn bresennol. Yn nghylch yr amser hyn, dygwyddodd rhyw anghydfod rhwng esgob Peter a'i bobl, a gorfu arno ymadael â Thŷ Ddewi dros ychydig, a myned i fyw i Fynachlog yn Lloegr. Tra yr oedd pethau yn y dull annhrefnus hyn, Giraldus a ddychwelodd i Gymru, a thrwy gyngor yr arch-esgob, a gafodd ei osod yn weinyddwr holl achosion tymhorol ac ysbrydol yr eglwys, yr hyn a gyflawnodd efe gydâ llawer o ddoethineb a chymhedroldeb, hyd oni wrthwynebwyd ef gan yr esgob.[b]

William, esgob Llandaf. O. C. 1183.

Ar farwolaeth Nicolas ab Gwrgant, esgob Llandaf, William de Salso Marisco, gwr call a rhinweddol iawn, a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef. Yn y flwyddyn ar ol hyn, mae yn fwyaf tebygol, y cafodd Guido, yr hwn oedd yn ddëon Waltham yn Essex, ei gyssegru yn esgob Bangor.[c] Yr un flwyddyn hefyd y bu farw Madog ab

Guido, esgob Bangor.

Iddon,

[a] Hoare's Gir. Camb. Vol. I. [b] Ibid.

[c] Godwin's Catal.

Iddon, arglwydd Gwent, mewn canlyniad i ergyd a gafodd gan ei frawd, Thomas, yn ei feddw-dod. Yr oedd Madog yn fwy gwybodus yn y celfyddydau nâ'r rhan fwyaf o'i gyfoedion, ac yr oedd yn neillduol enwog, fel prydydd, ac ysgrifenwr addysg-wersi.[a] CANT XII.

Gan fod enwogrwydd Giraldus yn cynnyddu yn feunyddiol, y brenin Harry yr ail, a'i galwodd ef i'w lys i fyw, ac a'i gwnaeth ef yn gaplan, ac a addawodd roddi dyrchafiad uchel iddo yn yr eglwys: ond ni chyflawnodd ei addewidion. Yr amser hyny, cafodd Giraldus ei osod yn athraw i John, mab y brenin Harry, ac a aeth gydâg ef i'r Iwerddon. Pan oedd Giraldus yn yr Iwerddon, cafodd gynnyg ar esgobaeth Leighlin; ond gan ei fod yn tybied na allasai ddiwygio a dyrchafu eglwys Iwerddon, efe a'i gwrthododd. Gwrthododd hefyd arch-esgobaeth Cashel.[b] O. C. 1185.

Llawer o frenhinoedd a thywysogion Ewrop, yn tybied ei bod yn waradwydd i gristianogion fod y wlad lle y ganwyd ein Harglwydd bendigedig, lle y bu yn cyflawni ei weinidogaeth, a lle y bu efe farw dros bechod, yn cael ei goddef i fod yn meddiant y Mahometaniaid, ag oedd mor elyniaethol i gristianogion, a unasant yn nghylch diwedd y cant diweddaf, i fyned i ryfela â Rhyfeloedd y Groes.

 hwynt,

[a] Camb. Biog.

[b] Hoare's Gir. Cambrensis, Vol. I.

CANT XII. hwynt, ac i ymdrechu eu gyru hwynt allan o wlad Canaan. Gelwid y rhyfeloedd hyny yn Rhyfeloedd Sanctaidd, ac yn Rhyfeloedd y Groes, o blegid fod cristianogion yr oesoedd hyny yn ystyried pawb a elent iddynt yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw; ac hefyd o blegid fod pob milwr, yn y rhyfeloedd hyny, yn gwisgo croes, o amryw liwiau, ar ei ysgwydd ddehau.*

Baldwin, arch-esgob Caterbury, yn dyfod i Gymru i bregethu rhyfeloedd y groes. O. C. 1188.

Yn nghylch yr amser hyn, Harry, brenin Lloegr, a llawer o'i bendefigion, a unasant â theyrnasoedd ereill yn rhyfeloedd y groes; a chafodd Baldwin, arch-esgob Canterbury, ei anfon i Gymru i bregethu yr angenrheidrwydd o ryfeloedd y groes, ac i annog y bobl i ymrwymo ynddynt. Ranulphus Granville, un o gynghorwyr y brenin, a ddaeth gyda Baldwin hyd dref Faesyfed, ac a ddychwelodd oddi yno yn ei ol i Loegr. Rhys ab Gruffydd, tywysog y Deheubarth, yn nghyd â Giraldus, a llawer o bendefigion Cymru, a aethant i gyfarfod Baldwin i dref Faesyfed, lle y pregethodd yr arch-esgob y bregeth gyntaf yn Nghymru, ac yr eglurodd efe iddynt hwy, a'r bobl oll, ddyben ei anfoniad i'r wlad.*

Giraldus

* Mosh. Eccles. Hist. Vol. II. p. 231—234.

* Y mae dau reswm yn cael eu rhoddi am ddyfodiad Baldwin, arch-esgob Canterbury, i Gymru: yn gyntaf, fel y gallai trwy ddarllen y gwasanaeth yn eglwysi cadeiriol Cymru, gadarnhau awdurdod Canterbury drostynt oll; yn ail, i annog y Cymry i gyflwyno eu hunain i wasanaeth y groes.

CANT XII.

Giraldus oedd y cyntaf yn Nghymru a gymmerodd y groes; a Peter, esgob Tŷ Ddewi, y'nghyd âg Einion ab Einion Clyd, tywysog Elfen, a llawer ereill, a ddilynasant ei siampl ef. Pan ddychwelodd Rhys ab Gruffydd o Faesyfed, canonwyr Tŷ Ddewi, yn llawn sel dros ragorfreintiau eu heglwys, a ddeisyfiasant ar y tywysog i rwystro arch-esgob Canterbury i ddyfod yn mhellach ymlaen i Gymru, rhag ofn y buasai ei ddyfodiad ef yn achos i leihau urddas eglwys Tŷ Ddewi: ond Rhys ab Gruffydd a wrthododd gyd-agweddu â'u deisyfiad hwynt. O dref Faesyfed, Baldwin a'i gymdeithion a aethant i'r Gelly, ac oddi yno i Landeu, yn agos i Aberhonddi, lle yr arosasant dros nos. Bu pregeth yr arch-esgob yn y Gelly yn offerynol i ddwyn llawer i gymmeryd arnynt arwydd y groes. Llwyddodd ei bregeth ef hefyd yn y Fenni, i gael llawer o filwyr dan faner y groes. William, esgob Llandaf, a ddaeth i gyfarfod Baldwin i Brinbiga, yn sir Fynwy, ac a aeth gydâg ef trwy yr esgobaeth. Yr arch-esgob, wedi dyfod i Brinbiga, a bregethodd i'r bobl; a William, esgob Llandaf, a roddodd air o gyngor iddynt; ac Alexander, arch-diacon Bangor, a gyfieithodd i'r Cymry: a dywedir i gynnifer o fwrddwyr, lladron, ac yspeilwyr y gymmydogaeth, gael eu dychwelyd y pryd hyny, nes peri syndod ar bawb a'i gwelsant. Gwedi ymadael â Brinbiga,

Maesyfed.
Gelly.
Llandeu.
Fenni.
Brinbiga.

CANT XII.

Caerlleon ar Wysg. Casnewydd. Caerdydd. Llandaf. Pontfaen. Margam. Abertawy.

Baldwin a'i gymdeithion a aethant i Gaerlleon ar Wysg, ac oddi yno i Gasnewydd, lle yr arosasant y noswaith honno. Llawer yn Nghasnewydd a gofleidiasant y groes, ac a addunedasant i fyned i ryfela yn erbyn gelynion cristianogaeth. O Gasnewydd, Baldwin a gymmerodd ei daith i Gaerdydd, ac oddi yno i Landaf, lle y cyhoeddodd efe orchwyl y groes, ac a lwyddodd gydâ llawer o Gymry a Saeson i'w chofleidio. Baldwin, gwedi codi yn fore, a darllen y gwasanaeth yn eglwys gadeiriol Llandaf, a aeth oddi yno trwy Bontfaen i Fynachlog Margam, ac oddi yno gyd â glan y môr i Abertawy. Llawer yn Abertawy, wedi clywed yr arch-esgob, a addunedasant i fyned i ryfela â gelynion crist'nogaeth: a rhyw hen ŵr, a elwid Cador, a aeth at yr arch-esgob, ac a ddywedodd wrtho, 'Fy arglwydd, pe buaswn yn 'mlodau fy nyddiau, ac yn mwynhau fy nghryf'dwr fel cynt, ni chawsai un math o iawn fy 'rhyddhau, nac un dymuniad am lonyddwch fy 'rhwystro i gyflwyno fy hun i'r gorchwyl go'goneddus hwn ag y'ch chwi yn ei bregethu; 'ond gan fod fy henaint a'm methiant yn rhwystr 'i mi gyrhaeddyd cyflawn deilyngdod, trwy fy'ned i ryfela â gelynion cristianogaeth, dyodd'efwch i mi gyrhaeddyd hanner y teilyngdod 'hwnw, trwy roddi y degfed rhan o'm holl fedd'iannau tu ag at ddwyn y gorchwyl hwnw yn 'mlaen.' Ac wedi syrthio wrth draed yr arch-esgob,

CANT. XII.

gob, efe a roddodd y degfed rhan o'i holl feddiannau tu ag at wasanaeth y groes; a thrwy lawer o ddagrau, a ddeisyfodd ar yr arch-esgob i faddeu iddo hanner y penyd gorchymmynedig. Yn mhen ychydig o amser wedi hyny, Cador a ddychwelodd at yr arch-esgob, ac a ddywedodd wrtho, 'Fy arglwydd, gan fod yr ewyllys yn 'cyfarwyddo y weithred; ac yn aml yn cael ei 'chymmeryd yn lle'r weithred; a chan fod genyf 'ddymuniad cadarn i fyned i ryfel y groes, yr wyf 'yn deisyf arnoch i faddeu i mi yr hanner arall 'o'r benyd, a myfi a roddaf i chwi gymmaint 'o'm meddiannau ag a roddais o'r blaen.' Yr arch-esgob, pan welodd gywreinrwydd crefyddol yr hen ŵr, a wenodd, ac a'i cofleidiodd ef gydâ syndod.*

O Abertawy, Baldwin a'i gyfeillion a aethant i Lwchwr, ac oddi yno i Gydweli. Gwedi aros ychydig yn nghastell Cydweli, hwy a aethant dros afon Tywi mewn bâd, ac a barhausant eu taith tu a Chaerfyrddin, gan adael Llanstyffan ar y llaw aswy. O Gaerfyrddin, hwy a aethant i St. Clares, a chwedi ymweled â Mynachlog y Tŷ Gwyn ar Daf, hwy a aethant heibio Lawhaden,* i Hwlffordd. Yr arch-esgob, a Giraldus, a bre-

Lwchwr. Cydweli. Caerfyrddin. S. Clares. Tŷ Gwyn ar Daf. Lawhaden. Hwlffordd.

* Hoare's Gir. Cambrensis.

* Yn y dyddiau terfysglyd hyny, pan oedd Cymru yn cael ei anrheithio gan y Normaniaid a'r Fflandrysiaid, a phan nad oedd noddfäau sanctaidd, nac eglwysydd, yn cael eu parchu gan y goresgynwyr, tybiodd esgobion Cymru yn ang-

CANT XII.

a bregethasant yn Hwlffordd, a llawer o'r milwyr a'r bobl gyffredin yn y lle hwnw, a gymmerasasant y groes. Gwedi aros dros ychydig yn Hwlffordd, Baldwin a'i gymdeithion a aethant trwy Gamros, a thros draeth Niwegal i Dŷ Ddewi. Pan ddaethant i Dŷ Ddewi, yr arch-esgob a ddarllenodd y gwasanaeth yn yr eglwys gadeiriol, a Giraldus a bregethodd i'r bobl. Gwedi hyny, hwy a ymadawsant, ac a aethant trwy Abergwaun, Trefdraeth, a Nefern, i Fynachlog Llandudoch, lle y cawsant eu groesawi yn garedig gan Rhys ab Gruffydd, tywysog y Deheubarth. Dranoeth, Rhys a'u groesawodd hwynt yn Aberteifi; a chwedi i lawer o bobl y gymmydogaeth gyfarfod mewn man yn sir Benfro, yn agos i bont Aberteifi, yr arch-esgob a aeth yno attynt, ac efe, a Giraldus, a draethasant air yr Arglwydd iddynt. Dywedir i lawer gael eu tueddu, trwy y pregethau hyny, i gymmeryd y groes: a chymmaint oedd eu parch i'r arch-esgob, fel yr adeiladasant Gappel yn y fan lle yr oedd efe yn sefyll, ac yn pregethu; a gelwir y fan hono, Parc y Cappel, hyd heddyw. Gwedi ymadael âg Aberteifi, hwy a ddaethant i Lanbedr pont Ystyffan, lle y pregethodd yr arch-esgob, a Giraldus,

Camros. Tŷ Ddewi. Abergwaun. Trefdraeth. Nefern. Llandudoch. Aberteifi. Llanbedr.

enrheidiol i gadarnhau eu llysoedd rhag rhuthrau eu gelynion. Mewn canlyniad i hyn, daeth llysoedd yr esgobion i fod yn llysoedd castellaidd. Yr oedd tri llys castellaidd yn esgobaeth Tŷ Ddewi; un yn Llanddeu, nn agos i Aberhonddi; un arall yn Lawhaden; ac un arall yn Lantphey, yn agos i Benfro.

Giraldus, yn nghyd â dau ŵr arall, John o'r Tŷ Gwyn, a Sisillus o Ystrad-fflur; a dywedir na bu eu llafur yn ofer. O Lanbedr pont Ystyffan, y pregethwyr a aethant i Ystrad-fflur, lle y gorphwysasant y noswaith honno. Dranoeth, hwy a ddychwelasant i Landdewi brefi, ac a aethant oddi yno i Lanbadarn fawr. Gwedi gorphwys noswaith yn Llanbadarn fawr, hwy a dynasant lawer at wasanaeth y groes ar y borea tranoeth. O Lanbadarn fawr, yr arch-esgob a gymmerodd ei daith i Aberdofy, ac oddi yno i Dowyn. Rhys ab Gruffydd a aeth gydâ'r arch-esgob o Landudoch i Aberdofy, ac a ddychwelodd oddi yno. Gwedi i'r arch-esgob a'i gymdeithion orphwys noswaith yn Nhowyn, Gruffydd ab Cynan, ab Owain Gwynedd, a ddaeth oddi yno i'w cyfarfod, a chydâ y gostyngeiddrwydd mwyaf, a ddeisyfodd faddeuant am iddo oedi ei weinyddiad i'r arch-esgob cyhyd. O Dowyn, hwy a aethant i Aber Maw,* ac oddi yno i Lanfair, lle y gorphwysasant y noswaith honno. Dranoeth, hwy a aethant trwy, neu yn agos i Harlech,† a thros y traeth mawr, a'r traeth bychan, a thrwy Bwllheli i Nefyn, lle y cysgasant y noswaith honno. Yr arch-esgob a bregethodd dranoeth yn Nefyn, ac a lwyddodd gydâ llawer i gymmeryd y groes. O Nefyn, hwy a aethant trwy Gaernarfon i Bangor, lle y cawsant eu groesawi yn gariadus gan Guido,

CANT XII.

Ystrad-fflur.

Llanddewi brefi.

Llanbadarn fawr.

Aberdofy.

Towyn.

Aber Maw.

Llanfair.

Harlech.

Pwllheli.

Nefyn.

Caernarfen.

Bangor.

* Barmouth. † Hardd-Lech.

CANT XII.

Guido, esgob yr esgobaeth honno. Dranoeth, yr arch-esgob a ddarllenodd y gwasanaeth yn eglwys gadeiriol Bangor; ac esgob y lle hwnw, er mawr ofid i'w bobl, a gafodd ei gymhell i gymmeryd y groes. Baldwin a'i gymdeithion a aethant drosodd o Fangor i ynys Fôn, a Rhodri mab Owain, yn nghyd â'r rhan fwyaf o drigolion yr ynys, a llawer o bobl o'r gwledydd cymmydogaethol a'u cyfarfuant hwynt yno. Yr arch-esgob a safodd i fynu mewn man a alwyd gwedi hyny, Carreg yr Arch Iagon,* ond yn awr, Carreg Iago, ac a bregethodd iddynt; ac Alexander arch-diacon Bangor, a Sisillus, abad Ystrad-fflur, a gyfieithasant i'r bobl. Dywedir i lawer y pryd hyny gael eu tueddu i gymmeryd y groes. Gwedi dychwelyd o sir Fôn i Bangor, yr arch-esgob a'i gymdeithion a aethant y'mlaen trwy Conwy ac Abergeley, i Ruthlan, lle y cawsant eu groesawi yn weddus iawn gan Dafydd ab Owain. Dranoeth, gwedi llwyddo gydâ llawer yn Ruthlan i gyflwyno eu hunain i wasanaeth y groes, yr arch-esgob a aeth i St. Asaph, ac wedi darllen y gwasanaeth yn yr eglwys gadeiriol, a aeth i Basingwerk, lle yr arosodd efe a'i gymdeithion y noswaith honno. O Basingwerk, hwy a aethant i Gaerlleon ar Ddyfrdwy, ac a arosasant yno dros y pasc. Wedi llwyddo gydâ llawer yn Nghaerlleon i gymmeryd eu nodi âg arwydd

[Margin notes: Carreg Iago. — Conwy. Abergeley. Ruthlan. — St. Asaph. — Basingwerk. — Caerlleon.]

* The Archbishop's Rock.

arwydd y groes, yr arch-esgob, a'i gyfeillion, a aethant i Whitchurch, ac oddi yno i Groesyswallt, lle y cawsant eu derbyn gan William ab Alan, yn y modd mwyaf caredig. O Groesyswallt, hwy a aethant i'r Mwythig, lle y gorphwysasant dros ychydig o ddyddiau. Tra yr oedd yr arch-esgob yn y Mwythig, llawer o bobl a gofleidiasant y groes, ac a addunedasant i fyned i ryfela â gelynion cristianogaeth. Dangosodd tywysogion Cymru lawer o barch i arch-esgob Canterbury, ar ei daith trwy y wlad. Owain Cyfeiliog oedd yr unig dywysog na ddaeth i'w gyfarfod ef, ac o blegid hyny, cafodd ei ysgymuno gan yr arch-esgob. Gwedi myned i Henffordd, yr arch-esgob a ymadawodd â'i gymdeithion o Gymru, ac a ddychwelodd i'w wlad ei hun. Dywedir i fwy nâ thair mil o wyr cyfarwydd mewn achosion milwraidd, ac awyddus i ruthro ar elynion y ffydd, gael eu nodi âg arwydd y groes, ar y daith hon.[a] Ond Giraldus, a Peter, esgob Tŷ Ddewi, oblegid eu hoedran o'u tlodi, a gawsant eu rhyddhau oddi wrth yr adduned a wnaethent i fyned i wlad Canaan i ryfela, ar yr ammod iddynt ofalu am adgyweiriad eglwys gadeiriol Tŷ Ddewi, a rhoddi pob cynnorthwy yn eu gallu i ryfelwyr y groes, a gymmerent eu taith i Jerusalem.[b]

CANT XII.

Whitchurch.
Croesyswallt.
Mwythig.



[a] Hoare's Gir. Cambrensis, Vol. II.

[b] Ibid. Vol. I.

CANT XII.

Marwolaeth Guido. O. C. 1190.

Marwolaeth William de Salso Marisco. O. C. 1191.

Ar farwolaeth Guido, esgob Bangor, Giraldus a gafodd gynnyg ar yr esgobaeth honno, ond efe a'i gwrthododd: a dywedir i Bangor fod heb un esgob, nes i Alan gael ei gyssegru, oddi amgylch pedair blynedd gwedi hyny. Dywedir hefyd i Giraldus, ar farwolaeth William de Salso Marisco, gael cynnyg ar esgobaeth Llandaf, ac iddo wrthod honno hefyd: a Harry a gyssegrwyd yn esgob yn lle William. Esgob Harry a roddodd ranau i bedwar cor-offeiriad ar ddeg, yn ol y drefn bresennol; ac efe a briodolodd iddo ei hun, a'r esgobion a ddeuai ar ei ol, yr hyn ag y maent yn bresennol yn ei fwynhau. Y rheswm a roddodd Giraldus am ei wrthodiad o'r esgobaethau hyn oedd, nad oedd efe, y pryd hyny, yn ewyllysio myned i un sefyllfa lle y cawsai ei ddifyru oddiwrth ei lyfrau; ond yr oedd efe mewn gobaith o gael ei wneuthur yn esgob Tŷ Ddewi, o blegid fod Peter yn awr yn hen.[a] Ar farwolaeth Alan, esgob Bangor, Robert o'r Mwythig a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef.[b]

Marwolaeth Alan, esgob Bangor. O. C. 1195.

Llywelyn yn adeiladu Mynachlog Aberconwy. O. C. 1195.

Gwedi i Lywelyn ab Iorwerth, ab Owain Gwynedd, ddyfod i lywodraeth Gwynedd, efe a adeiladodd Fynachlog Aberconwy, yn sir Gaernarfon, ac a roddodd lawer o diroedd i'w chynnal. Rhoddodd hefyd lawer o ragor-freintiau i Fynachod

[a] Hoare's Gir. Camb. Vol. I. Brown Willis.

[b] Godwin's Catal.

Fynachod Aberconwy. Rhyddhaodd hwynt oddi wrth yr angenrheidrwydd o gadw dynion, ceffylau, cŵn, neu hebogau iddo ef, ac oddiwrth y ddyledswydd o roddi croesaw iddo ef, neu ryw wŷr cyffredin ereill, ar eu taith. Rhoddodd awdurdod iddynt i ddewis eu habadau eu hunain, ac i gymmeryd meddiant o bob llong-ddrylliad ar eu tir, ac a'u gwnaeth yn rhydd oddiwrth bob treth, ac na byddai i neb o honynt gael eu barnu yn un o lysoedd y tywysog am un weithred a wnelent, ac na chai y Fynachlog ddim bod yn attebol am arian a fenthygid gan un o'r Mynachod heb gydsyniad yr abad; ac amrywiol o bethau ereill.[a]

CANT XII.

Marwolaeth Peter, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1198.

Pan fu farw Peter, esgob Tŷ Ddewi, cyfeillion Giraldus a fynent iddo ymdrechu cael yr esgobaeth honno; ond efe a wrthododd, gan ddywedyd mai dyledswydd y bobl oedd ymofyn am esgob, ac nid lle esgob oedd ceisio esgobaeth. A chan fod ganddo ef ddigon at ei gynnaliaeth, fod yn fwy dewisol ganddo aros yn ei sefyllfa ddirgel yn Lincoln, lle yr oedd yn cael cyfleusdra i ddarllen, a myfyrio yn y pethau ag oedd yn hoff gan ei feddwl. Gan mae canonwyr Tŷ Ddewi oedd âg awdurdod pan fyddai esgob farw, i enwi un cymmwys i lanw ei le, arch-esgob Canterbury a orchymmynodd iddynt i enwi gwr i fod yn esgob yn lle Peter. Gwedi cael y gorchymmyn



[a] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 106.

CANT XII.

chymmyn hwn, hwy a enwasant Giraldus, arch-diacon Aberhonddi; Walter, abad Llandudoch; Peter, abad y Tŷ Gwyn ar Daf; ac fel na byddai iddynt ymddangos yn rhy dueddol i'r Cymry, hwy a enwasant hefyd Reginald Foliot, yr hwn oedd yn Sais. Yr arch-esgob a wrthododd, yn bendant, i gyssegru Giraldus, ar yr un rheswm ag y gwrthodasai y brenin Harry ef o'r blaen. Gwrthododd hefyd y ddau arall, o blegid eu bod yn Gymry. Ac i lanw eu lleodd hwynt, efe a enwodd Martin fynach, a Geoffrey, prior Llanthoni. Ond y canonwyr a honasant eu hen hawl sefydledig o enwi pwy oedd i fod yn esgob. Yr oedd Richard, brenin Lloegr, y pryd hyn yn Normandy; a phan glybu efe am yr ymryson ag oedd rhwng canonwyr Tŷ Ddewi ac arch-esgob Canterbury, efe a orchymmynodd i bedwar o'r canonwyr i ddyfod atto ef i Normandy, i dderbyn ei orchymmynion ef yn nghylch dewisiad esgob yn Nhŷ Ddewi. Ond tra yr oedd y pethau hyn mewn cynnwrf, bu farw y brenin.*

John, brenin Lloegr. O. C 1199.

Gwedi i John gael ei goroni yn frenin yn lle ei frawd Richard, canonwyr Tŷ Ddewi a ysgrifenasant atto i Normandy, i ganmol Giraldus, fel gwr cymmwys iawn i fod yn esgob Tŷ Ddewi; a'u llythyrau hwynt a gawsant dderbyniad graslawn. A'r brenin a orchymmynodd i Giraldus, a thri

* Hoare's Giraldus Cambrensis, Vol. I.

a thri neu bedwar o ganonwyr Tŷ Ddewi, i ddyfod atto ef, fel ag y byddai iddo gael ei ddewis yn esgob, mewn ffordd addas. Ond ar ddychweliad y brenin i Loegr, arch-esgob Canterbury a lwyddodd gydâg ef i wneuthur gwrthodiad o Giraldus. Pan welodd Giraldus y cyfnewidiad hyn yn ei hen ysgolhaig, y brenin John, efe a ymadawodd â llys y Saeson, ac a ddaeth i Gymru, a phan ddaeth i Dŷ Ddewi, yr offeiriaid a'r bobl a'u derbyniasant ef gydâ'r llawenydd mwyaf. Cadwyd cymmanfa drachefn yn Nhŷ Ddewi, i'r dyben i ddewis esgob yn lle Peter, a Giraldus a gafodd ei ddewis yn unfryd; a dymunwyd arno i fyned yn union-gyrch i Rhufain at y Pab, i haeru ei hawl i esgobaeth Tŷ Ddewi, a chael cadarnhad o'i etholiad. Giraldus, yn gweled fod ei etholiad yn rheolaidd a chyfreithlon, a gyd-agweddodd â dymuniad y gymmanfa: a chwedi myned i ymweled â'i frawd Philip de Barri, a gosod ei lyfrau i'w cadw yn Mynachlog Ystradfflur, yn sir Aberteifi, efe a hwyliodd o Sandwich, ac a diriodd yn Fflanders; ac wedi croesi yr Alps, efe a ddaeth i Rhufain yn nghylch gŵyl St. Andreas, ac a dderbyniwyd yn garedig gan Bab Innocent y trydydd: ond gan fod gan arch-esgob Canterbury fwy o awdurdod yn llys Rhufain nag arch-diacon Aberhonddi, y Pab a wrthododd gadarnhau hawl Giraldus i esgobaeth Tŷ Ddewi.

CANT XII.

Giraldus yn myned i Rhufain. O. C. 1199.

Y TRY-

## Y TRYDYDD CANT AR DDEG.

CANT XIII.

TYWYSOGION Gwynedd a Deheu-barth Cymru, yn gofidio wrth weled hawl sefydledig canonwyr Tŷ Ddewi yn cael eu diystyru, ac eglwys Cymru yn cael ei thraws-arglwyddiaethu gan arch-esgob Canterbury, a roddasant awdurdod i'w cyd-wladwyr, i anfon y deisyfiad canlynol at y Pab, trwy ddwylaw Giraldus, a chanonwyr Tŷ Ddewi.

Deisyfiad y Cymry at y Pab.

'At y iawn barchedig dad ac arglwydd Innocent, trwy ras Duw, y prif esgob. Llewelyn, 'tywysog Gwynedd; Gwenwynwyn a Madog, 'tywysogion Powys; Gruffydd, Maelgwn, Rhys, 'a Meredith, meibion Rhys, tywysog y Deheu-'barth; ydynt yn anfon iechyd, a gwir ufudd-'dod yn mhob peth. Bydded hyspys i'ch tadol 'ddaioni, y caledi mawr, a'r perygl o golli en-'eidiau, y mae eglwys Cymru yn ei oddef er pan 'y daeth hi trwy drais brenhinol, ac nid trwy 'awdurdod esgob Rhufain, yn ddarostyngedig 'i awdurdod Lloegr, ac arch-esgob Canterbury. 'Y mae arch-esgobion Canterbury yn anfon i ni 'esgobion Seisnig, anwybodus o foesau ac iaith 'ein

Yr esgobion yn anwybodus o'r iaith Gymraeg.

CANT XIII.



'ein gwlad, pa rai ni allant bregethu gair Duw 'i'r bobl, na derbyn eu cyfaddefiadau hwynt, ond 'trwy gyfieithwyr. Nid ydynt yn eu gosod yn 'esgobion trwy ddewisiad canonaidd, ond yn 'hytrach yn eu cymhell hwynt arnom trwy 'drais; ac os byddant rai troion yn ymarferyd y 'drefn o ddewisiad, nid ydynt yn gwneuthur 'hyny yn gyhoeddus, ond yn ddirgel, trwy alw 'yr offeiriaid i Loegr, a'u cymhell hwynt yn ys-'tafelloedd y brenin i ddewis y sawl fyddont hwy 'yn eu hewyllysio, pa mor wael a diystyrllyd 'bynnag y byddont. Ac fel nad ydyw yr esgob-'ion hyny a anfonir attom o Loegr, ddim yn ein 'caru ni na'n gwlad, nid ydynt yn ceisio daioni 'ein heneidiau. Eu huchel-gais hwynt ydyw 'llywodraethu drosom, ac nid gwneuthur lles-'had i ni; ac oblegid hyny nid ydynt ond anaml 'yn cyflawni dyledswyddau y weinidogaeth yn 'ein plith. A pha bethau bynnag a allont hwy 'gymmeryd oddi arnom, mewn ffordd gyfiawn 'neu anghyfiawn, a ddygir ganddynt i Loegr, ac 'a ddifrodir ganddynt yn y Mynachlogydd a ro-'ddir iddynt gan frenhinoedd Lloegr. Ac fel y 'Parthiaid, y rhai a saethant eu picellau pan y 'byddont yn ffoi, ac yn mhell, y maent hwythau 'o Loegr yn ein hysgymuno ninnau, mor fynych 'ag y gorchymmynir iddynt wneuthur felly. O-'blegid nad ydynt yn caru ein gwlad; y mae y 'tiroedd a roddwyd yn yr amser gynt gan ein

Sefyllfa alarus y eglwysi Cymru.

'hynafiaid

CANT XIII.



'hynafiaid i'r esgobaethau, yn cael eu trosglwy-'ddo ganddynt i'r offeiriaid, ac ereill a ewyllysio 'eu cael. A chan fod tiroedd yr eglwysi yn 'ddarostyngedig i gael eu cymmeryd oddi wrth-'ynt, yr ydym ninnau ein hunain gwedi cymmer-'yd peth o honynt. ac y maent yn ein meddiant 'yn bresennol. Trwy y pethau hyn y mae eg-'lwysydd cadeiriol Cymru gwedi cael eu daros-'twng i'r tlodi a'r trueni mwyaf; ond pe buasent 'gwedi eu bendithio âg esgobion da a duwiol, 'fe fuasent yn gyfoethog ac yn ardderchog. 'Heblaw hyn, pan fyddo y Saeson yn rhuthro i 'Gymru, y mae arch-esgob Canterbury yn gosod 'yr holl wlad dan ddeddf warafun, ac oblegid ein 'bod ni yn amddiffyn rhyddid ein gwlad yn erbyn y 'Saeson a gelynion ereill, y mae efe yn ein gosod 'ni a'n pobl dan farn ysgymundod, ac yn peri 'i'r esgobion hyny a ddanfonodd efe i'n plith, i 'gyhoeddi y farn honno, yr hyn y maent yn ba-'rod i'w wneuthur ar y fath achosion. Mewn 'canlyniad i hyn, y mae pawb o'n pobl ni a syr-'thio ar faes y gwaed, wrth amddiffyn rhyddid 'eu gwlad, yn marw dan farn ysgymundod. Yr 'ydym gan hyny, trwy ddagrau ac och'neidiau, 'yn ceisio gan eich Sancteiddrwydd, i'r hwn y 'perthyna llywodraeth yr eglwys gyffredinol, 'iachad effeithiol oddi wrth y caledi hyn, a 'a phethau ereill a hyspysir i chwi trwy enau 'canonwyr Tŷ Ddewi, a Giraldus eu hesgob 'etholedig,

Tlodi eglwysi cadeiriol Cymru.

Gwrol-deb y Cymry yn eu dwyn dan farn ysgym-undod.

Barn y tywysog-ion am Giraldus.

'etholedig, yr hwn sydd ŵr synwyrol a pharch- CANT XIII.
'adwy. Ac, âg un llef yr ydym yn dymuno

'arnoch i ryddhau eich plant ag sydd fel hyn 'gwedi cael eu gorthrymu dan y tri esgob diw'eddaf a fu yn Nhŷ Ddewi, mewn canlyniad i 'ddarostyngiad yr esgobaeth honno i arch-esgob 'Canterbury. Oblegid cyn amser y tri esgob 'diweddaf, yr oedd Tŷ Ddewi yn eistedd-le 'arch-esgob Cymru oll, yr hwn nid oedd yn 'ddarostyngedig fel arch-esgob i neb, ond i'r 'fam eglwys, Rhufain. Gan hyny, os bydd i 'chwi ymddarostwng i edrych arnom gydâ lly'gad o dosturi, pa wasanaeth bynnag fyddo yn 'ein gallu, ni a'u gwnawn yn ewyllysgar i'r 'bendigedig apostol Pedr; felly ein hanwyl dad, 'byddwch wych yn yr Arglwydd.' [a]

Aflwyddiant deisyfiad y Cymry.

Yr oedd y Saeson yn llawn dychryn rhag ofn i'r deisyfiad hwn o eiddo y Cymry i lwyddo. Ond er cymmaint o resymoldeb a thaerni oedd yn y deisyfiad, ac er mor anrhydeddus oedd y gwyr a'u hanfonodd, ni chafodd un math o effaith ar y Pab, yn amgen nâ'i alluogi ef i dynu ychwaneg o arian o godau y Saeson. Gwedi i Giraldus dreulio dros bedair blynedd i amddiffyn rhagor-freintiau esgobaeth Tŷ Ddewi, ac iddo fyned dair gwaith ar yr achos hyny i Rhufain, cafodd ei siomi yn y diwedd; canys y Pab a gyhoeddodd ei etholiad i'r swydd esgobaethol



[a] Jones's Hist. Brecon, Vol. I. p. 221, 222.

CANT XIII.

Giraldus yn cael ei erlid am ei sel dros eglwys Tŷ Ddewi.

yn ddirym. Mewn canlyniad i'r dybendod annymunol a wnaeth y Pab ar yr achos hwn, Giraldus a ddyoddefodd lawer o erledigaethau chwerwon, yn Lloegr, a gwlad ei enedigaeth. Er nad ymddengys iddo ef erioed gymmeryd iddo ei hun yr enw esgob, brenin Lloegr a roddodd orchymmyn na anturiai efe gymmeryd arno yr enw hwnw; ac arch-esgob Canterbury hefyd a ddanfonodd lythyrau, yn enw y brenin, at ganonwyr Tŷ Ddewi, a thrwy lawer o wobrau a bygythion, a lwyddodd gydâ hwynt o'r diwedd, i fod o blaid y Saeson; ac ymdrechasant, hyd eithaf eu gallu, i gau drysau y Mynachlogydd yn erbyn Giraldus, pan y byddai yn teithio trwy y wlad. Pan welodd Giraldus fod canonwyr Tŷ Ddewi gwedi eu llygru trwy wobrau y Saeson, ac nad oedd yn bosibl iddo adferu yr esgobaeth i'w hardderchawgrwydd arch-esgobaethol, efe a roddodd i fynu yr ymdrech; a chwedi amddiffyn a rhyddhau ei hun oddiwrth y cam-achwyniadau a ddygasid yn ei erbyn gan ei elynion, efe a ymheddychodd âg arch-esgob Canterbury; ac ar yr amser gosodedig i ddewis un i fod yn esgob yn Nhŷ Ddewi, efe a aeth gydâ y canonwyr i Lundain; a chwedi gwrthdystio yno yn erbyn anwybodaeth ac anfoesoldeb llawer o'r rhai ag oedd am gael esgobaeth Tŷ Ddewi, o'r diwedd efe a gydsyniodd i wneuthur dewisiad o Geoffrey de Henelawe, prior Lanthoni, i fod yn esgob Tŷ Ddewi.*

Geoffrey, esgob Tŷ Ddewi.

O. C. 1203.

* Hoare's Gir. Cambrensis, Vol. I.

CANT XIII.

Giraldus, yn gweled gydâ gofid cyn lleied o onestrwydd a chywirdeb oedd yn ei frodyr a'r canonwyr, a dybiodd ei bod yn ddianrhydedd iddo fod yn aelod o'u cymdeithas hwynt yn hŵy; ac a aeth at yr arch-esgob, a chwedi hyspysu ei fwriad iddo, a ddymunodd arno i arferyd ei awdurdod gydâg esgob Tŷ Ddewi o blaid i'w nai, i'r hwn yr oedd yn ewyllysio i roddi i fynu ei arch-diaconiaeth a'i gor-offeiriadaeth.* Yr arch-esgob a betrusodd ar y cyntaf, ond gwedi hyny efe a gyd-agweddodd, ac a fynodd osodiad Philip de Barri i'r dyrchafiad ag oedd ei ewythr Giraldus yn ewyllysio roddi i fynu iddo. Giraldus a dreuliodd y ddwy flynedd ar bymtheg ddiweddaf o'i fywyd yn Nghymru, i ddiwygio y llyfrau ag oedd gwedi gyfansoddi, ac i ysgrifenu rhai ereill.† Tra'r oedd ynghylch y pethau hyn, cafodd gynnyg drachefn ar esgobaeth Tŷ Ddewi; ac nid oedd efe y pryd hyny yn debygol i gyfarfod â dim gwrthwynebiad oddiwrth y llys. Ond oblegid y tilerau dianrhydeddus, ar ba rai y cynnygwyd hi iddo, efe a wrthododd wneuthur derbyniad o'r urddas eglwysig honno, ag oedd

Philip de Barri yn arch-diacon Aberhonddi.

 gwedi

* Heblaw arch-diaconiaeth Aberhonddi, a chor-offeiriadaeth Mathrey, yn sir Benfro, y rhai a roddodd Giraldus i fynu i'w nai, yr oedd ef mewn meddiant o bersonaethau Nangle a Thinbych, yn yr un sir, ac o gor-offeiriadaeth Henffordd a phersonaeth Chesterton, yn sir Rhydychen.

† Giraldus a gyfansoddodd lawer o lyfrau, ac y mae amryw o honynt mewn bod hyd heddyw.

CANT XIII.

Marwolaeth Giraldus.

wedi bod, trwy y rhan fwyaf o'i fywyd, yn wrthddrych o'i ddymuniadau mwyaf difrifol. Giraldus a fu farw yn Nhŷ Ddewi, yn bedair blwydd ar ddeg a thri ugain oed, ac a gladdwyd yn yr eglwys gadeiriol. Yr oedd Giraldus yn ardderchog yn ei enedigaeth, yn bridweddol yn ei berson, yn llariaidd yn ei foesau, yn addwyn yn ei gyfrinach, yn fywiog, gweithgar, a diofn, i amddiffyn rhagor-freintiau yr eglwys, yn foesol yn ei fuchedd, yn ddiysgog yn ei egwyddorion, yn elusengar, er yn uchel-frydig, ac yn ddysgedig, er yn goel-grefyddol. Yn mha olwg bynnag yr ystyriom y gwr hynod hwn, pa un ai fel ysgolhaig, gwladgarwr, neu ddifeinydd, ni a allwn yn gyfiawn ei ystyried ef yn un o'r goleuadau mwyaf dysglair a addurnodd hanesion y deuddegfed cant.[a]

Llosgi Bangor. O. C. 1210.

Yn y rhyfeloedd creulon ag oedd y pryd hyn rhwng Llywelyn ab Iorwerth a'r brenin John, y Saeson a losgasant dref Bangor, ac a gymmerasant Robert, esgob y lle hwnw, yn garcharor: ond cymmaint oedd gan y bobl am eu hesgob, fel y prynasant ef yn ol drachefn am ddau cant o hebogau. Ar farwolaeth Geoffrey, esgob Tŷ Ddewi, Iorwerth, abad y Talley, yn sir Gaerfyrddin, a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef. Yr oedd Iorwerth yn ŵr call, ac o dymmer heddychlon, a bu yn offerynol i wneuthur heddwch rhwng y Fflandrysiaid, yn sir Benfro, â Llywelyn

Marwolaeth Geoffrey. O. C. 1214.

[a] Hoare's Gir. Camb. Vol. I.

lyn ab Iorwerth, tywysog Gwynedd. Oblegid y rhyfeloedd ag oedd yr amser hyny rhwng gwyr Gwynedd a'r Saeson, esgobaeth Bangor a fu ddwy flynedd heb un esgob, yn ol marwolaeth Robert o'r Mwythig. Ond pan ddaeth pethau i well trefn, y brenin a roddodd orchymmyn i'r canonwyr i enwi gwr cymmwys i fod yn esgob Bangor, a hwy a enwasant Cadwgan, abad y Tŷ Gwyn, yr hwn, wedi ei gymmeradwyo gan y brenin, a gyssegrwyd yn esgob Bangor. Yr oedd Cadwgan yn ŵr dysgedig, ac efe a ysgrifenodd lawer o lyfrau; ac yn mhlith ereill, Agoriad ar y Salmau.*

CANT XIII.

Cadwgan, esgob Bangor. O. C. 1215.

Adda, esgob St. Asaph, a fu farw yn mhen ychydig o amser gwedi yr ymryson a fu rhyngddo ef a Giraldus yn nghylch eglwys Cerry; a John a wnaethpwyd yn esgob yn ei le ef. Bu John farw yn mhen tair blynedd wedi iddo gael esgobaeth St. Asaph, a Reyner a ddewiswyd yn esgob yn ei le. Yr oedd Reyner yn un o gymdeithion Baldwin trwy esgobaeth St. Asaph, ac yn fywiog iawn i annog y bobl i gyflwyno eu hunain i achos y groes. Reyner, i ddangos ei sel dros babyddiaeth, a roddodd ddegwm gwair ac ŷd Mynachlog Blanch i Fynachlog y Mwythig; a hanner degymau Gwrecsam i Fynachlog Llangwest, yr hon a elwid Vallecrucis: ac Abraham, yr hwn a wnaethpwyd yn esgob ar ei ol ef,

Abraham, esgob St. Asaph. O. C. 1225.

* Brown Willis.

CANT XIII. ef, a gadarnhaodd y rhoddion hyny, ac a ychwanegodd yr hanner arall o ddegymau Gwrecsam at gynnaliaeth Mynachlog Vallecrucris.[a] Pedair blynedd gwedi cyssegru Abraham yn esgob St. Asaph, yr adeiladwyd Mynachlog Grace Dieu, yn agos i Dref Fynwy; ac yn mhen llawer o amser gwedi hyny, Edward y trydydd, brenin Lloegr, a roddodd goedwig Dean at gynnal dau fynach i gyflawni gwasanaeth dwyfol yn y Fynachlog honno, dros eneidiau ei hynafiaid, dros byth.[b] Abraham, gwedi cyflawni swydd esgob yn St. Asaph dros naw mlynedd, a fu farw, a chyssegrwyd Hugh yn esgob yn ei le ef.

Anselm, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1230.

Ar farwolaeth Iorwerth, esgob Tŷ Ddewi, Anselm, trysorwr Exeter, a wnaethpwyd yn esgob yn ei le ef. Yn amser yr esgob hwn, rhan fawr o eglwys Tŷ Ddewi a gwympodd trwy ddaear-gryn.[c]

Cadwgan, esgob Bangor, yn cyfarfod â llawer o gystuddiau, a ysgrifenodd at y Pab, i ddeisyf cael cennad i roddi i fynu ei esgobaeth. Gwedi cael caniatad, efe a ymadawodd â Bangor, a Hywel a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef Yn nghylch yr amser hyn, Joan, gwraig Llywelyn ab Iorwerth, a merch y brenin John, a fu farw; ac yn ol ei deisyfiad ei hun, a gladdwyd yn Llanfaes,

Hywel, esgob Bangor. O. C. 1236.

[a] Brown Willis. [b] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 107.

[c] Brown Willis.

faes, yn sir Fôn. Llywelyn, o barch i'w choffadwriaeth hi, a adeiladodd Fynachlog ar ei bedd; a Hywel, esgob Bangor, a gyssegrodd y Fynachlog honno. Ni bu Hywel fawr dros ddwy flynedd yn esgob Bangor. Ar ei farwolaeth, gwnaethpwyd dewisiad o Richard i gyflawni ei le ef. Yn nyddiau yr esgob hwn, bu farw Llywelyn ab Iorwerth, tywysog Gwynedd; a Dafydd ab Llywelyn, ei fab ef o Joan, merch y brenin John, a ddewiswyd yn dywysog Gwynedd yn ei le ef. Yr oedd Dafydd ab Llywelyn, cyn marwolaeth ei dad, gwedi traws-feddiannu rhan fawr o'r tiriogaethau ag oedd yn perthyn i Gruffydd ei frawd hynaf, ac wedi ei gaethiwo ef yn nghastell Cricieth, ar lan y môr, yn sir Gaernarfon. Richard, esgob Bangor, yn caru Gruffydd, ac o dosturi tu ag atto, a wnaeth ei oreu i ddwyn oddi amgylch ei ryddhad. Ond Dafydd ab Llywelyn ni feiddiai ollwng yn rhydd, ŵr mor ddewr a phoblogaidd ag oedd ei frawd Gruffydd. Pan welodd esgob Bangor, na lwyddai dim gydâ Dafydd ab Llywelyn, i beri iddo wneuthur cyfiawnder i'w frawd, efe a'i hysgymunodd ef, ac a lwyddodd gydâ y Pab i gymmeradwyo y weithred. Pa ddybenion bynnag oedd gan Richard i ysgymuno tywysog Gwynedd, bu y weithred honno yn achlysur i wneuthur ei sefyllfa ef yn Bangor mor beryglus, fel y gorfu arno ffoi i Loegr, a byw ar haelioni ereill, yn neillduol

CANT XIII.

Marwolaeth Llywelyn ab Iorwerth. O. C. 1240.

Richard yn ysgymuno tywysog Gwynedd.

CANT XIII.



neillduol ar haelioni crefydd-dŷ St. Albans, lle y cafodd ei roesawi yn anrhydeddus dros yn agos i ugain mlynedd.[a]

Yr oedd esgobion Cymru, yn y cant hwn, yn llawn o sel dros adeiladu Mynachlogydd, ac yn dangos y parodrwydd mwyaf i roddi tiroedd a degymau at eu cynnal hwynt. Hugh, esgob St. Asaph, er tloted oedd yr esgobaeth y pryd hyn, a roddodd ddegymau Llanfair i gynnal Mynachlog Llanlligan, yn sir Drefaldwyn. Ar farwolaeth Hugh, cafodd Hywel ab Ednefet ei ddewis yn esgob yn ei le ef. Tra yr oedd Hywel ab Ednefet yn esgob yn St. Asaph, Harry y trydydd, brenin Lloegr, a gafodd oruchafiaeth Cymru, ac oblegid fod esgobion Cymru yn ffafrol i dywysogion y wlad, Harry a anrheithiodd eu hesgobaethau hwynt, ac a yspeiliodd yr eglwysi i'r fath raddau, fel y gorfu ar esgobion Cymru fyned i gardota eu bara, a byw ar elusen eu cyd-wladwyr, hyd oni ddaeth pethau i well trefn.[b]

Hywel, esgob St. Asaph. O. C. 1240.

yr Esgobion yn cardotta!

Ar farwolaeth Anselm, esgob Tŷ Ddewi, Thomas Wallensis, arch-diacon Lincoln, er tloted oedd yr esgobaeth, a roddodd i fynu ei fywioliaethau, ac a gymmerodd ei gyssegru yn esgob Tŷ Ddewi. Yr un flwyddyn hefyd y cyssegrwyd Einion yn esgob St. Asaph, yn lle Hywel ab Ednefet. Einion a neillduodd Lanllwchaiarn, yn sir Drefaldwyn,

Thomas Wallensis, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1249.

[a] Brown Willis. [b] Ibid.

aldwyn, at gynhaliaeth Mynachlog Llanlligan; ac a gadarnhaodd rai o roddion Abraham a Hywel i grefydd-dŷ Vallecrucis. Richard de Carrew, gwedi ei wneuthur yn esgob Tŷ Ddewi, yn lle Thomas Wallensis, a sefydlodd y swydd o drysorwr yn ei eglwys gadeiriol; ac a fu yn gymmwynaswr i'r eglwys honno, mewn llawer ystyriaeth.[a] CANT XIII. O. C. 1256.

Gwedi i Lywelyn ab Gruffydd gael llywodraeth Gwynedd, ar farwolaeth ei ewythr Dafydd ab Llywelyn, efe a adeiladodd Briordŷ yn Bedd Celert, yn sir Gaernarfon, ac a'i cyssegrodd i Fair y forwyn. Edward y cyntaf, brenin Lloegr, pan gafodd lywodraeth y Cymry, a gadarnhaodd yr holl diroedd, a'r anrhegion, a roddasid gan Llywelyn ab Gruffydd i Briordŷ Bedd Celert, a Phriordŷ Penmon.[b] Priordŷ Bedd Celert. O. C. 1260.

Pan gafodd Richard, esgob Bangor, gennad gan y Pab i roddi i fynu yr esgobaeth, Anian, arch-diacon sir Fôn, a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef. Dywedir fod Anian yn esgob bywiog iawn, a thrwy ei fod yn ffafor Edward y cyntaf, iddo gael llawer o ragor-freintiau i'w esgobaeth. Y mae yn debygol mai yn ei amser ef y cafwyd y rhan fwyaf o'r cyfoeth ag sydd yn perthyn yn bresennol i esgobaeth Bangor. Anian a gynhaliodd gymmanfa o'i holl offeiriaid yn Mangor; a Anian, esgob Bangor.



[a] Brown Willis. [b] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 135, 153.

CANT XIII. thrwy gydsyniad yr offeiriaid, a wnaeth lyfr yr offeren, i'w ddarllen yn ei eglwys, a thrwy yr holl esgobaeth. Pan fu Einion, esgob St. Asaph, farw, John a ddewiswyd yn esgob yn ei le ef. John a fu farw yn fuan wedi myned i St. Asaph; a gwnaethpwyd dewisiad o Einion yr ail, yn esgob yn ei le. Dywedir fod Einion yr ail, yn esgob diwyd, ac iddo gael yn ol lawer o'r tiroedd a'r eglwysi a gymmerasid oddiwrth esgobaeth St. Asaph yn nyddiau yr esgobion a fu o'i flaen ef. Pan losgwyd eglwys St. Asaph yn y rhyfeloedd ag oedd y pryd hyny rhwng y Cymry a'r Saeson, Einion a fwriadodd symud yr eglwys gadeiriol i Ruddlan, ac ysgrifenwyd llythyrau at y Pab, i gael ei gennad i wneuthur hyny. Ond ar ddeisyfiad arch-esgob Canterbury, Einion a ail-adeiladodd yr eglwys gadeiriol yn yr un lle;* ac y mae yn sefyll hyd heddyw.[a]

Einion yr ail, esgob St. Asaph O. C. 1268.

Thomas Beck, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1280.

Ar farwolaeth Richard de Carew, esgob Tŷ Ddewi, Thomas Beck, un o ganonwyr y lle hwnw, a wnaethpwyd yn esgob yn ei le ef. Thomas Beck a sefydlodd gynnulleidfa yn Abergwilly, yn sir Gaerfyrddin, i ddau gor-offeiriad ar hugain, ac un arall yn Llanddewi brefi, yn sir Aberteifi, i dri cor-offeiriad ar ddeg.† Yn amser yr

* Adeiladwyd eglwys gadeiriol bresennol St. Asaph yn y flwyddyn 1284.

[a] Brown Willis. † Yn y flwyddyn 1287.

yr esgob hwn,* Edward y cyntaf, brenin Lloegr, yn nghyd â'i frenhines Eleanor, a ddaethant ar daith o bererindod i Dŷ Ddewi.*

CANT XIII.

Yr oedd Cymru y pryd hyn gwedi ei darostwng i'r tlodi a'r cyfyngder mwyaf, trwy awdurdod a chreulondeb y Saeson, ag oedd gwedi meddiannu amrywiol ranau o honi. Llywelyn ab Gruffydd, yn anabl i orchfygu ei elynion yn Ngwynedd, a adawodd ei frawd Dafydd i warchad bylchau mynyddoedd Eryri, ac a aeth âg ychydig o wyr gydâg ef i'r Deheubarth, mewn gobaith o gael ad-gyfnerthiad gan ei gyfeillion yno. Gwedi difrodi sir Aberteifi, Ystrad Tywi, a thiriogaethau Rhys ab Meredydd, Llywelyn ab Gruffydd a aeth i gantref Muallt, lle yr oedd gwedi cytuno i gael ymddiddan â rhai o arglwyddi yr ardal honno. Pan ddaeth ef yno, efe a sefydlodd y rhan fwyaf o'i filwyr ar ben mynydd, yn agos i'r afon Wy, ac oddi amgylch tair milldir o Lanfair Muallt; ac a osododd ereill i warchawd pont Orewyn, fel na ddelai ei elynion trosodd. Llywelyn, gwedi sicrhau ei hun rhag rhuthrau ei elynion, fel ag yr oedd ef yn tybied, a aeth yn anarfog, ac heb neb ond ei yswain gydâg ef, i goedwig ag oedd yn y dyffryn lle y cytunasent i gynnal yr ymddiddan

Llywelyn yn myned i'r Deheubarth.

Llywelyn yn nghantref Muallt.



* Yn y flwyddyn 1284.

* Brown Willis.

CANT. XIII.



Cyn gynted ag yr aeth Llywelyn i'r goedwig, John Gifford, a Sir Edmund Mortimer, y'nghyd â llu o wyr Muallt, a rutbrasant ar bont Orewyn; ond gwyr Llywelyn a'i hamddiffynasant gydâ y fath wroldeb, nes y methodd y Saeson ei hennill, hyd oni ddangosodd un o drigolion y gymmydogaeth fan lle yr oedd yr afon yn rhydiol. Y Saeson, gwedi rhydio yr afon, a ennillasant y bont, ac a ymlidiasant y milwyr ag oedd yn ei hamddiffyn hi. Yr oedd Llywelyn ab Gruffydd, yr holl amser hyn, yn y goedwig, yn dysgwyl am ddyfodiad arglwyddi Muallt; ac nid ymadawodd efe o'r goedwig hyd oni chafodd ei amgylchynu gan Mortimer a'i wyr. Pan wybu tywysog Cymru ei fod gwedi cael ei fradychu gan rai o arglwyddi Muallt, efe a ymdrechodd i ffoi at ei wyr i ben y mynydd; ond y Saeson a'i dilynasant, a chyn iddo gyrhaeddyd y mynydd, un Adam Francton, yn gweled Cymro yn anarfog, ac heb wybod pwy ydoedd, a'i brathodd trwyddo â'i gleddyf. Wedi gwneuthur hyn, Adam Francton a aeth gydâ y milwyr i ymladd â'r Cymry ag oedd ar y mynydd. Y Cymry yn dysgwyl eu tywysog i ddychwelyd, a ymladdasant gydâ y gwroldeb mwyaf, dros lawer o oriau; ond gan fod y Saeson yn fwy lliosog, gorfu arnynt, o'r diwedd, roddi i fynu, a gadael dwy fil o'u gwyr yn farw ar y maes. Yr oedd Llywelyn, yr holl amser hyn, yn gorwedd yn ei waed;

Adam Francton yn clwyfo Llywelyn.

Adam Francton.

CANT XIII.

waed; ac yn gwybod fod ei amser yn mron terfynu, efe a ofynodd am offeiriad; a Mynach a ddygwyddodd fod yn bresennol, a weinyddodd iddo yn ei funudau diweddaf. Gwedi gorchfygu y Cymry, Adam Francton a ddychwelodd i'r dyffryn, i ddiosg y person a glwyfasai; a phan wybu mai Llywelyn ab Gruffydd, tywysog Cymru, oedd y gwr, efe a lawenychodd yn fawr; a chwedi torri ei ben, efe a'i hanfonodd i Gonwy, i'r brenin Edward, yr hwn a'i derbyniodd gydâ llawenydd mawr, ac a'i gosododd ar y pinacl uchaf yn Nhŵr Llundain. Bu corph Llywelyn yn hir heb ei gladdu; ond pan wybuwyd fod offeiriad wedi bod gydâg ef yn ei amser diweddaf, arch-esgob Canterbury a roddodd iddo ollyngdod; a'r Saeson, wedi hyny, a roddasant gennad i'w gladdu, yn agos i'r fan lle y bu efe farw.* Adeiladwyd Tŷ gwedi hyny ar fedd Llywelyn, yr hwn a elwir Cefn y bedd, hyd heddyw. Felly y cwympodd yr enwog Llywelyn ab Gruffydd, y mwyaf, ond yr olaf o dywysogion Cymru, o waed Brutanaidd.*

Marwolaeth Llywelyn, tywysog Cymru. O. C. 1282.

Yn mhen ychydig o amser wedi hyn, Dafydd, brawd Llywelyn ab Gruffydd, a roddwyd i fynu i'r Saeson gan y Cymry eu hunain; ac mewn Senedd,

* Gruffydd ab yr Ynad Coch a gyfansoddodd Farwnad i Lywelyn ab Gruffydd; ac y mae i'w weled yn Archaiology of Wales, Vol. I. p. 396.

* Warrington's Hist. Wales, Vol. II. p. 264—278.

CANT XIII.

Creulondeb anifeilaidd y Saeson:

nedd, a gyfarfu yn y Mwythig, a gafodd ei farnu i farwolaeth. Gosodwyd ei ben ef gydâ phen ei frawd ar Dŵr Llundain, a rhanwyd ei gorph ef yn bedair o ranau, ac anfonwyd hwynt, mewn ffördd o orfoledd, i bedair dinas yn Lloegr. Anfonwyd un rhan i Frysto, rhan arall i Northampton, rhan arall i York, a rhan arall i Winchester.[a]

Edward yn cyssylltu Cymru â choron Lloegr. O. C 1283.

Gwedi i Edward y cyntaf orchfygu Cymru, efe a'i cyssylltodd â choron Lloegr, a ddosparthodd Wynedd yn siroedd, ac a osododd Gymru oll dan gyfreithiau Lloegr. Ac i'r dyben i ragflaenu rhuthrau y Cymry rhag llaw, efe a adgyweiriodd y castellydd, ac a adeiladodd gastell Aberconwy, yn y fan lle yr oedd y Fynachlog; ac a symudodd y Fynachlog i Maenan, yn agos i Lanrwst; ac yn mhen ychydig efe a'i symudodd oddi yno drachefn i Vale royal, yn sir Gaerlleon. Arch-esgob Canterbury, hefyd, a ddaeth i Gymru yr amser hyn, i'r dyben i gymmodi meddyliau yr offeiriaid, trwy wneuthur iawn iddynt am y gofidiau a gawsent, ac i adgyweirio yr eglwysi ag oedd gwedi eu niweidio trwy derfysgiadau yr amseroedd.[b]

Yr oedd cyssylltiad y wlad hon â choron Lloegr

[a] Powell's Hist. Wales, p. 299.

[b] Warrington's Hist. Wales, Vol. II. p. 284—296.

Lloegr, yn groes iawn i feddyliau y Cymry yn gyffredinol; ac yr oedd y gerwindeb a arferid gan swyddogion y brenin Edward, yn Nghymru, yn foddion i ddyeithrio eu meddyliau yn fwy oddiwrth lywodraeth Lloegr. Pa bryd bynnag y byddai y brenin Edward yn rhoddi cynnygiadau i'r Cymry i sefydlu eu llywodraeth, yr oeddent yn wastadol yn rhoddi yr atteb terfynol hwn; Eu bod hwy yn foddlon i gymmeryd eu llywodraethu gan bendefig o'u gwlad eu hunain, neu gan y brenin yn bersonol; ond na roddent hwy ddim ufudd-dod i neb na fyddai yn Gymro genedigol, neu na fyddai yn preswylio yn y wlad. Pan welodd y brenin fod y Cymry yn ddiysgog yn eu bwriadau, efe a anfonodd at y frenhines Eleanor, yr hon oedd y pryd hyny yn feichiog, i ddeisyf arni ddyfod yn union-gyrch i Gymru. Er ei bod yn nyfnder y gauaf, y frenhines a frysiodd, ac a ddaeth ar geffyl yn ddioed i Gaernarfon. Pan ddaeth yr amser oddi amgylch i'r frenhines i esgor, y brenin a anfonodd at bendefigion Cymru i'w gyfarfod ef yn Ruthlan, i ystyried achosion eu gwlad. Gwedi dyfod i Ruthlan, Edward a oedodd alw pendefigion Cymru i'r cyngor, nes iddo glywed fod y frenhines wedi esgor ar fab. Yna gwedi clywed fod ganddo fab wedi ei eni yn nghastell Caernarfon, efe a alwodd bendefigion Cymru ynghyd, ac a ddywedodd wrthynt, Yn gymmaint a'u bod hwy

CANT XIII.

Anfoddlonrwydd y Cymry.

Brenhines Lloegr yn dyfod i Gaernarfon.

CANT XIII. hwy gwedi dymuno arno yn fynych i roddi iddynt lywodraethwr, y byddai iddo ganiatau iddynt eu dymuniad, os addawent hwy roddi ufudd-dod i'r gwr a enwai efe. Y Cymry a attebasant, eu bod hwy yn cydsynio â'r cynnygiad, os oedd y gwr yn Gymro genedigol. Y brenin a ddywedodd fod y tywysog ag oedd efe yn fwriadu iddynt, wedi ei eni yn eu gwlad eu hun, nad allasai efe lafaru dim Saesneg, a bod ei fywyd yn ddifai. Pendefigion Cymru, heb ganfod y dichell, a gydsyniasant i dderbyn y cyfryw un yn llywodraethwr arnynt. Yna y brenin, wedi cael eu cydsyniad, a ddywedodd wrthynt mai Edward, ei fab bychan, ag oedd wedi ei eni ychydig o ddyddiau cyn hyny yn nghastell Caernarfon, oedd i fod yn dywysog arnynt o hyny allan. Pendefigion Cymru, gwedi eu dala yn y fagl, a gysurasant eu hunain â'r gobaith y buasai i'w tywysog ieuangc, fel Cymro genedigol, i breswylio yn eu gwlad. Edward, wedi y pethau hyn, a ymadawodd o Wynedd; ac wedi tramwyo trwy y Deheu-barth, a gosod pob peth mewn trefn, a ddychwelodd i Lundain.[a]

Dichell Edward.

Gwiriondeb y Cymry.

O. C. 1284.

Llawer a dybiant i'r brenin Edward, y pryd hyn, ladd holl feirdd Cymru, ond gan nad oes enw dim un a laddwyd ganddo mewn cof-lyfr, a bod llawer o feirdd yn byw yn Nghymru ar ddiwedd y cant hwn, a dechreu yr un nesaf, mae yn

fwy

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. II. p. 318—323.

CANT XIII.

fwy tebygol mai y weithred a wnaeth Edward, oedd symud ymaith yr ymgeledd hyny ag oedd beirdd Cymru yn ei gael gan eu tywysogion, a thân ba un yr oeddent yn meithrin coel-grefydd eu hynafiaid, er gwaradwydd i dywysogion eu gwlad.[a]

Beirdd Cymru yn y cant hwn.

Yr oedd y Beirdd canlynol yn enwog y'mhlith y Cymry yn y cant hwn; ac y mae peth o'u hysgrifenadau mewn bod hyd heddyw.[*] Einion Wan, Einion ab Gwgan, Philip Brydydd, Bleddin Fardd, Casnodyn, Dafydd Benfras, Gruffydd ab Gwrgeneu, Llygad Gwr, Llywarch ab Llywelyn, Einion ab Madog, Llywelyn Fardd, Hywel Foel, Gruffydd ab yr Ynad Coch, Edeyrn Dafod Aur, Llywelyn Brydydd Hodnant, Llywarch Llaety, a Llywelyn Ddu.[b]

Edward yn bwriadu trethu y Cymry. O. C. 1290.

Pan oedd Edward, brenin Lloegr, yn myned i ryfela â brenin Ffraingc, efe a gafodd gynnorthwy helaeth gan ei ddeiliaid, y Saeson; ac fel ag yr oedd y Cymry yn awr dan ei lywodraeth, efe a wnaeth gynnyg i'w trethu hwythau hefyd. Ac i'r dyben hyn, efe a anfonodd Roger de Puleston i godi y pymthegfed rhan o foddion y Cymry i'r dyben i'w gynnorthwyo i ddwyn y rhyfel bwriadol yn mlaen. Y Cymry, yn ang-



[a] Davies's Myth. p. 25.

[*] Yn yr Archaiology of Wales.

[b] Camb. Biog.

CANT XIII.



hynnefin â llywodraeth estronol, ac yn anewyllysgar i ffurfio siampl i ardrethiad o'r un natur mewn amser i ddyfod, a wrthodasant i dalu y dreth newydd hon, a chyfododd tri gwrthryfel, mewn gwahanol fanau yn Nghymru, yn agos at yr un amser, mewn canlyniad i'r ymddygiad hyn o eiddo y brenin.

Y Cymry yn gwrthryfela.

Maelgwn Fychan, pendefig o sir Benfro, yn nghyd â thrigolion y wlad honno, a godasant yn erbyn y Saeson, ac a anrheithiasant sir Benfro, a sir Aberteifi. Morgan, hefyd, un o hiliogaeth hen arglwyddi Morganwg, yn nghyd â thrigolion y wlad honno, a wrthryfelasant; a chwedi gyru iarll Caerloyw o'i diriogaethau, cafodd Morgan ei adferyd i etifeddiaeth ei hynafiaid. Madog, mab basdarddaidd yr enwog Llywelyn, oedd yn flaenor ar y gwrthryfelwyr yn Ngwynedd. Gwedi penderfynu i amddiffyn eu rhagorfreintiau gwladol, y Cymry a ddaliasant Roger de Puleston, a rhai ag oedd gydâg ef yn casglu y dreth, ac a dorasant eu penau hwynt. Madog hefyd a aeth i Gaernarfon, a phan oedd y ddinas yn llawn o Saeson, ar ddiwrnod ffair, efe a ruthrodd arnynt, a chwedi eu lladd hwynt oll, efe a osododd y ddinas ar dân. Ennillodd hefyd amddiffynfa Eryri, ac yn mhen ychydig o amser gwedi hyny, cafodd feddiant o holl sir Fôn.[a]

Y Cymry yn dihenyddio Roger de Puleston, a'i gymdeithion.

Pan

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. II. p. 332—335.

Pan welodd Edward fod gwrthryfel y Cymry yn debygol i fod yn niweidiol i'w deyrnas, efe a benderfynodd i oedi myned i ryfela â'r Ffrangcod; ac a alwodd yn ol ei luodd ag oedd yn barod i hwylio dan awdurdod iarll Lancaster, ei frawd, a Harry Lacie, arglwydd Dinbych. Harry Lacie, yn ewyllysio amddiffyn castell Dinbych, a frysiodd o flaen y brenin i ogledd Cymru; ond y Cymry a ymwrolasant, ac a'i gorchfygasant ef: ond ni bu trigolion sir Benfro mor llwyddiannus. Y Saeson a gymmerasant Maelgwn Fychan, eu harweinydd hwynt, yn garcharor; a chwedi ei ddwyn ef i Henffordd, a'i gosodasant ef i farwolaeth Morgan hefyd a gafodd ei orchfygu gan iarll Warwick, a chwedi rhoddi gwystl o'i ffyddlondeb, cafodd ei dderbyn i heddwch y brenin. Yr oedd y brenin ei hun, y pryd hyn, gwedi dyfod i Ddeheu-barth Cymru; a chwedi iddo gael ei siomi yn ngwyr sir Aberteifi, am na ddilynasant siampl gwyr Morganwg, a chael ei dwyllo gan abad Ystrad-fflur, efe a losgodd y Fynachlog honno â thân.[a] Ond efe a roddodd gwedi hyny ddeunaw punt a thri ugain i'w adgyweirio hi.

CANT XIII.

Edward yn oedi myned i ryfela â'r Ffrangcod.

Y Saeson yn gorchfygu Maelgwn Fychan, a Morgan.

Edward yn llosgi Ystrad-fflur.

Gwedi darostwng y terfysgiadau yn Neheubarth Cymru, Edward a aeth i Wynedd; ac wedi hir ryfela â thrigolion y wlad honno, a chael ei waredu oddiwrth lawer o beryglon, efe

 a orch-

[a] Warrington's Hist. Wales, Vol. II. p. 335—338.

CANT XIII.

Carcharu Madog.

a orchfygodd ei holl elynion, ac a ddychwelodd i Loegr. Madog, wedi ei gymmeryd yn garcharor, a gafodd ei anfon i Lundain, a'r brenin a'i condemniodd ef i garchariad oestadol yn y Tŵr.

Yn ol hyn, penaethiaid y Cymry a ymostyngasant i frenin Lloegr, ac efe a'u derbyniodd hwy i'w ffafr heb gospi neb; ac a roddodd i etifeddion y gwrthryfelwyr yr etifeddiaethau ag oeddent gwedi eu colli. Ond rhag ofn i'w gymhedroldeb ef yn hyn fod yn achlysur iddynt i wrthryfela drachefn, efe a sicrhaodd wrthynt, y byddai iddo lwyr ddyfetha eu cenedl, os anturient i wrthwynebu ei awdurdod ef mwy. Y rhai mwyaf enwog o bendefigion Cymru a gawsant eu cadw mewn gwabanol gastellydd yn Lloegr, tra fu y brenin yn rhyfela yn Scotland. Cafodd rhai o honynt eu cadw yn Nhŵr Llundain; ac, i ddifyru eu meddyliau yn eu caethiwed, anfonasant am ysgrifenadau yr hen Gymry, i'w darllen; ac felly daeth Tŵr Llundain, mewn amser, i fod yn brifystorfa dysgeidiaeth Cymraeg. Llosgwyd y casgliad gwerthfawr hwn, gwedi hyny, gan un Scolan, yr hwn sydd yn adnabyddus i'r byd, yn unig fel gwneuthurwr y weithred waradwyddus hon, a barodd gymmaint colled i'r Cymry.*

Scolan yn llosgi ysgrifenadau y Cymry.

Scolan.

Pan fu farw Thomas Beck, esgob Tŷ Ddewi, Dafydd Martyn, un o ganonwyr y lle hwnw, a ddewiswyd

Dafydd Martyn, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1293.

* Warrington's Hist. Wales, Vol. II. p. 338—344.

CANT XIII.

ddewiswyd yn esgob yn ei le ef. Dyma y gwr a adeiladodd gappel Mair, neu gappel esgob Martyn, yr hwn sydd yn y pen-dwyreiniol o'r eglwys gadeiriol. Yr un flwyddyn ag y cyssegrwyd Dafydd Martyn, yn Nhŷ Ddewi, y cafodd Leoline ei ddewis i fod yn esgob St. Asaph, yn lle Einion yr ail. Yr oedd Leoline yn ŵr haelionus, ac a fu yn offerynol i ddwyn pethau i well trefn yn esgobaeth St. Asaph nag yr oeddent o'r blaen. Tair blynedd yn ol hyn, y cafodd John o Dref Fynwy ei gyssegru yn esgob Llandaf. Dywedir fod y gwr hwn yn llywodraethwr da, ac iddo fod yn gymmwynasgar iawn i'r esgobaeth.[a] Ond pa rinweddau bynnag a allasai fod yn rhai o esgobion Cymru y pryd hyn, yr oeddent oll yn babyddion yn eu barn, ac yn rhoddi ufudd-dod i esgob Rhufain yn mhob peth. Ac yr oedd yr holl eglwysi gwedi eu gorchuddio gan dywyllwch pabyddiaeth i'r fath raddau, fel y galwyd y cant hwn, Y cant canol nos.

y cant canol nos.

[a] Brown Willis.

Y PED-

# Y PEDWERYDD CANT AR DDEG.

CANT XIV.

TRA yr oedd Edward y cyntaf, brenin Lloegr, yn rhyfela â'r Scotiaid, efe a glefychodd yn Carlisle, a phan ddeallodd fod amser ei ymddattodiad yn nesau, efe a anfonodd am ei fab Edward o Gaernarfon, tywysog Cymru, ac a orchymmynodd iddo ddwyn yn mlaen y rhyfel, nes iddo lwyr ddarostwng y Scotiaid; ac hefyd iddo fod yn sicr i anfon ei galon ef i wlad Canaan, yn nghyd â'r deuddeg mil ar hugain o bunnau ag oedd ef gwedi ddarparu at gynhaliaeth y bedd sanctaidd yn Jerusalem.* Gwedi y pethau hyn, Edward y cyntaf a fu farw, yn wyth a thri ugain oed, ac a gladdwyd yn abatty Westminster; a'i fab Edward, tywysog Cymru, a deyrnasodd yn ei le ef.[a]

Coel-grefydd a marwolaeth Edward y cyntaf. O. C. 1307.

Yr oedd pob peth yn dawel yn y wlad hon pan ddaeth Edward yr ail i orsedd Lloegr; ac nid ymddengys fod neb etto yn mhlith cristianogion Cymru, yn gweled yr angenrheidrwydd o gael

* Yr oedd Edward gwedi bod yn rhyfela â'r Mahometaniaid yn ngwlad Canaan, ac yn fywiog iawn dros ryfeloedd y groes.

[a] Rapin's Hist. England.

gael eu gwaredu o'r tywyllwch mawr ag oedd-ent yn gorwedd ynddo. CANT. XIV.

Anian, gwedi bod yn esgob Bangor dair blynedd ar ddeg ar hugain, a diwygio llawer ar yr esgobaeth, a fu farw yn llawn o ddyddiau, a Gruffydd ab Iorwerth a ddewiswyd yn esgob yn ei le ef. Bu Gruffydd ab Iorwerth farw yn mhen tair blynedd gwedi dyfod i Fangor; ac un Anian Seys, yr hwn oedd gwedi bod yn ganon ac yn ddëon yn Mangor, ac yn arch-diacon sir Fôn, a gyssegrwyd yn esgob yn ei le.[a] Yn amser yr esgob hwn, John Grey, arglwydd cantref Dyffryn Clwyd, a welodd yn gymmwys i wneuthur cappel Rhuthin yn eglwys golegol a phlwyfol, a saith offeiriad, o leiaf, i gyflawni y gwasanaeth cyffredin ynthi, ac i fyw yn nghyd ar yr ardreth a roddid iddynt ganddo ef, a gwyr defosiynol ereill.[b]

Marwolaeth Anian. O. C. 1309. O. C. 1310.

Ar farwolaeth Leoline o St. Asaph, un Dafydd ab Bleddin, canon y lle hwnw, a wnaethpwyd yn esgob yn ei le ef. Yn amser yr esgob hwn, y cyfansoddwyd llyfr yn cynnwys hanes gweithredoedd esgobion St. Asaph. Pan symudodd angeu John o Dref Fynwy i fyd arall, John de Eclescliff, esgob Cannor, yn yr Iwerddon, a drosglwyddwyd, trwy orchymmyn y Pab, i Landaf.[c]

Marwolaeth Leoline. O. C. 1314. Marwolaeth John o Drefynwy. O. C. 1323.

Harry

[a] Brown Willis. [b] Dugdale's Monast. Vol. I. p. 351.
[c] Brown Willis.

CANT. XIV.

Harry Gower, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1328.

Harry Gower, arch-diacon Tŷ Ddewi, yr hwn a ddygasid i fynu yn Rhydychen, a gyssegrwyd yn esgob y lle hwnw, ar farwolaeth Dafydd Martyn. Dywedir fod Harry Gower yn gang-hellwr Lloegr, ac mai efe a adeiladodd lys yr esgobion yn Nhŷ Ddewi, yn nghyd â chastell Abertawy. Y flwyddyn y daeth Harry Gower i esgobaeth Tŷ Ddewi y cyssegrwyd Madog ab Iorwerth ab Cirid, yn esgob Bangor, yn lle Anian Seys.[a]

John Pascal, D.D. esgob Llandaf. O. C. 1347.

Pan fu farw John de Eclescliff, esgob Llandaf, John Pascal, D. D. yr hwn oedd yn ŵr dysgedig iawn, a wnaethpwyd yn esgob yn ei le ef. Yr un flwyddyn hefyd y gwnaethpwyd John Trefawr, L. L. B. yn esgob St. Asaph yn lle Dafydd ab Bleddin. Ar farwolaeth John Trefawr, bu dadl rhwng tywysog Cymru ag arch-esgob Canterbury, yn nghylch cyflwyniad personaethau yn esgobaeth St. Asaph. Allan o chwech ugain a deg, yr oedd chwech ugain a thri o bersonaethau y pryd hyny, fel yn bresennol, yn nawdd yr esgobaeth, ac yn perthyn i arch-esgob Canterbury, pan fyddent yn wag. Hyd amser Harry yr wythfed, yr oedd arch-esgobion Canterbury, ar farwolaeth pob esgob, yn honni hawl yn y ceffylau goreu, a'r seliau a'r modrwyau a fyddai ganddynt. Ac yr oedd esgobion Cymru, hefyd, hyd amser Siors y cyntaf, ar

[a] Brown Willis.

ar farwolaeth offeiriad ag oedd â phersonaeth ganddo, yn honni hawl i ran o'i feddiannau goreu ef.[a] CANT XIV.

Yn nghylch yr amser hyn, William Breton oedd ŵr enwog iawn, fel ysgolhaig a difeinydd, yn mhlith y Cymry. Efe a ysgrifenodd lawer o lyfrau, ond ei ben-gorchwyl ef oedd ei Esponiad o'r holl eiriau anhawdd yn y Bibl. Yr oedd y llyfr hwn yn y fath gymmeriad, mae yn debygol, yn yr oesoedd canlynol, fel yr appeliodd Standish, esgob St. Asaph, atto, yn y ddadl a fu rhyngddo ef ac Erasmus, yn nghylch dehongliad rhan o'r ysgrythyr.[b] *

William Breton. O. C. 1350.

X x Thomas

[a] Brown Willis. [b] English Worthies.

* Dywedir i Gonstantine fawr orchymmyn i'r Bibl gael ei ysgrifenu, a'i anfon i bob rhan o'r ymerodraeth, yn ol y difrod a fu ar yr ysgrythurau yn amser erledigaeth Dioclesian; ac y mae yn naturiol i feddwl na adawodd efe ddim o'i gydwladwyr, y Cymry, fod heb yr ysgrythurau yn eu hiaith eu hun. Nid annhebygol yw, fod y Bibl yn mhlith y Cymry yn y iaith Gymraeg, o amser Constantine, os nid o amser yr apostolion, hyd amser y diwygiad; ond iddo gael ei guddio oddiwrth y bobl gyffredin yn amser pabyddiaeth. Y mae Dr. Gill, wrth brofi gwirionedd 1 Ioan v, 7. yr hwn y mae rhai yn ei ammau, yn dywedyd, na fu un ddadl yn nghylch gwirionedd yr adnod honno, hyd oni adawodd Erasmus hi allan o'i argraphiad cyntaf o'i gyfieithad o'r Testament Newydd; ond iddo ef ei gosod yn yr ail argraffiad, ar awdurdod hen ad-ysgrifen Gymraeg o'r Bibl. Pan ddaeth argraffiad cyntaf Erasmus allan, Standish, esgob St. Asaph, a ysgrifenodd yn ei erbyn ef, ac fe debygid mai yr hen ad-ysgrifen Gymraeg a grybwyllir gan Dr. Gill oedd llyfr William Breton.

CANT XIV.

Thomas Ringstede, esgob Bangor. O. C. 1357.

Thomas Ringstede, gwr dysgedig iawn ag oedd gwedi bod yn Ffrainge a'r Ital, ac mewn cymmeriad mawr gan y Pab a'r brenin, a ddewiswyd yn esgob Bangor, ar farwolaeth Madog ab Iorwerth. Fe adawodd yr esgob hwn yn ei ewyllys, gan' punt i'w eglwys gadeiriol, deugain punt i brynu gwisgoedd mewn plwyfau tlodion, ac ugain punt at gynnorthwyo ysgolheigion tlodion yn mhrif-athrofa Cambridge. Yr un flwyddyn ag yr aeth Thomas Ringstede i Fangor, y gwnaethpwyd Llywelyn ab Madog ab Elis, yn esgob yn St. Asaph, yn lle John Trefawr.[a]

Gwrthryfel Sir Gruffydd Llwyd. O. C. 1360.

Yn amser Edward y trydydd, Sir Gruffydd Llwyd, pendefig o sir Gaernarfon, yn anfoddlon i lywodraeth y Saeson, a wrthryfelodd yn eu herbyn hwynt; a chwedi ymdrechu â hwynt dros ryw amser, efe a gafodd ei gymmeryd yn garcharor, a'i gaethiwo yn Ruthlan; ac o'r diwedd cafodd ei osod i farwolaeth.[b]

Y flwyddyn ar ol y gwrthryfel hwn, cafodd Roger Cradock ei gyssegru yn esgob yn Llandaf, yn lle John Pascal, D. D. ac Adam Hutton, L. L. D. yn esgob Tŷ Ddewi yn lle Thomas Fastolf, L. L. D. Adam Hutton, pan oedd yn Nhŷ Ddewi, a adeiladodd frawdoliaeth St. Mair, yn agos i'r eglwys gadeiriol, ac a roddodd gant

punt

[a] Brown Willis. [b] Camb. Biog.

punt y flwyddyn i'w gynnal. Gosododd hefyd saith cydymaith yn y frawdoliaeth hwnw, a thŷ i bob un o honynt; a rhwymodd hwynt i addoli yn yr eglwys gadeiriol, ar bob sabbath, a phob dydd gŵyl.*

CANT XIV.

Yn yr amser tywyll a llygredig hwn, pan oedd crist'nogion y wlad hon yn myned ymlaen yn eu hanwybodaeth, ac yn cymmeryd eu harwain yn wirfoddol gan yr offeiriaid pabaidd, gwelodd Duw fod yn dda i beri i seren foreu y diwygiad ymddangos yn Lloegr. John Wicliff, yr hwn a ddygasid i fynu yn mhrif-athrofa Rhydychen, ac oblegid ei gynheddfau cryfion, ei ddysgeidiaeth helaeth, a'i dduwioldeb pur, a ddewisasid i fod yn athraw difinyddiaeth yn yr athrofa honno, a ddechreuodd y pryd hyn, mewn modd cyhoeddus, i ddynoethu a gwrthwynebu cyfeiliornadau a llygredigaethau pabyddiaeth. Pan welodd y mynachod, a'r offeiriaid pabaidd, fod Dr. Wicliff yn llwyddo, hwy a gytunasant i'w erlid ef gydâ yr egni mwyaf; a chwedi cael awdurdod gan y Pab, hwy a'i troisant ef allan o'i swydd yn Rhydychen. Onder cymmaint oedd eu gelyniaeth yn ei erbyn, nid oeddent yn abl i'w rwystro ef i bregethu yno ar ryw amserau, dros flynyddau lawer gwedi hyny. Dr. Wicliff, gwedi ei droi allan o athrofa Rhydychen, a gafodd bersonaeth Lutterworth,

John Wicliff yn dechreu gwrthwynebu pabyddiaeth. O. C. 1369.



* Brown Willis.

CANT XIV. worth, yn Leicestershire, lle y bu hyd ddydd ei farwolaeth.

Daliadau Wicliff. Yr oedd Dr. Wickliff, yn ei bregethau, a'i ysgrifenadau, yn amddiffyn yr egwyddorion canlynol: 'Nad yw y bara a'r gwin gwedi eu 'cyssegru gan yr offeiriad yn swper yr Arglwydd, ddim yn wir gorph a gwaed Crist, ond 'arwyddion yn unig; nad yw eglwys Rhufain 'ddim yn fwy yn ben i'r eglwys gyffredinol, nâ 'rhyw eglwys arall, ac na roddwyd dim mwy o 'awdurdod i'r apostol Pedr nag i ryw un o'r ap'ostolion ereill; nad oes dim mwy o awdurdod 'gan esgob Rhufain i arferyd yr agoriadau, nâ 'rhyw esgob arall; mai yr ysgrythyr yw unig 'reol ffydd ac ymarweddiad; fod yr eglwys yn 'ymddibynol ar y llywodraeth; y dylai yr eg'lwys gael ei diwygio gan y llywodraeth; na 'ddylai yr offeiriaid feddiannu etifeddiaethau; 'fod defodau lluosog yr eglwys yn niweidiol i 'wir dduwioldeb; fod llwon yn anghyfreithlon; 'fod pawb gwedi eu harfaethu, naill ai i dded'wyddwch, neu i drueni.'

Llwyddiant athrawiaethau Wicliff. Pan wnaeth Dr. Wicliff yr egwyddorion hyn yn gyhoeddus, cawsant eu cofleidio yn awyddus gan lawer iawn, nid yn unig o astudwyr Rhydychen, ond o wyr y llys hefyd; yn neillduol gan y duc o Lancaster,* ac arglwydd Percy. Y Pab, gwedi

* Yr hwn oedd fab i Edward y trydydd, ac a elwir yn gyffredin, John o Gaunt.

gwedi clywed fod yr athrawiaethau hyn yn cael eu cofleidio yn Rhydychen, a anfonodd at arch-esgob Canterbury, ac esgob Llundain, i ddal a holi Dr. Wicliff y'nghylch y pethau hyn, ac anfon y dystiolaeth iddo ef i Rhufain. Er cymmaint oedd sel y pabyddion, gan fod y duc o Lancaster, ac arglwydd Percy, yn dywedyd yn gyhoeddus, na ddyoddefent hwy ddim i Dr. Wicliff gael ei garcharu, ni feiddiai yr arch-esgob, ac esgob Llundain, gyflawni dymuniad y Pab i'r helaethrwydd yr oeddent yn ewyllysio. Buont foddlon gan hyny i'w alw ef ger eu bron i eglwys St. Paul, ac i'w holi ef yno, a lluaws mawr o bobl a ddaethant yn nghyd, i glywed yr holiad. Duc o Lancaster, ac arglwydd Percy, a aethant gydâ Dr. Wicliff i St. Paul, ac a sicrhausant nad oedd un perygl yn ei aros, ac y gallasai efe amddiffyn ei hun gydâ y gwroldeb mwyaf yn erbyn dynion ag oedd cyn gymmaint llai eu gwybodaeth nag ef. Gwedi myned i St. Paul, arglwydd Percy a orchymmynodd i Dr. Wicliff i eistedd,* ond esgob Llundain a'i gwrthwynebodd, ac a ddywedodd fod yn rhaid iddo sefyll, i gael ei holi. Ar hyn cyfododd y fath ddadl rhwng esgob Llundain a'r ddau bendefig, fel y cafodd holiad Dr. Wicliff ei oedi hyd amser arall, ac aeth pob un i'w ffordd ei hun.

CANT XIV.

Y Pab yn anfon i ddal Wicliff.

Wicliff yn myned i St. Paul i gael ei holi.

Y Pab, yn gweled nad oedd ei orchymmyn ef ddim

* Yr oedd Percy yn ben-swyddog.

CANT XIV.

Gelyniaeth y Pab yn erbyn Wicliff.

ddim yn cael yr effaith ag oedd yn ddymuno, a anfonodd drachefn at yr arch-esgob, ac esgob Llundain, yn nghyd âg at benaethiaid yr athrofa yn Rhydychen, i orchymmyn iddynt i garcharu Dr. Wicliff, os ydoedd yn dal yr athrawiaethau a grybwyllwyd; ond os nad allent wneuthur hyny, i'w wysio ef i ymddangos, cyn pen tri mis, o'i flaen ef yn Rhufain. A chan na allasent wneuthur ond ychydig yn y gorchwyl hwn, heb gennad y brenin, gorchymmynodd iddynt ddangos i'r brenin, a'i gyngor, fod cyfeiliornadau Dr. Wicliff yn beryglus, nid yn unig i grefydd, ond hefyd i'r llywodraeth. Ond nid oedd y brenin, na'i gyngor, na'r senedd, na phenaethiaid athrofa Rhydychen, o'r un meddwl a'r Pab yn nghylch Dr. Wicliff, a'i ddaliadau, y pryd hyny; a chafodd ei orchymmyn pabaidd ei ddirmygu ganddynt.* Ond pa anmharch bynnag a ddangosodd y brenin, ac athrofa Rhydychen, i orchymmyn y Pab, yr esgobion a wnaethant ddigonol iawn iddo, trwy eu sel i gyflawni ei ewyllys drahaus.

Gorchymmyn y Pab yn cael ei ddirmygu.

Anfonasant at Dr. Wicliff i ymddangos yr ail waith o'u blaen hwynt, mewn cymmanfa, yn Nghappel Lambeth. Ar y dydd gosodedig, Dr. Wicliff a aeth yno, ac a eglurodd iddynt pa fodd yr oedd yn dyall yr egwyddorion, am ba rai yr oedd wedi ei alw ger eu bron hwynt. Tra yr oedd

Dr. Wicliff yn ymddangos o flaen cymmanfa Lambeth.

* Yr oedd y Saeson, rai troion cyn hyn, gwedi gwrthwynebu gorthrymdrethi y Pab; ond dyma y tro cyntaf y dirmygasant ei awdurdod ef.

oedd yr esgobion yn ystyried cyfaddefiad Dr. Wicliff, Sir Lewis Clifford a aeth i mewn attynt, ac a orchymmynodd iddynt, mewn dull awdurdodol, i beidio myned yn mhellach yn mlaen. Yr esgobion, yn tybied fod gan Clifford awdurdod i ddywedyd felly, ac yn ofni y lliaws ag oedd oddi amgylch iddynt, a ollyngasant Dr. Wicliff ymaith, gwedi iddynt orchymmyn iddo beidio hudo y bobl mwy â'i athrawiaethau peryglus. Ond ni ddangosodd Dr. Wicliff un math o barch i'w gwaharddiad hwynt, canys efe a aeth oddi amgylch yn droednoeth, a gŵn hir o frethyn blewog am dano, i bregethu'r efengyl i bawb yn achlysurol, ac yn ddibaid yn ei blwyf ei hun.*

CANT XIV.

Gwaredigaeth a sel Dr. Wicliff.

Yr oedd Dr. Wicliff gwedi bod, er ys llawer o amser, o'r farn fod cadw yr ysgrythurau mewn iaith nad oedd y bobl gyffredin yn ei deall, yn un o gyfeiliornadau penaf pabyddiaeth. Wedi'r pethau hyn, gan hyny, efe a benderfynodd i ddwyn yr ysgrythurau o'u caethiwed, trwy eu cyfieithu i'r iaith Saesneg. Cyn gynted ag yr ymddangosodd yr ysgrythurau yn y iaith Saesneg, yr esgobion a'r abadau a wnaethant eu gorau i rwystro iddynt ymdaenu, gan feddwl y buasai y Bibl, yn y iaith Saesneg, yn foddion i agor drws i gyfeiliornadau, ac yn ddystryw i grefydd; ac wedi ymgynghori, hwy a ddeisyfasant ar y senedd i ostegu Bibl

Dr. Wicliff yn cyfieithu yr ysgrythurau.

* Y mae peth o'i areithfa ef i'w weled yn Lutterworth hyd heddyw.

CANT XIV.



Bibl Wicliff! Ond cyfeillion y diwygiad a'u gwrthwynebasant â'u harfau eu hunain, a thaflwyd eu deisyfiad pechadurus allan o'r senedd. Bu sel yr esgobion i lethu Bibl Dr. Wicliff, yn foddion i greu mwy o ymofyniad am dano, ac i daenu yr ysgrythurau yn fwy helaeth trwy y wlad.

Pan welodd yr esgobion mai llwyddo yr oedd Dr. Wicliff, ac nad allasent hwy wneuthur dim niwed i'w berson, hwy a benderfynasant i fyned yn mlaen yn erbyn ei ddaliadau; ac mewn amser hwy a lwyddasant mewn mesur, ac a farnasant ei egwyddorion ef yn gyfeiliornus. Yn mhen ychydig o amser gwedi y pethau hyn, bu Dr. Wicliff farw yn dangnefeddus yn ei wely, yn Lutterworth, ac efe yn nghylch tri ugain mlwydd oed,* ac a adawodd lawer o ddilynwyr ar ei ol.[a]

Marwolaeth Dr. Wicliff. O. C. 1384.

Wicliffiaid, neu Lolardiaid,† y gelwid dilynwyr

Lolardiaid.

* John Wicliff a anwyd yn ngogledd Lloegr yn nghylch y flwyddyn 1324, ac a fu farw yn y flwyddyn 1384. Mewn canlyniad i ddeddf a wnaethpwyd gan gymmanfa Constance yn y flwyddyn 1416, esgyrn Wicliff a godwyd i fynu, ac a losgwyd; gwaharddwyd ei lyfrau ef hefyd, a'i goffadwriaeth a waradwyddwyd â heresi enllibus. Ond bu y pethau hyn, mewn canlyniad, yn foddion i ddwyn yn mlaen yr achos gogoneddus ag oedd Wicliff gwedi briodi; a rhoddwyd iddo yr enw anrhydeddus hwn, sef, Seren Foreu y Diwygiad. Evan's Sketch.

[a] Gilpin's Life of Wicliff. Rapin's Hist. Eng. Vol. I.

† Lolardiaid oedd yr enw mwyaf cyffredin.

wyr Wicliff yr amser hyny, ac yr oedd lluaws o honynt, mewn amrywiol fanau, pan fu farw y gwr enwog hwnw. Ni bu marwolaeth eu hathraw yn achos i'r Lolardiaid i laesu dwylaw; ond gan eu bod yn gwybod fod eu hachos yn dda, hwy a ymwrolasant, a chynhyddasant i raddau helaeth, er cymmaint o wrthwynebiad oedd iddynt gan y pabyddion. Yr oedd rhai o'r Cymry y pryd hyn yn athrofa Rhydychen, a chafodd athrawiaeth Wicliff ei dwyn gydâ hwynt i Gymru, er mor wyliadwrus oedd yr esgobion yn ei herbyn. Yn mhlith y rhai a gyhoeddasant athrawiaeth Wicliff y pryd hyn yn Nghymru, y mae gennym hanes neillduol am y duwiol a'r dysgedig Walter Brute. Yr oedd Walter Brute yn ŵr o radd gyfrifol, ac wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen; ac er nad oedd yn offeiriad, dywedir ei fod yn myned oddi amgylch, i addysgu ac hyfforddi pendifigion a chyffredin yn mhlith y Cymry, yn y pethau a berthynent i'w hiachawdwriaeth dragywyddol. Mewn canlyniad i hyn, cafodd ei gyhuddo yn fynych gan ei wrthwynebwyr o flaen arch-esgob Canterbury, ac esgob Henffordd, a'i wysio i ymddangos ger eu bron, i atteb i'r achwyniadau a ddygid yn ei erbyn gan ei elynion. Ond nid oedd y pethau hyn yn ei ddigaloni; ac nid oedd ei einioes ei hun yn werthfawr yn ei olwg, ond iddo gael y fraint o fod yn ddefnyddiol yn ei oes, a gorphen ei yrfa trwy lawenydd.

Walter Brute.

CANT. XIV.

Walter Brute yn cael el erlid.

Pan welodd y pabyddion nad oedd Walter Brute yn rhoddi heibio i addysgu y bobl yn y pethau a gyfrifid yn gyfeiliornus gan eglwys Rhufain, ac esgobion Cymru, llidiasant yn ei erbyn ef, a chafodd ei wysio drachefn i ymddangos ger bron esgob Henffordd, a thystion lawer a brofasant ei fod, mewn amrywiol fanau, yn addysgu y bobl yn y pethau canlynol: 'Nad yw y 'bara a'r gwin gwedi eu cyssegru gan yr offeir-'iaid yn swper yr Arglwydd, ddim yn wir gorph 'a gwaed Crist; nad oes dim rhwymau ar un 'dyn i dalu degwm; nad oes dim awdurdod gan 'y Pab i faddeu pechod neb; mai anghrist yw y 'Pab, a'i fod yn twyllo y bobl; a bod llwon yn 'anghyfreithlawn.'

Barn Walter Brute.

Walter Brute yn amddiffyn ei hun.

Walter Brute, yn hyddysg yn yr ysgrythurau, ac yn gadarn yn y ffydd, a ysgrifenodd ei amddiffyniad, ac a'i rhoddodd i'r esgob. Yn yr amddiffyniad hwnw, y mae yn dywedyd mai Cymro ydoedd, ac os oedd neb yn abl i ddangos trwy yr ysgrythurau, ei fod yn cyfeiliorni yn yr athrawiaethau ag oedd ef yn addysgu, y derbyniai efe eu haddysg gydâ gostyngeiddrwydd a llawenydd; ond na roddai efe ddim coel i eiriau dynion na fyddent gwedi eu sylfaenu ar yr ysgrythur. Gwedi hyny y mae yn rhoddi cyffes o'i ffydd, ac yn dywedyd fod Crist yn Dduw ac yn ddyn, iddo farw yn aberth dros bechod, ac mai efe yw unig frenin, offeiriad, a phrophwyd ei eglwys.

Yn

Yn ddiweddaf, y mae yn dangos mai anghrist yw y Pab; a bod pabyddiaeth yn groes i'r ysgrythurau; ac nad oedd arno ef ddim ofn dyoddef dros y gwirionedd. CANT XIV.

Yr esgob, gwedi darllen amddiffyniad Walter Brute, ac yn anabl i'w wrthbrofi, a ddywedodd wrtho, fod yr ysgrifen honno yn fyr ac yn dywyll, ac oblegid hyny, ei fod yn deisyf arno i'w ysgrifenu mewn modd mwy eglur a helaeth. Walter Brute, yn caru y gwirionedd, ac yn hoffi i'w amddiffyn, a gyd-agweddodd â deisyfiad yr esgob gydâ y parodrwydd mwyaf, ac a ysgrifenodd ei farn ar y pethau ag oedd ef yn amrywio oddiwrth y pabyddion, mewn dull ysgrythurol, eglur, gwrol, a helaeth. Yr esgob, gwedi cael yr ail ysgrifen, a bennododd amser drachefn i Walter Brute i ymddangos ger ei fron ef yn Henffordd. Ar y dydd gosodedig, Walter Brute a ymddangosodd yn yr eglwys gadeiriol yn Henffordd, lle yr oedd llawer o esgobion, abadau, mynachod, a boneddigion ereill, gwedi dyfod yn nghyd i gynnorthwyo esgob y lle, yn y gorchwyl oedd ganddo yn llaw. Gwedi treulio tri diwrnod i ddarllen a chwilio amddiffyniad Walter Brute, penderfynasant, o'r diwedd, ei bod yn cynnwys llawer o gyfeiliornadau dinystriol; a barnasant Walter Brute yn euog o gyfeiliornad a heresi, a gorfu arno ymostwng. Nid ymddengys beth a ddaeth o Walter Brute yn ol hyn, ond

Walter Brute yn cael ei farnu yn euog o heresi. O. C. 1393.

CANT XIV.

ond y mae yn ddigon tebyg iddo ddiangc y tro hwnw drachefn.[a]

Meddygon Myddfai.

Ychydig o amser cyn hyn, yr oedd Philip Feddyg, o Fyddfai, yn sir Gaerfyrddin, yn ei flodau. Yr oedd Philip Feddyg yn ŵr enwog, ac yn un o hiliogaeth Rhiwallon, yr hwn oedd feddyg yn Myddfai, yn nechreuad y cant diweddaf; ac mewn cyssylltiad â'i dri mab Cadwgan, Gruffydd, ac Einion, a ysgrifenodd draethawd ar Feddyginiaeth, fel ag yr oedd yn adnabyddus iddynt hwy yn yr oes honno. Dyma y traethawd cyntaf ar feddyginiaeth yn y iaith Gymraeg, ag y mae hanes am dano. Philip a adchwiliodd ac a helaethodd draethawd Rhiwallon; ac y mae gwaith pob un o honynt i'w gweled hyd heddyw.* Y mae yn deilwng o sylw, i hiliogaeth Rhiwallon barhau i ymarferyd meddyginiaeth yn Myddfai, yn ol ynol, ac yn ddi-ddyspaid o amser Rhiwallon, hyd o fewn cof rhai ag oedd yn fyw yn ddiweddar.[b]

Beirdd Cymru yn y cant hwn.

Yr oedd y gwyr canlynol yn feirdd enwog yn mhlith y Cymry yn y cant hwn; ac y mae peth o'u gwaith awenyddol hwynt mewn bod hyd heddyw. Madog Ddwygraig, Dafydd Ddu o Hiraddug,

[a] Fox's Book of Martyrs, Vol. I.

* Y mae yn debygol iawn mai llaw-ysgrifen Rhiwallon yw yr un ag sydd yn ysgol elusen y Cymry, yn Llundain.

[b] Camb. Biog.

Hiraddug, Gruffydd ab Meredydd, Goronw Ddu, Hywel ab Rhys, Dafydd ab Gwylim,* Trahaiarn Brydydd Mawr, Llywelyn Goch, Gruffydd ab Adda, Ieuan Hen, Iolo Goch, a Goronwy Gyriog. Yr oedd rhai beirdd enwog yn y cant hwn, heblaw y gwyr hyn, ond nid yw eu gwaith wedi cyrhaeddyd i'n hamser ni.[a]

CANT XIV.

Yr oedd y Pab, ac arch-esgob Canterbury, yn ofalus iawn na byddai i neb gael eu dewis i fod yn esgobion yn Nghymru, ond y cyfryw ag oedd yn eithaf ffyddlon i eglwys Rhufain, yn neillduol gwedi i athrawiaeth Wicliff ddechreu ymdaenu trwy y wlad. Yn ganlynol, yr oedd holl esgobion Cymru, y pryd hyn, yn fywiog iawn dros gyfeiliornadau y grefydd babaidd, ac yn barod i farnu yn euog bawb a ddysgai un athrawiaeth a fyddai yn groes i ddaliadau eglwys Rhufain. Ac er i'r seren ddydd gyfodi ar y Cymry yn y cant hwn, llwyddodd y Pab a'i offerynau i'w cadw hwynt yn y tywyllwch dros lawer o flynyddoedd gwedi hyn.

Y PYM-

* Dafydd ab Gwylim a anwyd yn Mro Gynin, yn sir Aberteifi, ac yn y rhan flaenorol o'i fywyd a gafodd ei ymgeleddu gan Ifor Hael, un o benafiaid teulu Tredegar. Efe a wnaeth 147 o ganiadau i Morfudd, ond gwedi y cyfan, cafodd Morfudd ei rhoddi yn wraig i Rhys Gwgan, un o filwyr Lloegr.

[a] Camb. Biog.

## Y PYMTHEGFED CANT.

CANT XV.

Harry IV. yn myned i Scotland. O. C. 1400.

HARRY y pedwerydd, gwedi dyfod i orsedd Lloegr, a benderfynodd, yn nechreuad y cant hwn, i fyned i Scotland, ac a ddanfonodd at Owain Glandwr,* pendefig o Gymru, i fyned gydâg ef. Ond arglwydd Grey, o Rhuthin, yr hwn a dderbyniasai y genadwri, a oedodd anfon at Owain Glandwr, nes ydoedd y brenin gwedi dechreu ei daith. Pan wybu Owain ewyllys y brenin, bu flin ganddo, nad oedd yn bosibl iddo ymbarotoi mewn dull cyfaddas, i weini iddo ar daith mor faith a chostfawr. Arglwydd Grey a ddarluniodd absennoldeb Owain mewn goleu anhynaws, ac a ychwanegodd fod Owain yn ymarferyd geiriau garw am y brenin. Pan ddychwelodd y brenin, efe a gymmerodd diroedd Owain Glandwr yn fforffed, ac a'i rhoddodd i arglwydd Grey, yr hyn a fu yn achos o lawer o ymrafael

Dichell arglwydd Grey.

* Owain Glandwr, neu Owain Glyndyfrdwy, oedd fab i Gruffydd Fychan, ab Gruffydd o Ruddallt, ab Madog Fychan, ab Madog Gloff, ab Gruffydd, ab Fferwn Gwyn, ab Gruffydd, arglwydd Dinas Bran, ab Madog, ab Gruffydd Maelor, ab Madog, ab Meredydd, ab Bleddyn, ab Cynfyn, tywysog Powys.

ymrafael rhwng y Cymry a'r Saeson. Owain, gwedi ei yspeilio o'i feddiannau, a lidiodd yn erbyn arglwydd Grey, ac a losgodd dref Rhuthyn, ac a laddodd yr holl bobl a gafodd ynthi; a'r flwyddyn ganlynol, efe a gymmerodd arglwydd Grey yn garcharor, mewn brwydr ar lan Efyrnwy, ac wedi ei gadw mewn caethiwed, dros hir amser, efe a'i rhyddhaodd ef am swm mawr o arian. Gwedi hyny, Owain a ddinystriodd awdurdod cyfeillion Harry yn mhlith ei gydwladwyr, yn neillduol Hywel Sele, o'r Nannau, a Griffri ab Gwyn, o Ardudwy. Yn nesaf, Owain a orchfygodd Edmund Mortimer mewn brwydr yn sir Faesyfed, ac a'i cymmerodd ef yn garcharor. O Faesyfed, Owain a aeth i Forganwg, a phobl y wlad honno a ymostyngasant iddo fel eu tywysog. Yr un flwyddyn, daeth Harry â byddin luosog i Gymru, ond gorfu arno ddychwelyd, heb wneuthur dim. Yn nghylch diwedd yr un flwyddyn, Owain a alwodd Senedd yn Machynlleth, lle y cafodd ei wneuthur yn frenin Cymru. Dafydd Gam, pendefig o sir Frecheiniog, a ddaeth i'r Senedd honno, gydâ bwriad i ladd Owain Glandwr. Pan gafodd ei fradwriaeth ef ei hegluro, gosodwyd ef yn ngharchar, ond ar ddeisyfiad ei gyfeillion, ac wedi iddo roddi addewid o'i ffyddlondeb o hyny allan, cafodd ei ryddhau. Dafydd Gam a dorodd ei addewid yn fuan, ac mewn ffordd o ymddial,

CANT XV.

Owain Glandwr yn cymmeryd arglwydd Grey yn garcharor. O. C. 1401.

Senedd Machynlleth yn gwneuthur Owain Glandwr yn frenin Cymru. O. C. 1402

CANT XV.

ddial, Owain a anrheithiodd ei diriogaethau ef. Gwedi brwydr y Mwythig, Owain a anfonodd gennadau i Ffraingc i geisio cynnorthwy yn erbyn y Saeson. Llwyddodd i ryw raddau, a byddin o'r Ffrangcod a diriasant yn Aberdaugleddau, ac wedi gwthio yn mlaen, hwy a gymmerasant Gaerfyrddin. O'r amser hyn allan, dechreuodd achos Owain wanhau; ac yn mhen ychydig o flynyddoedd gwedi hyny, bu farw y pendefig enwog hwnw.* Owain Glandwr oedd y diweddaf a'r mwyaf llwyddiannus o hiliogaeth tywysogion Cymru, a ymdrechodd i ail-ynnill llywodraeth y wlad hon.[a]

Llidiawgrwydd a chreulondeb Harry i'r Cymry.

Mewn canlyniad i'r gwrthryfel hwn, y brenin Harry a chwerwodd i'r fath raddau, fel ag y gwnaeth ef lawer o gyfreithiau anghyfiawn, annhrugarog, a chreulon iawn yn erbyn y Cymry, trwy ba rai y dygwyd ein henafiaid i fwy o gaethiwed nag oeddent wedi brofi erioed o'r blaen. Sefydlwyd, nad oedd i un Cymro brynu tiroedd, ond mewn lleodd pennodol, na chael ei ddewis i fod yn ddinasydd, neu yn fwrdais, o un ddinas, bwrdeis-dref, neu dref masnach, na chael ei osod mewn un swydd, na dwyn arfau, na chael dim rhydd-did o fewn i'r ddinas. Os byddai un math

* Owain Glandwr a fu farw yn y flwyddyn 1415, yn nhŷ ei ferch Scudamore, yn ol tyb rhai; ond yn nhŷ ei ferch Monnington, yn ol tyb ereill.

[a] Camb. Biog.

CANT XV.

math o gyfraith rhwng Cymro a Sais, nid oedd y Sais ddim i gael ei holi, na'i euog-farnu gan y Cymry, ond gan farnwr a rheithwyr Saesnig. Os priodai Sais Gymraes, ei fod o'r awr honno allan i gael ei ddifuddio o'i holl ragor-freintiau fel Sais. Nad oedd y Cymry i ffurfio un gynnulleidfa, ond yn ol y gyfraith. Nad oedd neb o'r Cymry i fod mewn meddiant o gastellydd, neu o leodd o ddiogelwch a chadernid. Nad oedd dim ymborth, neu arfau, i gael dyfod i Gymru heb genad neu orchymmyn y brenin, neu ei gynghor; ac nad oedd un Cymro i gymmeryd arno swydd ustus o heddwch, ystafellydd, neu sirydd, yn un rhan o Gymru.[a] Parhaodd y cyfreithiau anghyfiawn a gorthrymus hyn mewn grym dros lawer o flynyddoedd.

Owain Glandwr yn llosgi eglwysi Bangor a St. Asaph.

Pan oedd Owain Glandwr yn anrheithio Gwynedd, efe a gymmerodd feddiant o eglwysi cadeiriol Bangor a St. Asaph, ac a'u llosgodd hwynt i'r llawr, oblegid fod esgobion y lleodd hyny yn ffafrol i'r Saeson. John Trefawr yr ail, esgob St. Asaph, yn gweled llwyddiant Owain Glandwr, a ymostyngodd iddo, ac a fwynhaodd ei esgobaeth fel o'r blaen, hyd ddydd ei farwolaeth: ond Richard Younge, esgob Bangor, a barhaodd yn ei ymlyniad wrth frenin Lloegr, ac a gafodd ei symud ganddo i Rochester. Pan aeth



[a] Statutes of the 2d, 4th, and 9th, of Henry IV.

CANT XV.



Richard Younge i Rochester, Owain Glandwr a ddewisodd Llywelyn Bifort yn esgob yn ei le ef, ac a lwyddodd gydâ y Pab i gymmeradwyo ei ddewisiad. Yn mhen ychydig o amser gwedi hyny, y Saeson a gymmerasant Llywelyn Bifort yn garcharor, a chwedi gorchfygu Owain Glandwr, rhoddasant esgobaeth Bangor i Benedict Nicolls, yr hwn oedd yn offeiriad yn Lloegr, ac yn selog iawn dros babyddiaeth.[a]

Er cymmaint o elyniaeth oedd gan yr esgobion yn erbyn canlynwyr Wicliff, ac er eu bod gwedi cael caniatad gan Richard yr ail, yn y cant diweddaf, i'w dwrdio a'u carcharu, nid oeddent yn abl i'w digaloni hwynt, nac ychwaith i attal llwyddiant y gwirionedd. Harry y pedwerydd, yn gweled llwyddiant y Lolardiaid, ac yn chwennych daugos caredigrwydd i'r offeiriaid pabaidd, a lwyddodd gydâ y senedd, yn nechreuad y cant hwn, i wneuthur cyfraith i losgi pawb a barhaent yn eu hymlyniad wrth athrawiaeth Wicliff. Cyn gynted ag y gwnaethpwyd y gyfraith anghyfiawn a chreulon hon, William Sawtre, offeiriad o Lynn, yn Norfolk, yr hwn oedd un o'r Lolardiaid, a gafodd ei farnu gan y llys eglwysig yn euog o gyfeiliornad, a chwedi ei draddodi i'r awdurdod gwladol, a gafodd ei losgi yn Llundain.[b]

Harry IV. yn gwneuthur cyfraith i losgi y Lolardiaid.

Llosgi W. Sawtre.

Harry

[a] Brown Willis. [b] Fox's Martyrs.

Harry y pummed, gwedi dyfod ar farwolaeth ei dad i orsedd Lloegr, a aeth i ryfela â'r Ffrangcod. Yn mhlith llawer o filwyr dewr ereill, Dafydd Gam, Roger Vaughan, a Walter Llwyd, tri Chymro enwog mewn rhyfel, a aethant gydâg ef i Ffraingc. Pan welodd Dafydd Gam luodd lluosog y Ffrangcod, efe a ddywedodd fod yno ddigon o honynt i gael eu lladd, digon i gymmeryd yn garcharorion, a digon hefyd i ffoi ymaith. Ar ddydd y frwydr, bu yn gyfyng iawn ar frenin Lloegr; ac oni buasai i'r Cymry ag oedd oddi amgylch iddo, buasai mewn perygl o golli ei fywyd. Ond pan welodd Dafydd Gam, a'i ddau gyfaill, y perygl ag oedd y brenin ynddo, hwy a ruthrasant rhyngddo ef a'r gelynion, a thrwy golli eu bywydau eu hunain, a achubasant fywyd y brenin. Harry, gwedi cael ychydig seibiant, a gweled y tri Chymro dewr yn gorwedd wrth ei draed, ond heb hollol farw, ac yn ewyllysio eu gwobrwyo hwynt yn gyfattebol i'w haeddiant, a'u gwnaeth hwynt yn farchogion cyn eu marw.[a]

CANT XV.

Harry V. yn rhyfela â'r Ffrangcod.

O. C. 1413.

Marwolaeth Dafydd Gam a'i gyfeillion.

Arundel, arch-esgob Canterbury, yn gofidio wrth weled cynnydd y Lolardiaid, a orchymmynodd i'r esgobion a'r offeiriaid pabaidd i gyfarfod mewn cymmanfa yn Llundain, fel y gallent ystyried pa fesurau oedd oreu iddynt fabwysiadu i'r dyben i ddiwreiddio athrawiaeth Wicliff o'r

 wlad.

[a] Rapin.

CANT XV.

wlad. Gwedi hir ddadleu, barnasant nad oedd yn bosibl iddynt ddiddymu yr athrawiaeth gynbyddfawr honno, heb gospi ei chefnogwyr i'r eithaf, yn neillduol Syr John Oldcastle, yr hwn oedd yr amddiffynwr penaf o honi y pryd hyny. Yr oedd Syr John Oldcastle wedi cael ei eni yn Oldcastle, yn sir Fynwy, a thrwy iddo briodi arglwyddes Cobham, yn cael ei alw yn arglwydd Cobham. Yr oedd y pryd hyn yn ŵr milwraidd o wroldeb a chymmeriad mawr, ac yn un o weision teuluaidd y brenin, ond yn ffafrol iawn i ddilynwyr Wicliff. Cymmaint oedd gwrthwynebiad y gwr hwn i babyddiaeth, a'i sel dros y gwirionedd, fel ag yr oedd yn rhoddi pob annogaeth a chynnorthwy angenrheidiol i bregethwyr duwiol i helaethu y gwirionedd, yn neillduol yn esgobaethau Llundain, Rochester a Henffordd. Arch-esgob Canterbury, gwedi myned at y brenin, a ddywedodd wrtho, fod yn angenrheidiol, er budd yr eglwys, i gospi Syr John Oldcastle am yr annogaeth ag oedd ef yn roddi i'r Lolardiaid. Y brenin, yn anfoddlon i dywallt gwaed, ac yn barchus iawn o Syr John Oldcastle, a ddeisyfodd gael amser i ymddiddan âg ef ei hun. Ond pan wybu ei egwyddorion, a'i fod yn ddiymdro, efe a'i rhoddodd ef i fynu i awdurdod yr offeiriaid. Mewn canlyniad i hyn, cafodd Syr John Oldcastle ei wysio i ymddangos ger bron yr arch-esgob a'r esgobion, yn

Sel Syr John Oldcastle dros y gwirionedd.

eglwys

eglwys St. Paul. Gwedi dyfod yno, Syr John Oldcastle a roddodd iddynt hanes o'i ffydd gydâ phob hyfdra, ac a amddiffynodd y gwirionedd gydâ y fath wroldeb, fel nad oedd ei elynion yn abl i'w wrthwynebu. Ond gan ei fod yn dal llawer o bethau croes i farn sefydledig yr amseroedd hyny, cafodd ei farnu yn euog o gyfeiliornadau dinystriol, a'i anfon yn garcharor i dŵr Llundain. Tra yr oedd yr offeiriaid mewn cyfyng gyngor pa beth a wnaent iddo, efe a ddihangodd o'r tŵr, ac a ddaeth i Gymru, lle y cafodd ei ddyogelu rhag ei elynion dros bedair blynedd. Gan fod y brenin, o bosibl, yn tybied ei fod gwedi dyoddef digon, ni roddodd un caniatad i'w elynion i'w ddal. Ond llwyddodd yr offeiriaid, o'r diwedd, i berswadio y brenin, fod Syr John Oldcastle yn elyniaethol i'r llywodraeth, a thrwy gynnorthwy arglwydd Powys, cafodd ei ddal a'i ddwyn i Lundain, a'i roddi i fynu i arch-esgob Canterbury. Yn mhen ychydig o amser gwedi ei ddwyn i Lundain, cafodd Syr John Oldcastle ei lusgo allan i faesydd St. Giles, a chwedi ei hongian yn fyw mewn cadwynau wrth grog-bren, hwy a gynneuasant dân oddi tano, nes ei losgi i farwolaeth. Yr oedd Syr John Oldcastle yn ŵr o ddoethineb, dysgeidiaeth, a duwioldeb mawr, ac a ddangosodd nad oedd ei fywyd ei hun yn werthfawr ganddo, ond iddo orphen ei yrfa trwy lawenydd.[*]

CANT XV.

Syr J. Oldcastle yn cael ei euog-farnu.

Merthyrdod Syr John Oldcastle. O. C. 1417.

Yn

[*] Gilpin's Life of Lord Cobham.

CANT XV.

Sion Cent. O. C. 1420.

Yn nghylch yr amser hyn yr oedd Dr. John Cent, yr hwn oedd yn brydydd ac yn ddifeinydd enwog, yn ei flodau. Yr oedd efe yn un o'r Lolardiaid, ac a ysgrifenodd lawer o lyfrau ar ddifinyddiaeth yn y iaith Ladin, a llawer o brydyddiaeth yn y iaith Gymraeg. Yr oedd yn cael ei ymgeleddu gan y Scudamores o Kentchester, yn sir Henffordd, ac o herwydd hyny, cafodd ei alw yn Sion Cent. Oblegid fod Dr. John Cent yn fwy ei ddysg a'i wybodaeth nâ'r cyffredin, y bobl anwybodus a choel-grefyddol, a dybient ei fod yn swynwr; ac adroddir llawer o bethau gwag a disail yn nghylch ei fasnach ar ddiafol, hyd heddyw.[a]

Owain Tudor yn priodi gweddw y brenin Harry V.

Yn fuan ar ol marwolaeth Harry y pummed, Catharine, ei weddw, a briododd Owain Tudor, arglwydd Penmynydd, yn sir Fon. Buont fyw yn gysurus hyd farwolaeth Catharine; a bu iddynt dri o feibion, ac un ferch. Cafodd y mab hynaf ei ddwyn i fynu yn fynach; gwnaethpwyd Edmund, yr ail fab, yn iarll Richmond, a chafodd Jasper, y trydydd mab, ei wneuthur yn iarll Penfro.[b]

Ieuan Llawdden.

Yn nghylch yr amser hyn, yr oedd Ieuan Llawdden, prydydd enwog o ddyffryn Llychwr, yn sir Gaerfyrddin, yn ei flodau. Efe a dreuliodd

[a] Camb. Biog.

[b] Ibid.

iodd ran fawr o'i fywyd yn weinidog eglwys Machynlleth, yn sir Drefaldwyn; ond yn ei henaint efe a ddychwelodd i le ei enedigaeth, ac a fu farw yno. Yr un amser hefyd yr oedd Sion Trefor, yr hwn a gyfieithodd hanes bywyd St. Martin o'r Lladin i'r Cymraeg, yn byw. Y'nghylch yr amser hyn, hefyd, yr oedd Syr Thomas Maelor, ysgrifenydd enwog o'r wlad hon, yn ei flodau. Y gwr hwn a gyfieithodd Mort d' Arthur i'r iaith Saesneg.[a]

CANT XV.

Sion Trefor.

Syr T. Maelor.

Reginald Peacock, yr hwn a anwyd yn Lacharn, yn sir Gaerfyrddin,[b] a ddygwyd i fynu yn athrofa Rhydychen, ac a gyssegrwyd yn esgob St. Asaph. Gwedi bod bum mlynedd yn St. Asaph, cafodd ei symud i esgobaeth Chichester. Pan oedd yn esgob Chichester, efe a addysgodd yn gyhoeddus lawer o bethau hollol groes i ddaliadau eglwys Rhufain. Pan glybu arch-esgob Canterbury y pethau hyn, efe a roddodd wys iddo i ymddangos ger ei fron ef yn Llambeth. Gwedi ymddangos ger bron yr arch-esgob a'r esgobion ag oedd wedi cyfarfod ar yr achlysur, yn Llambeth, Reginald Peacock a amddiffynodd ei hun gydâ llawer o ddoethineb, gwroldeb, ac arafwch: ond gan ei fod yn ganlynwr i Wicliff, cafodd ei ddifuddio o'i esgobaeth, a'i garcharu yn Mynachlog Thorney, yn sir Caergrawnt,*

Reginald Peacock, esgob St. Asaph. O. C. 1444.

[a] Camb. Biog. [b] Brown Willis.

CANT XV.


grawnt,* lle y bu efe farw. Thomas Bouchier, arch-esgob Canterbury, a roddodd orchymmyn i abad Thorney, i gadw Reginald Peacock yn garcharor yn ei Fynachlog, ac na roddai ef iddo na phen, inc, na phapur, nac un llyfr, ond y Bibl, a llyfr yr offeren, rhag iddo wneuthur mwy o niwed i'r grefydd babaidd.†

Teuluoedd Yorc a Lancaster yn ymrafaelio. O. C. 1455.

Yn nghylch yr amser hyn, dechreuodd teulu York a theulu Lancaster ymrafaelio, yr hyn a fu yn achos o lawer o ryfeloedd gwaedlyd dros amryw flynyddoedd. Yr oedd Harry y chwechfed yn un o deulu Lancaster, ac wedi iddo deyrnasu ddeunaw mlynedd ar hugain, cafodd, oblegid ei wiriondeb, ei ddiorseddu, trwy gydsyniad y senedd, a'r bobl yn nghymmydogaeth Llundain; ac Edward y pedwarydd, un o deulu Yorc, a gyhoeddwyd yn frenin yn ei le ef. Yr oedd Edward yn ŵr glan a gwrol, ond yn euog o bob drygioni.[b]

Thomas, esgob St. Asaph.

Thomas, yr hwn a gyssegrwyd yn esgob St. Asaph, ar symudiad Reginald Peacock i Chichester, oedd o blaid teulu Lancaster, ac yn ganlynol yn wrthwynebwr i Edward y pedwarydd; o herwydd pa ham, cafodd ei droi o'i esgobaeth, a Richard Redman, cyfaill i deulu Yorc, a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef. Dywedir

Richard Redman, esgob St. Asaph. O. C. 1471.

* Cambridgeshire.

† Fox's Martyrs. Brown Willis.

b Rapin.

edir fod Richard Redman yn ŵr dysgedig, a chall, ac yn fedrus iawn i drin achosion teyrnasol; ac oblegid hyny, iddo gael ei anfon gan frenhinoedd Lloegr i Scotland ar achosion teyrnasol. Richard Redman a adgyweiriodd eglwys gadeiriol St. Asaph, yr hon a losgasid yn amser Owain Glandwr, ac a wnaeth lawer o ddaioni yn ddirgel ac yn gyhoeddus. A chyn diwedd y cant hwn, cafodd eglwys gadeiriol Bangor ei hadgyweirio hefyd, gan Henry Dean, esgob y lle hwnw. Henry Dean, ar ei symudiad i esgobaeth Salisbury, a adawodd ei fugail-ffon, a'i goron, i'r esgob a ddaeth ar ei ol ef, ar yr ammod iddo orphen y gwaith a ddechreuasai efe yn Mangor. Heblaw adgyweirio ac ardderchogi eglwys gadeiriol Bangor, Henry Dean a fynodd yn ol hefyd i'r esgobaeth honno lawer o'r tiroedd a gymmerasid oddiwrthi, yn y rhyfeloedd creulon ag oedd gwedi bod yn ei ddyddiau ef.* CANT XV.

Dafydd ab Edmund.

Yr oedd Dafydd ab Edmund o blwyf Hanmer, yn sir Fflint, yn brydydd enwog yr amser hyn; ac y mae'r hyn ag sydd o'i waith mewn bod, yn profi ei fod yn ŵr o gynheddfau godidog. Yr oedd efe yn bresennol yn Nghymmanfa y beirdd a fu yn Nghaerfyrddin, dan nawdd gwr da o'r gymmydogaeth honno, yr hwn a gawsai awdurdod gan frenin Edward y pedwarydd, i'r perwyl

3 A hyny.

* Brown Willis.

CANT XV.

hyny. Yn y gymmanfa honno, Dafydd ab Edmund a ennillodd y gadair, yr hyn oedd y wobr a roddid i'r swydd-ymgeisydd llwyddiannus. Llwyddodd hefyd gydâ y gymmanfa i gadarnhau y pedair rheol ar hugain prydyddiaeth Gymraeg, rhai o ba rai a ffurfiasid ganddo ef, a beirdd Gwynedd, oblegid fod beirdd y wlad honno wedi colli yr hen reolau gwreiddiol. Ond beirdd gorsedd daleithiol Siluria, y rhai oedd mewn meddiant o'r rheolau dechreuol, a wrthdystiasant, ac a ddangosasant dwyll y newyddiad.[a]

J. Faustus yn dyfeisio y gelfyddyd o argraffu.

Oddiamgylch canol y cant tywyll hwn, J. Faustus, gof aur, yn Germany, a ddyfeisiodd y gelfyddyd ardderchog a defnyddiol honno o argraffu llyfrau.[b] Pan oedd y gelfyddyd newydd hon yn dechreu cael ei harferyd yn Holland a Fflanders, dygwyddodd i William Caxton, o Lundain, fyned i'r gwledydd hyny fel marchnatawr; a chan ei fod yn ŵr diwyd a dyallus, efe a ddysgodd argraffu, fel y gallai ddwyn y gelfyddyd ddefnyddiol honno i'w wlad ei hun. Gwedi dysgu argraffu llyfrau, a darparu pob peth angenrheidiol at ddwyn yn mlaen y gelfyddyd honno yn Lloegr, William Caxton a ddychwelodd i Lundain; ac efe oedd yr argraffydd cyntaf yn yr ynys hon.[c]

W. Caxton yn dwyn y gelfyddyd o argraffu i Loegr. O. C. 1472.

Fel

[a] Camb. Biog. [b] Fox's Martyrs.

[c] Dr. Rees's Cyclopœdia.

Fel ag yr oedd Edward y pedwarydd yn un o deulu Yorc, yr oedd yn ddigllon iawn wrth Jasper ab Owain Tudor, iarll Penfro, yr hwn oedd o deulu Lancaster, ac yn barchus gan y Cymry: a rhag ofn iddo droi'r bobl yn Nghymru yn erbyn y llywodraeth, efe a benderfynodd i'w osod i farwolaeth; ac i'r dyben hyny efe a anfonodd gennad i Gymru, âg awdurdod ganddo i ladd Jasper iarll Penfro, os caffai gyfleustra. Jasper, pan glybu hyn, a roddodd orchymmyn i ddal y gennad, a'i osod i farwolaeth. Gwedi hyny, Jasper a gymmerodd Harry, iarll Richmond, mab Edmund ei frawd, ac a ffodd âg ef i Ffraingc, lle y buont dros lawer o flynyddoedd.[a]

CANT XV.

Ar farwolaeth Edward y pedwarydd, Edward ei fab a gyhoeddwyd yn frenin yn ei le ef. Ond cyn i Edward y pummed deyrnasu tri mis, Richard, duc Caerloyw, a brawd ei dad, a orchymmynodd i'w ladd ef, ac a draws-feddiannodd ei orsedd. Yr oedd creulondeb a drygioni Richard y trydydd mor fawr, fel y penderfynodd llawer o benaethiaid y deyrnas i anfon am Harry, iarll Richmond,* o Ffraingc, a'i wneuthur yn frenin. Wedi ymgynghori â llawer o bendefigion Lloegr a Chymru, yn nghylch y gorchwyl pwysfawr hwn, anfonwyd Morgan o Gydwely â llythyrau i Harry,

Marwolaeth Edward y pedwarydd. O. C. 1483.

Morgan o Gydwely yn myned i Ffraingc.



a Rapin.

* Yr oedd Harry o waed brenhinol Cymru a Lloegr.

CANT XV.

i Harry, iarll Richmond, i ddeisyf arno ddyfod trosodd; ac i sicrhau iddo fod Syr Rhys ab Thomas, a phendefigion Cymru, yn barod i'w dderbyn â breichiau agored, ac i amddiffyn ei hawl hyd eithaf eu gallu. Pan ddyallodd Harry fod cynnifer o bendefigion Cymru a Lloegr drosto, ac yn gwybod fod Richard yn anhaeddiannol iawn o orsedd Brydain, efe a ymadawodd o Ffraingc, ac a ddaeth yn ddihangol i Aberdaugleddau, ac a diriodd yn Dale, lle yr oedd Syr Rhys ab Thomas, Syr Thomas Perrot o Haroldston, yn agos i Hwlffordd, a Syr John Wogan, o gastell Wiston, yn sir Benfro, yn nghyd âg Arnold Butler, Richard Griffith, a John Morgan, yn ei roesawi i dir. Daeth Robert Salisbury hefyd, a boneddigion ereill o Wynedd, i roesawi Harry o Ffraingc. Harry, gwedi cofleidio ei gyfeillion, a diolch iddynt am eu caredigrwydd, a'u cyfarchodd hwynt, fel y canlyn.[a]

Harry yn tirio yn Aberdaugleddau.

Cyfarchiad Harry iarll Richmond.

'Fy nghydwladwyr a'm cydfilwyr anwyl; y 'mae mwy nâ phedair blynedd ar ddeg er pan 'ddarfu i fy ewythr Jasper a minnau, ffoi o'r 'wlad hon. Wele fi gwedi dychwelyd yma 'drachefn. Myfi a ffoais i achub fy mywyd; yr 'ydwyf gwedi dychwelyd i honni hawl yn fy 'nghoron. Y mae fy mywyd a'm coron yn an'wahanadwy. Rhaid i mi fwynhau pob un, neu

'fod

[a] Cambrian Register, Vol. I.

CANT XV.

'fod heb un o honynt. Chwi ellwch chwi, ag 'sydd yma yn bresennol, fod yn offerynol i'm 'cynnorthwyo i ddyfod i'r meddiant o'r goron 'honno ag sydd yn cael ei chadw oddi wrthyf yn 'anghyfiawn. Och! y cystuddiau blin a ddy- 'oddefais, er pan fu fy nhroed ar y tir hwn o'r 'blaen. Yr ydwyf yn llawn arswyd wrth fedd- 'wl am danynt; a'r holl genhedloedd cymmyd- 'ogaethol a ddychrynant, pan glywant eu had- 'rodd. Pa beth a adawodd y cigydd hwnw, 'Richard, duc Caerloyw, heb ei gynnyg, a all- 'asai agor y ffordd i'w uchel-gais. Pa nifer o 'dywysogion, boneddigion, ac ereill, a laddwyd 'wrth ei orchymmyn gwaedlyd. Gorfu arnaf 'finnau adael fy ngwlad, a byw ar haelioni dy- 'eithriaid. Gosodwyd gwerth am fy mywyd, a 'chyflogwyd llawer i'm gosod i farwolaeth, fel y 'gallasai efe gael ei ddyrchafu. Fy nghyd-wlad- 'wyr anwyl, yr ydych oll wedi cyfarfod yma he- 'ddyw i'r un dybenion. Mi welaf yn eich wyn- 'ebau eich bod yn wyr ag sydd yn barod i gryf- 'hau achosion daionus. Wele fi yma ger eich 'bron, ond pa enw a roddaf arnaf fy hun, ni's 'gwn. Ni fynaf fy ngalw yn ŵr cyffredin, o 'blegid fod y pendefigion a'r boneddigion goreu 'yn y deyrnas, ïe, yr holl fyd ag sydd wedi cly- 'wed am fy hawl gyfreithlon i goron Lloegr, yn 'fy nghydnabod i yn dywysog; ac etto ni ellwch 'fy ngalw yn dywysog, tra fyddo un arall yn meddiannu

Cystuddiau Harry.

Creulonder Richard III.

CANT XV.

'meddiannu fy hawl. Heblaw hyn, y mae yn 'anhawdd gwybod pa un ai bradwyr, neu ddei-'liaid ffyddlon ydych chwithau, hyd oni phen-'derfynir pa un ai tywysog cyfreithlon, neu 'elyn, yw y gwr ag sydd yn eich plith. Pa 'beth sydd i'w wneuthur, gan hyny, ond cyduno 'yn galonog i ymarferyd ein galluoedd goreu i 'amlygu y pwngc hwn, a dangos i bob plaid, 'trwy ein dewrder, fod Arglwydd y lluodd gydâ 'ni. Na phetruswch i'm cynnorthwyo. Par-'hewch yn uwchder y gwroldeb a'r ymroad ag 'yr ydych ynddynt yn bresennol; a gadewch 'i ni, naill ai trwy fyw yn nghyd ennill hedd-'wch a hawddfyd i'r wladwriaeth; neu trwy fa-'rw yn nghyd, ddiweddu ein hadfyd: ond yn 'mhob un o'r ddau, gofalwn am anrhydedd ein 'hynafiaid a'n hiliogaeth.' [a]

Gorfoledd y milwyr.

Pan orphenodd Harry ei gyfarchiad, y bobl a heidiasant oddi amgylch iddo, ac a lanwasant yr awyr â'i glodydd. Clodforasant Dduw hefyd, gan ddywedyd, 'Yn awr yw yr amser cymmer-'adwy; wele y dyddiau dedwydd gwedi dyfod; 'dyma wystl o'n heddwch a'n hawddfyd; gad-'ewch i ni fyned yn enw Duw a St. Dewi, a ni a 'lwyddwn.' Tra yr oeddynt fel hyn yn cyhoeddi eu gorfoledd, ac yn dangos eu parodrwydd i amddiffyn hawl Harry, Syr Rhys ab Thomas a

erch-

[a] Camb. Register, Vol. I.

orchymmynodd iddynt ddychwelyd i'w rhesau, fel y gallasai iarll Richmond weled eu trefn, a'u parodrwydd i ufuddhau. Gwedi hyny efe a gyfarchodd Harry fel y canlyn.*

CANT XV.

Cyfarchiad Syr Rhys ab Thomas.

'Fy arglwydd, yr ydych yn awr, trwy gyd-'syniad fy nghyd-filwyr, wedi cael eich cyfarch 'yn frenin. Cymmerwch ni, gan hyny, dan eich 'nodded. Yr ydym etto yn y dymhestl: y mae 'o bwys, gan hyny, i chwi ac i ninnau i ddar-'paru am ddyogelwch y naill y llall. Tra y 'caffom ni chwi wrth y llyw, yr ydym yn hyder-'us, trwy gymhorth Duw, y deuwn cyn bod yn 'hir i'r hafan ddymunol. Awn yn mlaen, a 'glynwn wrth ein gorchwyl, tra byddo pob peth 'yn hwylus. Y mae genym ddigon, a gormod 'o arfau; ac y mae yn sicr genyf, fod ein calon-'au oddi mewn mor arfog a'n cyrph oddi allan. 'Rhoddodd Duw i chwi awdurdod ar bob un o 'honynt; nid oes i ni ond anrhydedd ein hufudd-'dod. Pe buasem yn awr ar ryw ymdrech o'n 'heiddo ein hunain, gallasem fyned y'mlaen, neu 'orphwys, wrth ein hewyllys: ond y mae'n wahan-'ol gydâ chwi, fy arglwydd, ag sydd wedi eich 'bwriadu i fod yn lywodraethwr. Nid oes i chwi 'un yrfa ganol i'w rhedeg, naill ai brenin neu gar-'dotyn. Yr ydych, diolch i Dduw, mewn ffordd 'dda i osod pethau tu hwnt i bob dadl. Ewch y'mlaen,

* Camb. Register, Vol. I.

CANT XV.



'y'mlaen, gan hyny, heb oedi dim. Chwi gawsoch, 'yr wyf yn gobeithio, foddlonrwydd genym mewn 'geiriau, ein bod yn ewyllysio yn dda i'ch ach-'os. Nid oes dim yn angenrheidiol, mwyach, 'ond ein gweithredoedd, i'r dyben i'n profi 'trwyddom. Pan weloch y rhai hyny, chwi gan-'fyddwch, yn gyfan-gwbl, yr hyn ag yr yd-'ych yn bresennol yn weled, ond mewn rhan. 'Gweithiwn, gan hyny, ac na ymffrostiwn mwy-'ach, wrth wregysu ein harfau, ond cymmerwn 'bwyll, nes y byddom yn eu diosg. Gelwch 'i dir y Ffrangcod a ddaeth drosodd gydâ 'chwi, a gadewch iddynt gael ychydig luniaeth, 'ac esmwythder. Mynwch wybod a oes byrdra 'yn eu harfau, ac yn ol ein gallu, ni fyddwn yn 'fyr o'u diwallu. Gwedi hyny, gellwch eu 'trefnu hwy a ninnau, fel y byddo amgylchiadau 'yn gofyn; a Duw a lwyddo ein mynediad yn 'mlaen.' [a]

Harry yn ymgynghori â'i gyfeillion.

Harry, wedi diolch i Syr Rhys ab Thomas, a'i cymmerodd ef, y'nghyd â iarll Rhydychen a iarll Penfro, o'r nailldu, i ystyried pa fesurau i gymmeryd yn eu hamgylchiadau presennol. Cytunwyd mai gwell oedd i Harry, a'r Ffrangcod ag oedd gydâg ef, i fyned trwy sir Aberteifi, ac i Syr Rhys ab Thomas, a'r Cymry, fyned trwy Gaerfyrddin, a chyfarfod oll yn y Mwythig. Cytunwyd

[a] Camb. Register, Vol. I.

wyd hefyd i Arnold Butler, Richard Griffith, a John Morgan, fyned i gyfarfod Harry, mewn amrywiol leodd rhwng Dale, yn sir Benfro, a'r Mwythig, i'w gyfarwyddo, ei gysuro, a'i gryfhau, os byddai angenrheidrwydd. Pan oedd pob peth yn barod iddynt gychwyn o'r Dale, esgob Tŷ Ddewi a safodd i fynu, ac a bregethodd oddiwrth y testun canlynol: 'Ymddattododd y 'ddaear, a'i holl drigolion, myfi sydd yn cynnal 'ei cholofnau.' * Oddiwrth y rhan gyntaf o'r adnod, cymmerodd yr esgob achlysur i ddarlunio teyrnasiad drygionus ac aflwyddiannus Saul, brenin Israel, ac i gydmaru Richard y trydydd, i'r brenin hwnw. Oddiwrth y rhan olaf o'r testun, efe a osododd allan ddaioni a dedwyddwch teyrnasiad Dafydd, i'r hwn yr oedd efe yn hyderu y byddai Harry yn debyg, trwy ail-sefydlu a sicrhau y colofnau ag oedd Richard, trwy ei ormes waedlyd, wedi osod allan o drefn; hyny yw, y byddai iddo ofalu, gwedi iddo ddyfod i'r orsedd, am addoliad Duw, a gweinyddiad cyfiawnder, y rhai ydynt y ddwy golofn benaf i gynnal pob llywodraeth. A chan ei fod gwedi cymmeryd arfau i ennill ei hawl gyfreithlon, na fyddai iddo ddim rhoddi ei ymddiried ar feirch, na cherbydau, na gallu dyn, ond yn unig yn enw Arglwydd y lluodd; canys trwy y ffordd honno yn unig y gorchfygodd y brenin Dafydd ei elynion,

CANT XV.

Pregeth esgob Tŷ Ddewi.

3 B siampl

* Psalm lxxv, 3.

CANT XV.



siampl pa un yr oedd ef yn annog Harry i'w dilyn: ac os byddai iddo wneuthur felly, y clywid ei gyfeillion, yn mhen ychydig, yn gwaeddi allan, Ein gelynion a gwympasant ac a syrthiasant; ond nyni a gyfodasom, ac a safasom.* Gwedi rhoddi llawer o gynghorion buddiol, yr esgob a ddiweddodd, trwy ddymuno i Harry gael nerth Jacob ac Israel; nerth Israel i lwyddo gydâ Duw, a nerth Jacob i orchfygu dynion, ac i Arglwydd y lluodd i ddangos ei hun yn Dduw yr ymddial yn erbyn ei elynion, ac yn Dduw y dyddanwch i'r holl genedl.[a]

Harry a'i filwyr yn cychwyn.

Pan orphenodd yr esgob ei bregeth, yr holl filwyr a wregysasant eu harfau, ac a gurasant eu dwylaw, gan ddywedyd, Y brenin Harry, y brenin Harry, neb ond Harry yn frenin arnom ni; ac felly y cychwynasant. Y mae yn anhawdd, yn awr, i nodi allan y llwybr a gymmerodd Harry o'r Dale yn sir Benfro, i'r Mwythig; ond y mae yn amlwg iddo fyned trwy Aberteifi, ac iddo lettya un noswaith gydâ Dafydd ab Evan,† yn Llwyndafydd, yn mhlwyf Llandisilio-gogo; a'r

* Psal. xx, 8.

a Camb. Register, Vol. I.

† Rhoddodd Harry lawer o anrhegion i Dafydd ab Evan am ei garedigrwydd a'i haelioni, yn neillduol corn yfed, wedi ei osod ar safiad o arian, yr hwn a gyflwynwyd gwedi hyny i Richard, iarll Carbery; ac y mae yn bresennol yn meddiant Lord Cawdor, o'r Gelli Aur, yn sir Gaerfyrddin.

a'r noswaith ganlynol gydâg Inon ab Dafydd Llwyd, Esq. yn y Wern-newydd, yn mhlwyf Llanarth.[a]

CANT XV.

Richard III. yn cael ei ladd yn maes Bosworth, a Harry yn cael ei goroni. O. C. 1485.

Harry, gwedi cael ei dderbyn yn garedig yn y Mwythig, a chyfarfod â Syr Rhys ab Thomas a'i filwyr, a gychwynodd yn mlaen, ac a gyfarfu â'r brenin Richard yn maes Bosworth, yn sir Leicester, lle yr ymladdasant, ac y cafodd Richard y trydydd ei ladd. Harry, gwedi ennill y fuddugoliaeth, a aeth yn mlaen i Lundain, ac a gafodd ei goroni yno yn frenin Lloegr. Ac i'r dyben i sicrhau ei hun ar orsedd Brydain, efe a briododd Elizabeth, merch hynaf Edward y pedwarydd. Trwy y briodas honno, cafodd teuluoedd Yorc a Lancaster eu huno, a gosodwyd terfyn ar y rhyfeloedd creulon ag oedd wedi bod dros lawer o flynyddoedd rhwng y ddau deulu hwnw.[b]

Dyrchafiad Syr Rhys ab Thomas.

Harry y seithfed, gwedi ei goroni yn frenin, a wnaeth Syr Rhys ab Thomas yn Rhaglaw Brycheiniog, Ystafellydd y Deheudir, a Goruchwyliwr arglwyddiaeth Muallt. Rhoddodd iddo hefyd lywodraeth Cymru, ac a orchymmynodd iddo weini cyfiawnder, ac ymdrechu i gymmodi pob amrafaelion a allasai fod yn y rhan honno o'i deyrnas. Felly Harry a ddangosodd

3 B 2 lawer

[a] Camb. Register, Vol. I.

[b] Rapin.

CANT XV.

lawer o garedigrwydd i'r Cymry, ac a ysgafnhaodd lawer o'r beichiau trymion a osodasid arnynt gan y brenhinoedd a fuasai o'i flaen ef.[a]

Beirdd y cant hwn.

Yr oedd y gwyr canlynol yn feirdd enwog yn y cant hwn, ac y mae peth o waith awenyddol llawer o honynt mewn bod hyd heddyw. Dafydd ab Meredydd, Dafydd Emlyn, Gruffydd ab Nicholas, Rhys Goch Eryri,* Guto y Glyn, Gwilym Tew, Harri y Gareg Lwyd, Hywel ab Dafydd, Ieuan Ddu ab Dafydd ab Owain o Aber Dâr, Syr Gruffydd Fychan, Dafydd Epynt, Bedo Brwynllys, Syr Dafydd Fychan, Dafydd ab Meredydd ab Ednyfed, Dafydd Llwyd ab Llywelyn o Mathafarn, Gutyn Owain, Gruffydd ab Ieuan o Lanerch, Gruffydd ab Dafydd, Syr Einion ab Owain, Bedo Aeddren, Bedo Philip Bach, Dafydd ab Hywel, a Dafydd Gorlech.[b]

[a] Camb. Register, Vol. I.

* Yr oedd y gwr hwn yn byw yn Hafod Garegog, islaw Ffestiniog, a dangosir ei eisteddle ar y bryn yn agos i'r tŷ, wedi ei gwneuthur o gerrig mawrion ar ddull cadair.

[b] Camb. Biog.

YR

## YR UNFED CANT AR BYMTHEG.

CANT XVI.

Haelioni iarlles Richmond.

MARGARET, iarlles Richmond, a mam Harry y seithfed, yn wybodol o ddefnyddioldeb dysgeidiaeth, a adeiladodd ysgol-dŷ Crist, yn Cambridge, ac a roddodd beth o'i thiroedd yn sir Benfro, a lleodd ereill, i gynnal un athraw, deuddeg cyfaill, a saith a deugain o ysgolheigion yn yr ysgol-dŷ hwnw.* Mewn canlyniad i hyn, yn nghyd â phleidgarwch y brenin i'w gydwladwyr, yr oedd llawer o'r Cymry yn cael eu dwyn i fynu, y pryd hyn, yn athrofäau Rhydychen a Chambridge, ac yn gwasanaethu swyddi anrhydeddus yn yr eglwys a'r llywodraeth. Ond er fod dysgeidiaeth yn dechreu adfywio yn Mrydain, a llawer o ddysgedigion y pryd hyn yn mhlith y Cymry, gan nad oedd yr ysgrythyrau gwedi cael eu hargraffu etto yn y iaith Gymraeg, ac esgobion, offeiriaid, a mynachod Cymru, yn cyflawni yr addoliad cyhoeddus mewn iaith annyalladwy i'r bobl; yr oedd y wlad, yn gyffredin, yn parhau yn y tywyllwch a'r anfoesoldeb mwyaf. Yn lle ymdrechu i ddiddymu y defodau

Dysgeidiaeth yn adfywio.

* Fuller's Church Hist. Cam. p. 90.

CANT XVI.

Esgobion Cymru.

defodau afreidiol ag oedd wedi ymlusgo i'w plith, yr esgobion a ymarferent bob moddion i'w cynnal y'mlaen yn ol rheolau eglwys Rhufain. Dr. John Morgan, oedd esgob Tŷ Ddewi; Miles Salley, oedd esgob Llandaf; Dafydd o Lan Egwestl, oedd esgob St. Asaph; a Thomas Pigot, o sir Dinbych, oedd esgob Bangor, yn nechreuad y cant hwn. Dr. John Morgan a roddodd Silian a Llanwnen i gynnal cantorion eglwys gadeiriol Tŷ Ddewi; ac wrth farw, efe a orchymmynodd i Gapel gael ei wneuthur dros ei fedd yn Nhŷ Ddewi. A Miles Salley, wrth farw, a orchymmynodd i gynnulleidfa crefydd-dŷ Enesham, yn sir Rhydychen, lle yr oedd ef wedi bod yn abad, i barhau i weddio dros ei enaid, fel na byddai iddo aros yn hir yn y purdan.*

Pabyddiaeth esgobion Cymru.

Yr oedd Arthur, tywysog Cymru, yn ŵr ieuangc gobeithiol iawn, ac mewn parch mawr gan y Cymry a'r Saeson. Pan oedd oddiamgylch dwy ar bymtheg oed, efe a briododd Catharine o Arragon, merch brenin Spain. Ond fel y mae pob peth dan haul yn ansicr, Arthur, mewn ychydig o fisoedd wedi iddo briodi, a glafychodd, ac a fu farw. Pan ddeallwyd nad oedd Catharine yn feichiog o Arthur, cafodd Harry, yr ail fab, ei wneuthur yn dywysog Cymru, yn lle ei frawd. Gan i Arthur farw yn ddi-blant, yr oedd yn rhaid i'r brenin, naill ai anfon Catharine yn ol i Spain, a dychwelyd

Priodas a marwolaeth Arthur, mab Harry VII.

* Brown Willis.

CANT XVI.

dychwelyd y can mil o goronau ag oedd ef wedi gael gydâ hi; neu ei chadw yn Lloegr, a gadael iddi gael y drydedd ran o dywysogaeth Cymru, ac o ddugiaeth Cornwal, ac o iarllaeth Caerlleon, y rhai oedd gwedi eu sefydlu iddi, pan briododd hi Arthur. Ond cymmaint oedd cybydddod Harry y seithfed, a'i ofn i anfoddloni brenin Spain, fel na wnai efe un o'r ddau. Tybiodd gan hyny, mai y peth goreu a allasai ef wneuthur yn y cyfryw amgylchiadau, oedd ymdrechu perswadio ei fab Harry, tywysog Cymru, i briodi Catharine, er mor anghyfreithlawn oedd hyny. Harry, mewn cyd-agweddiad â deisyfiad ei dad, a chwedi cael caniatad gan y Pab, a briododd Catharine, gweddw ei frawd Arthur; yr hyn, mewn canlyniad, a fu yn foddion, mewn mesur mawr, i ddwyn oddiamgylch y diwygiad oddi wrth babyddiaeth yn y wlad hon. Yn mhen ychydig o amser yn ol hyn, Margaret, merch hynaf Harry y seithfed, a briododd Iago y pedwarydd, brenin Scotland, yr hyn fu yn achos, gwedi hyny, i uno Scotland a Lloegr.[a]

Harry yn priodi Catharine o Arragon, gweddw Arthur.

Syr Rhys ab Thomas, o barch i'r brenin, ac o gariad i'w gydwladwyr, a roddodd wahoddiad i foneddigion Cymru i ddyfod atto ef i gastell Carew, yn sir Benfro, i gadw gŵyl St. George,* sant

Y Cymry yn cadw gŵyl St. George.

[a] Rapin.

* Yr oedd St. George yn fab i bannwr, o Epiphania, yn

CANT XVI. sant ymgeleddol y Saeson; ac i ymarferyd campau milwraidd. Wedi i'r gwestwyr ddyfod yn nghyd, Syr Rhys ab Thomas a ddewisodd

bum

Cilicia. Gwedi ei wneuthur yn barotowr ymborth i'r fydd-in, efe a wnaeth ddefnydd o bob dyfais, er mor wael a llygr-edig, i bentyru golud, ac a yspeiliodd gymmaint o arian y cyffredin, fel y gorfu arno ffoi o'i wlad, a myned i Alexan-andria. Gwedi dyfod i Alexandria ar yr amser ag yr oedd yr ymryson rhwng Arius ac Athanasius, efe a ddangosodd y fath zel dros athrawiaeth Arius, fel ag y cafodd ei wneuthur yn esgob y ddinas honno yn y flwyddyn 355, pan yrwyd Athanasius o'i esgobaeth. Yr oedd ymddygiad George yn greulon a gormesol i'r graddau eithaf, yn y sefyllfa anrhyd-eddus honno. Efe a erlidiodd blaid Athanasius yn ddi-drugaredd, ac yr oedd y trigolion ereill ag oedd yn yr esgobaeth helaeth honno yn wrthddrychau ei greulondeb a'i drachwant. Gwedi tlodi y marsiandwyr, ac yspeilio temlau y paganiaid yn Alexandria, y bobl a gyfodasant yn unfryd yn ei erbyn, ac a'i gyrasant ef allan o'r ddinas. A phan ddaeth Julian i'r ymerodraeth, cafodd George, a dau o'i gy-feillion mewn drygioni, eu gosod mewn cadwynau, a'u taflu i'r carchar cyffredin. Gwedi bod yno dros ychydig o ddy-ddiau, y paganiaid a dorasant ddrysau y carchar, ac a ladd-asant George a'i gyfeillion; ac wedi dwyn eu cyrph hwynt mewn ffordd o orfoledd ar gamel trwy heolydd Alexandria, hwy a'u bwriasant i'r môr, fel na fuasai i'r cristianogion i wneuthur y gormeswr hwn yn sant. Ond y cristianogion, mewn amser, a anghofiasant fywyd drwg George, a chan dybied iddo farw yn ferthyr dros y gwirionedd, hwy a'i gwnaethant ef yn sant, a chafodd ei gyfaddef felly gan yr eglwys babaidd, ac yn y dwyrain. Pan aeth y Saeson i ryfeloedd y groes, a chlywed clod St. George trwy yr holl wledydd, a gweled y parch a roddid iddo gan y pabyddion, hwy a'i dewisasant ef yn sant ymgeleddol i'w cenedl.

Dr. Rees's Cyclopædia.

bum cant o'r rhai mwyaf gwrol yn eu plith, ac a'u dosparhodd hwynt yn bum mintai, ac a osododd gadpen ar bob mintai. Ar yr ail ddydd, y cadpeniaid a aethant â'u minteioedd allan i'r maes, lle y buant yn arferyd eu nerth a'u deheurwydd, fel pe buasent yn ymdrechu â'u gelynion, tra yr oedd y lluaws yn edrych arnynt. Pan seiniodd yr udgorn ar foreu y trydydd dydd, sef dydd St. George, Syr Rhys ab Thomas, a'i holl westwyr, oddiamgylch mil o rifedi, a gychwynasant, ac a aethant mewn trefn o gastell Carew i lys yr esgob yn Lamphey, i'r dyben i addoli Duw, ac i weddio am lwyddiant i'r brenin, a gorphwysfa i enaid St. George. Gwedi dyfod yn agos i Lamphey, Syr Rhys ab Thomas a roddodd orchymmyn i seinio yr udgyrn, fel arwydd eu bod gerllaw. Ar hyn, esgob Tŷ Ddewi, abad y Taley, a prior Caerfyrddin, a aethant allan yn eu gwisgoedd priodol, i gyfarfod Syr Rhys ab Thomas; a chwedi cyfarch i'w gilydd, hwy a aethant i'r capel i addoli. Gwedi i'r esgob ddarllen y gwasanaeth, hwy a ganasant lawer o hymnau ag oedd gwedi eu cyfansoddi yn berthynasol i'r achos. Cynhwysiad rhai o'r hymnau oedd dymuniad am heddwch, llwyddiant a hir einioes i'r brenin; a chynhwysiad ereill, oedd dymuniad am orphwysfa i enaid St. George, a gwaredigaeth ddyogel iddo o'r purdan. Pan orphenasant y pethau hyn, y'nghyd â llawer o ddefodau

CANT XVI.

Syr Rhys yn myned i Lamphey.

Coelgrefydd y Cymry.

CANT XVI.



pabaidd a choel-grefyddol ereill, yr esgob, yr abad, a'r prior, a aethant gydâ Syr Rhys ab Thomas, a'i westwyr, i gastell Carew, i giniaw. Uwch ben porth y castell yr oedd llun St George a St. Dewi yn cofleidio eu gilydd, fel arwydd o'r heddwch ag oedd rhwng y Cymry a'r Saeson. Gwedi treulio pum diwrnod fel hyn mewn ymarferiadau pabaidd, milwraidd, a gwleddol, hwy a ymadawsant. Y boreu ag yr oeddent oll yn ymadael o gastell Carew, esgob Tŷ Ddewi a bregethodd iddynt oddiwrth y geiriau canlynol: 'Na felldithia y brenin yn dy feddwl, ac yn ystafell dy wely na felldithia y cyfoethog; canys ehediaid yr awyr a gyhoedda y llais, a pherchen aden a fynega y peth.' * Oddiwrth y geiriau, yr esgob a'u hannogodd oll i fod yn ffyddlon i'r brenin, yn ufudd i'w blaenoriaid, ac yn gariadus y naill i'r llall. Pan welodd y brenin Syr Rhys ab Thomas† y flwyddyn ganlynol, efe a ddiolchodd

Esgob Tŷ Ddewi yn pregethu y'nghastell Carew.

* Preg. x, 20.

† Syr Rhys ab Thomas, mab Thomas ab Gruffyth, a anwyd yn sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1451. Yr oedd yn ŵr enwog iawn yn ei ddydd, ac yn gyfaill mawr i Harry y seithfed. Syr Rhys ab Thomas a adgyweiriodd Emlyn, yr hwn oedd ei brif arosfa ef, ac a'i galwodd yn Gastell Newydd. Harry y seithfed a roddodd i Syr Rhys ab Thomas gastell Dynefawr, yr hwn sydd, hyd heddyw, yn meddiant ei hiliogaeth ardderchog ef. Syr Rhys ab Thomas a fu farw yn llawn dyddiau yn y flwyddyn 1527, ac a gladdwyd yn eglwys Caerfyrddin, lle y mae ei fedd a'i lun i'w gweled.

odd iddo am yr anrhydedd a ddangosodd efe i St. George.[a]

CANT XVI.

Marwolaeth Harry y seithfed.

Harry y seithfed, gwedi teyrnasu tair blynedd ar hugain, a gwneuthur ei ddeiliaid yn alluog a dedwydd, a fu farw; a Harry ei fab, tywysog Cymru, a deyrnasodd yn ei le ef. Yr oedd Harry yr wythfed gwedi cael ei ddwyn i fynu yn holl ddysgeidiaeth yr amseroedd; a phan ddaeth i'r orsedd, yr oedd yn ŵr ieuangc glân a gwrol, ac yn cael ei garu gan yr holl ddeiliaid.[b]

Harry yr wythfed. O. C. 1509.

Martin Luther yn dynoethi cyfeiliornadau pabyddiaeth. O. C. 1517.

Yn mhen ychydig o flynyddoedd wedi i Harry yr wythfed ddyfod i orsedd Lloegr, Martin Luther, gwr duwiol a dysgedig o Germany, a ddechreuodd bregethu ac ysgrifenu'n erbyn cyfeiliornadau eglwys Rhufain. Pan ddechreuodd Luther ddynoethi cyfeiliornadau pabyddiaeth, llawer o'r pabyddion a ysgrifenasant lyfrau'n ei erbyn ef, ac yn mhlith ereill, Harry yr wythfed a ysgrifenodd o blaid i saith sacrament eglwys Rhufain, yn erbyn y diwygiwr enwog hwnw. Yr offeiriaid a ddyrchafasant y llyfr hwn o eiddo brenin Lloegr fel y gwaith doethaf a mwyaf godidog a dysgedig, a ymddangosodd yn yr oes honno; a'r Pab, fel gwobr iddo am y llyfr pabaidd hwn, a roddodd i Harry yr wythfed, a'r brenhinoedd a

Harry yr wythfed yn ysgrifenu o blaid i babyddiaeth.



[a] Camb. Register, Vol. I.

[b] Rapin.

CANT XVI.

ddeuai ar ei ol ef i orsedd Lloegr, y titl gogoneddus o Amddiffynwr y ffydd.[a] *

Awdurdod eglwysig Cardinal Woolsey.

Yr oedd Cardinal Woolsey, yr amser hyn, yn ymarferyd yr awdurdod uchaf dros holl offeiriaid, a phobl Lloegr, mewn achosion eglwysig: ac i'r dyben i gynnal y ddwy gymdeithas ardderchog ag oedd ef yn osod i fynu, y naill yn Rhydychen, a'r llall yn Ipswich, er annogaeth i ddysgedigion, a hyfforddiad i ieuengctyd, efe a gafodd awdurdod gan y Pab i dynu i lawr lawer o'r Mynachlogydd, i'r dyben i gael peth o'r tiroedd ag oedd yn perthyn iddynt, at gynnal y ddwy gymdeithas hyny. Ond fel na all y dynion mwyaf cyfrwys ganfod bob amser ganlyniad eu gweithredoedd, bu hyn yn siampl ac annogaeth i'r diwygwyr, wedi hyny, i dynu lawr yr holl Fynachlogydd trwy Loegr a Chymru.[b]

Harry

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 31.

* Yr oedd rhai brenhinoedd, yn yr amser gynt, yn cadw dynion difyr yn eu llysoedd, i wneuthur difyrwch iddynt pan fyddent yn isel eu hysbrydoedd. Gelwid y gwyr hyn yn ynfyd-ddynion, er fod rai o honynt yn wyr call. Dywedir i ynfyd-ddyn Harry yr wythfed, pan ddaeth i'r llys, a gweled y brenin yn fwy llawen nag arferol, i ofyn iddo beth oedd yr achos o hynny. Y brenin a attebodd, mai oblegid fod y Pab wedi ei anrhydeddu ef â thitl mwy ardderchog nag un o'i hynafiaid. O Harry dda, ebe yr ynfyd-ddyn, bydded i ni ein dau amddiffyn ein gilydd, a gad i'r ffydd yn llonydd i amddiffyn ei hun.

[b] Ibid. p. 8, 22.

Harry yr wythfed, gwedi bod yn agos i ugain mlynedd yn briod â Catharine o Arragon, a ddechreuodd gael ei aflonyddu gan ei gydwybod yn nghylch cyfreithlondeb ei briodas â'r hon ag oedd wedi bod yn wraig i'w frawd. Yr oedd rhai hefyd yn ammau hawl Mary, ei ferch ef o Catharine, i orsedd Lloegr yn ol ei ddyddiau ef. Harry, mewn canlyniad i'r pethau hyn, a anfonodd at y Pab, i ganiatau iddo ef awdurdod i roddi llythyr ysgar i'r frenhines Catharine, fel y gallasai efe fod yn rhydd i briodi gwraig arall; plant pa un a allasai deyrnasu yn gyfreithlon ar ei ol ef. Er fod tueddiad yn y Pab i gyd-agweddu â deisyfiad Harry; gan na wyddai efe pa fodd y gallasai, yn unol â'i egwyddorion pabaidd, i ddiddymu yr awdurdod a roddasid gan y Pab o'i flaen ef, i Harry briodi gweddw ei frawd; a chan ei fod yn ofni anfoddlonrwydd ymerawdwr Germany, yr hwn oedd nai i'r frenhines, efe a gadwodd Harry yr wythfed mewn ammheuaeth dros ddwy neu dair blynedd, heb roi un atteb penderfynol i'w ddeisyfiad.[a]

CANT XVI.

Harry yr wythfed yn edifarhau am briodi Catharine.

Harry yn anfon at y Pab am awdurdod i ysgaru Catharine.

Tra yr oedd y Pab yn oedi dwyn y peth hyn i benderfyniad, rhoddwyd gwys i'r frenhines Catharine i ymddangos ger bron ei genhadwyr ef yn Llundain, fel y gallent ei holi hi yn nghylch cyfreithlondeb ei phriodas. Ond Catharine, gwedi dyfod i'r llys, a ddywedodd na allasai hi gael

Catharine yn cael gwys i ymddangos yn y llys. O. C. 1529.

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 37, 45, 48.

CANT XVI.

gael dim cyfiawnder yn y llys hwnw, lle yr oedd y barnwyr oll yn ddeiliaid i'r brenin. Yn ganlynol, hi a wrthdystiodd yn erbyn y cenhadwyr, fel barnwyr anghymmwys yn y mater hwnw, ac a appeliodd at y Pab ei hun, fel yr unig un ag oedd yn gymmwys i farnu rhyngddi hi a'r brenin. Gwedi hyn, y frenhines a aeth allan o'r llys, ac ni ddychwelodd yno mwy. Er i'r frenhines appelio at y Pab, y cenhadwyr a aethant yn mlaen i holi y tystion, ond ni ddygasant hwy y mater i benderfyniad y pryd hyny.[a]

Harry yn ymgynghori â dysgedigion Europe.

Harry, yn chwennych priodi Anne Boleyn,* ac yn blino dysgwyl am benderfyniad y Pab, a gafodd ei gynghori gan Dr. Craumer i anfon i holl athrofäau Europe, i gael barn holl ddysgedigion yr oes honno, ar y ddau beth canlynol: 'Pa un a oedd yn unol â deddf Duw, i ŵr briodi 'gweddw ei frawd; a pha un a allasai y Pab 'ryddhau neb o'u rhwymau i ddeddf Duw?' Barnodd y rhan fwyaf o ddysgedigion Europe, Lutheriaid a Phabyddion, ond y rhai ag oedd yn byw yn agos i Rhufain, nad oedd ddim yn gyfreithlon i ŵr i briodi gweddw ei frawd; ac na allasai y Pab ddim rhyddhau neb oddiwrth eu rhwymau i ddeddf Duw.[b]

Tra

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 73, 74.

* Yr oedd Ann Boleyn yn ferch i Thomas Boleyn, iarll Wiltshire.

[b] Ibid. p. 79, 80—95.

Tra yr oedd y pethau hyn yn myned y'mlaen, yr oedd y diwygiad yn llwyddo yn Germany. Ac mewn cymmanfa luosog o dywysogion a gweinidogion y diwygwyr a gyfarfu yn Spire, yn Germany, hwy a wrthdystiasant yn erbyn mesurau yr Ymerawdwr, a'r Pab. Ac iddi yma y cododd yr enw Protestaniaid,* yr hwn a roddwyd, o hyny allan, i'r cyfryw rai ag sydd yn ymwrthod â chyfeiliornadau eglwys Rhufain.[a]

CANT XVI.

Y diwygwyr yn cael eu galw yn Brotestaniaid.

O. C. 1529.

Y brenin yn tybied nad oedd Cardinal Woolsey yn eithaf ffyddlon yn ei achos, a roddodd gwyn iddo, am ei fod, fel cenhadwr y Pab, gwedi cynnal llysoedd trwy awdurdod tramor, yn groes i hen gyfraith ag oedd wedi ei gwneuthur yn amser Richard yr ail. Gwedi cyfaddef ei fai, cafodd ei gyhoeddi allan o amddiffyniad y brenin, a'i holl feddiannau eu fforffedu. Ac mewn ychydig gwedi hyny, cafodd ei ddal am uchel-fradwriaeth; a danfonwyd am dano i Lundain. Ond Cardinal Woolsey, yn analluog i ddyoddef y fath waradwydd, a glafychodd ar y ffordd, ac a fu farw. Ychydig cyn iddo farw, efe a ddywedodd, 'Pe buaswn yn gwasanaethu 'fy Nuw gydâ y fath ffyddlondeb ag y gwasan-
'aethais

O. C. 1529.

* Gwrthdystwyr, neu Brotestaniaid; oddiwrth y gair Saesneg, Protest.

[a] Mosh. Eccles Hist. Vol. III. p. 339.

CANT XVI. 'aethais fy mrenin, ni fwriasai mo honof ymaith 'fel hyn yn fy mhen-wyni.[a]

Harry gwedi cael barn dysgedigion yr oes yn nghylch ei briodas â Chatharine, a ddanfonodd lythyr at y Pab, gwedi ei arwyddo gan lawer o aelodau y Senedd, ac o'r esgobion, i ddeisyf arno i ystyried cyfiawnder achos y brenin, ac i ddiddymu ei briodas ef â Chatharine, yn fuan; ac onid e, fod yn rhaid iddo ef gymmeryd rhyw fesurau ereill. Y Pab, mewn attebiad, a gyfaddefodd ei rwymau i'r brenin, ond nad allasai efe ddim gwrthod appeliad y frenhines i lys Rhufain.[b]

Cyhoeddiad y brenin. O. C. 1530.

Tra yr oedd pethau yn myned yn mlaen yn y dull hyn, y brenin a anfonodd allan gyhoeddiad, nad oedd i neb i bwrcasu, na dwyn trosodd, na chyhoeddi un awdurdod oddiwrth y Pab, yn groes i uchel-fraint coron Lloegr.[c] Llanwodd y cyhoeddiad hwn yr offeiriaid â dychryn mawr, oblegid eu bod hwy, fel Cardinal Woolscy, wedi bod yn euog o wneuthur y pethau a waherddid yntho. Ac mewn ychydig o amser, cawsant oll eu cyhoeddi allan o amddiffyniad y brenin, a chafodd eu holl feddiannau hwynt eu fforffedu. Yr offeiriaid,

[a] Burnert's Hist. Refor. p. 80, 81.

[b] Ibid. p. 95, 96.

[c] Ibid. p. 96.

offeiriaid, gwedi eu dwyn i'r cyflwr hwn, a ymostyngasant am eu bai; ac i'r dyben i bwrcasu heddwch y brenin, a gytunasant i dalu i'r drysorfa, Cant a deunaw mil, ac wyth cant a deugain o bunnau; ac hefyd i gyfaddef y brenin yn ben uchaf eglwys Loegr, yn nesaf at Grist, cyn belled ag yr oedd hyny'n unol â chyfraith Crist.[a]

CANT XVI.

Yr offeiriaid yn ymostwng i'r brenin. O. C. 1531.

Gwedi dwyn yr offeiriaid dan ei awdurdod, Harry a osododd farn y dysgedigion yn nghylch ei briodas ef â Chatharine, ger bron y senedd, a chymmanfa yr offeiriaid, a gyfarfu y pryd hyny. Cytunodd y senedd, a chymmanfa yr offeiriaid, fod y dysgedigion wedi barnu yn uniawn ar y pwngc mewn dadl, a bod priodas y brenin â Chatharine yn anghyfreithlon.[b] Yn nghymmanfa yr offeiriaid yr oedd dau cant, a thri ar ddeg a deugain, dros ysgaru y frenhines, a dim ond pedwar ar bymtheg yn erbyn hyny.[c] Yr oedd Henry Standish, esgob St. Asaph, yn un o'r rhai ag oedd yn erbyn ysgaru y frenhines.[d]

Barn y dysgedigion yn cael eu gosod ger bron y senedd. O. C. 1531.

Yn ol y pethau hyn, y brenin a ymneillduodd oddiwrth Catharine, ac a briododd Ann Boleyn. Pan glybu y Pab hyny, efe a anfonodd at y brenin,

Y brenin yn priodi Ann Boleyn O. C. 1532.



[a] Burnet's Hist. Refor. p. 112, 113.

[b] Ibid. p. 106.

[c] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

[d] Fuller's Church Hist. B. V.

CANT XVI.

nin, i ddymuno arno i anfon ymaith Ann Boleyn, a galw y frenhines yn ol, gan nad oedd y pwngc mewn dadl wedi ei benderfynu yn llys Rhufain. Ond gan fod y brenin o'r farn fod y Pab yn cymmeryd ei lywodraethu yn fwy gan elw bydol, nâ chan ei gydwybod yn y mater yma, efe a wrthododd roddi ufudd-dod iddo yn hyn.[a]

Cyfraith yn erbyn gwneuthur appêl i lys Rhufain. O. C. 1533.

Gan fod coron Lloegr yn ymerodraidd, a'r genedl yn gorph perffaith, a chanddi awdurdod i farnu gob achosion a berthynant iddi; cytunodd y senedd na byddai i un appêl gael ei wneuthur o hyny allan at lys Rhufain, mewn achosion a berthynant i briodas; ond fod y pethau hyn i gael eu barnu gan yr arch-esgob, a chymmanfa'r offeiriaid yn y wlad hon.[b] Mewn canlyniad i'r gyfraith hon, yr offeiriaid, gwedi cyfarfod mewn cymmanfa, a farnasant fod priodas Harry â Chatharine yn ddirym; a Cranmer, yr hwn oedd y pryd hyn yn arch-esgob Canterbury, a roddodd ddedryd o ysgariaeth, yn gyfattebol. Ac mewn ychydig o ddyddiau wedi hyny, efe a gadarnhaodd briodas y brenin âg Ann Boleyn; a chafodd Ann, mewn canlyniad, ei choroni yn frenhines.[c] Pan ddaeth hyn i glustiau'r Pab, efe a ddigiodd i'r fath raddau,

Catharine yn cael ei hysgaru, ac Ann yn cael ei choroni. O. C. 1533.

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 114—119.

[b] Ibid. p. 126.

[c] Ibid. p. 131.

Bu Harri yr viii yn briod a chwech gwraig gweler hanes prydain gan T. Lewis.

raddau, fel ag y dygodd efe y mater yn uniongyrch i derfyn, ac a gyhoeddodd fod priodas y brenin â Chatharine yn dda; ac a orchymmynodd iddo fyw gydâ hi fel ei wraig, ac onid ê, fod yn rhaid cyhoeddi barn yr eglwys yn ei erbyn. Ond yr oedd y brenin wedi myned yn rhy bell i dynu yn ol; ac er ei fod yn parhau yn babydd yn ei farn, efe a fwriadodd i ysgwyd ymaith iau y Pab yn hollol, fel na byddai ganddo un math o awdurdod arno ef, na neb o'i ddeiliaid.[a]

CANT XVI.

Y Pab yn ddig wrth frenin Lloegr.

Yn ganlynol, pan gyfarfu y senedd, gwnaethpwyd cyfraith i ddiddymu holl awdurdod y Pab yn ynys Brydain.[b] Ac mewn ychydig o amser gwedi hyny, cyhoeddwyd y brenin yn ben uchaf eglwys Loegr ar y ddaear, âg awdurdod ganddo i ddiwygio pob cyfeiliornadau a cham-driniaethau mewn achosion eglwysig.[c] Felly cafodd awdurdod y Pab ei drosglwyddo i'r brenin, heb wneuthur un math o sylw ar gymmanfa yr offeiriaid, na rhoddi un rhydd-did i'r cyfryw gydwybodau nad oedd yn abl i gydsynio â'r cyfryw osodiad. Dyma lle y dechreuodd y diwygiad; ond yr oedd eglwys Loegr etto yn babaidd. A chan fod y brenin gwedi ei osod yn lle y Pab, cytunodd y senedd i roddi i'r brenin y blaen-

Y senedd yn diddymu holl awdurdod y Pab yn Lloegr. O. C. 1534.

 ffrwythau,

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 136.

[b] Ibid. p. 144.

[c] Ibid. p. 157.

CANT XVI.

ffrwythau,* a'r degfed o'r personaethau, ag a anfonid cyn hyny i Rhufain.[a] Gan fod llawer o achwyniadau yn cael eu gwneuthur yn erbyn y llysoedd eglwysig am eu creulondeb i'r cyfryw rai ag oedd yn ffafrol i'r diwygiad, cytunwyd yn y senedd, fod i bawb ag a gaent eu cyhuddo o gyfeiliornadau, o hyny allan, i gael eu barnu gan reithwyr, fel mewn achosion ereill.[b]

Awdurdod arglwyddi y mers.

O ddyddiau William y Gorchfygwr, hyd yr amser hyn, yr oedd arglwyddi y mers mewn meddiant o ran fawr o bob sir yn Nghymru. Yr oedd llawer o'r arglwyddi hyny yn teyrnasu fel brenhinoedd bach, â chyfreithiau ganddynt, priodol iddynt eu hunain, yr hyn oedd yn achos i lawer o annedwyddwch yn y wlad yn gyffredinol. Er fod llawer o frenhinoedd Lloegr yn gweled aumhriodoldeb ac anghyfleustra y pethau hyn, nid oeddent yn abl i'w dwyn i well trefn. Yr oedd etifeddiaethau arglwyddi y mers yn eu teuluoedd er ys blynyddoedd lawer; ac nid oedd yn bosibl i'w difuddio o honynt, ond trwy rym arfau.

* Yr oedd blaen-ffrwythau esgobaeth Tŷ Ddewi yn £337 a 10s. bob blwyddyn; blaen-ffrwythau esgobaeth Llandaf yn £157 a 10s. blaen-ffrwythau esgobaeth Bangor yn £28 a 7s. a blaen-ffrwythau esgobaeth St. Asaph yn £28 a 7s. bob blwyddyn.

Fuller's Ch. Hist. B. V.

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 157.

[b] Ibid. p. 147.

arfan. Ond Harry y seithfed, trwy bwrcas, trosglwyddiad, a ffyrdd ereill, a ddaeth mewn meddiant o amryw o honynt; a Harry yr wythfed a aeth yn mlaen â'r hyn a ddechreuasai ei dad, fel ag y daeth y rhan fwyaf o arglwyddiaethau y mers i feddiant y llywodraeth.[a] Mewn canlyniad i hyn, cafodd Cymru ei hollol gorpholi â Lloegr; a chytunwyd yn y senedd i ddiddymu awdurdod brenhinol arglwyddi y mers, a gwneuthur eu baroniaethau hwynt yn siroedd. Cafodd llawer o siroedd newyddion eu ffurfio y pryd hyny, megis sir Fynwy, sir Frycheiniog, sir Faeshyfed, sir Drefaldwyn, sir Dinbych, sir Aberteifi, sir Gaerfyrddin, sir Benfro, a sir Forganwg;* a chafodd amryw arglwyddiaethau eu cyssylltu â phob sir fel rhan o honi. Cafodd pedair arglwyddiaeth ar hugain eu cyssylltu â sir Fynwy; un ar bymtheg â sir Frycheiniog; un ar bymtheg â sir Faeshyfed; un ar ddeg â sir Drefaldwyn; naw â sir Dinbych; pedair â sir Aberteifi; wyth â Chaerfyrddin; tair ar ddeg â sir Benfro; a dwy ar bymtheg â sir Forganwg. Yr oedd sir Fflint, sir Gaernarfon, sir Feirionydd, a sir Fon, gwedi eu ffurfio ychydig cyn hyn. Er i Gymru gael ei huno â Lloegr yn amser

CANT XVI.

Holl Gymru yn cael eu dosparthu yn siroedd. O. C. 1536.

[a] Owen's British Remains.

* Er mai y pryd hyn y cafodd Cymru ei dosparthu yn siroedd, yr oedd yr enwau a roddir ar y siroedd, gwedi eu rhoddi i amryw o'r parthau hyny o Gymru cyn hyny.

CANT XVI.

Siroedd Cymru yn cael eu cynddrychioli yn senedd Lloegr.

ser Edward y cyntaf, ni chafodd ei chynddrychioli yn senedd Lloegr hyd amser Harry yr wythfed. Gwedi i Gymru gael ei dosparthu yn siroedd, trefnwyd i'r siroedd hyny anfon cynddrychiolwyr i senedd Lloegr, fel y gallai pob sir yn Nghymru gael eu cynddrychioli fel siroedd Lloegr. Gwnaethpwyd llawer o ddiwygiad yn y cyfreithiau ag oedd yn dwyn perthynas â Chymru, gwedi iddi gael ei chynddrychioli yn briodol yn senedd Lloegr.* Er i'r Cymry fod hir amser gwedi hyn yn nhywyllwch pabyddiaeth, yr oedd y mesurau newyddion hyn yn ffafrol iawn, pan oedd gwawr ddydd y diwygiad yn dechreu tywynu ar ein gwlad.

Y diwygiad yn cynhyddu.

Bu ysgariaeth eglwys Loegr oddiwrth eglwys Rhufain, yn foddion i ddiwygio ei hathrawiaethau i ryw raddau; ond yr oedd yr offeiriaid cyffredin yn parhau mor fywiog dros yr hen farn ag erioed: a dywedir eu bod yn cael eu cefnogi yn hyny gan y duc o Norfolk, a changhellwr More, a Gardiner, esgob Winchester, a chan Fisher, esgob Rochester. Ond yr oedd rhai o'r uchelfonedd, a'r esgobion, am fwy o ddiwygiad; yn mhlith y rhai hyn yr oedd Ann Boleyn y frenhines, arglwydd Cromwell gwedi hyny iarll Essex, Dr. Cranmer arch-esgob Canterbury, Shaxton esgob Salisbury, Latimer esgob Worchester,

* 27 Henry 8th, c. 26, and 34 and 35 H. 8th, 26.

chester, a Barlow esgob Tŷ Ddewi. Fel ag yr oedd y rhai hyn, yn fwy neu yn llai, yn ffafr y brenin, felly yr oedd y diwygiad mewn crefydd, yn myned yn mlaen neu yn ol trwy ei holl deyrnasiad ef.[a]

Y Mynachod yn elynol i'r diwygiad.

Yr oedd y mynachod, yn gyffredin, yn fwy yn erbyn y diwygiad nâ neb ereill; ac yn dywedyd yn gyhoeddus yn erbyn yr hyn ag oedd y brenin yn ei wneuthur, ac yn cynhyrfu y bobl i wrthryfela. Y brenin, gan hyny, a benderfynodd i'w darostwng hwynt; ac i'r dyben hyny, efe a anfonodd wyr cymmwys i ymweled â'r holl Fynachlogydd, i gael gwybod pa fodd yr oedd pethau yn cael eu dwyn yn mlaen ynddynt; a pha un a oedd y mynachod yn cadw at y rheolau a osodasid iddynt gan seilwyr yr amrywiol Fynachlogydd. Ellis Price, a John ab Price, oedd y gwyr a osodwyd i ymweled â Mynachlogydd Cymru. Oddiwrth yr hanes a roddwyd gan yr ymwelwyr, y mae yn eglur fod y Mynachlogydd, y pryd hyn, yn llawn o'r anfoesoldeb a'r ffieidd-dra mwyaf. Cytunodd y senedd, gan hyny, i dynu lawr yr holl Fynachlogydd, trwy Gymru a Lloegr, ag oedd o dan ddau cant o bunnau y flwyddyn. Mewn canlyniad i hyn, cafodd tri chant ac un ar bymtheg a thrugain o Fynachlogydd eu gosod i lawr, trwy yr holl deyrnas; ardrethi pa rai oeddent yn ddeuddeg mil ar hugain o bunnau

Anfoesoldeb y Mynachod.

Y Mynachlogydd lleiaf yn cael eu gosod i lawr.

O. C. 1536.

y flwy-

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

CANT XVI. y flwyddyn; heblaw y llestri aur ac arian, a'r dodrefn, y rhai a gyfrfid yn werth can mil o bunnau yn ychwaneg. Rhoddwyd pum swllt a deugain i bob gwr crefyddol a anfonwyd o'i gell; ac yr oedd yr amser hyny, trwy yr holl deyrnas, oddi amgylch deng mil o'r cyfryw. Sefydlwyd gwobr gyflog ar y llywodraethwyr, a gosodwyd y mynachod mewn personaethau, mor fuan ag yr oeddent yn dyfod yn wag; a thrwy hyny, cafodd llawer o'r personaethau eu perchenogi gan elynion gwaethaf y diwygiad.[a]

Tyndal yn cyfieithu yr ysgrythurau.

William Tyndal, yr hwn a anwyd ar gyffiniau Cymru, ac a ddygwyd i fynu, yn gyntaf, yn Rhydychen, ac wedi hyny yn Cambridge, oedd ŵr duwiol a dysgedig iawn; ac fel ewyllysiwr da i achos y diwygiad, efe a benderfynodd i gyfieithu'r ysgrythurau i'r iaith Saes'neg.* Ond gan nad allasai argraffu yr ysgrythurau yn Lloegr y pryd hyny, heb wneud ei hun yn agored i erledigaeth a chosp, efe a aeth drosodd i Germany, ac wedi ymweled â Luther, a chyfeillion y diwygiad yn y wlad honno, efe a sefydlodd yn nhref Antwerp. Tra yr oedd Tyndal yn Antwerp, efe a argraffodd y Testament Newydd yn y iaith Saes-

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 190, 191. Neal's Hist. Purit. Vol. I.

* Yr oedd llyfrau Wicliff gwedi eu galw i mewn, a'u llosgi, cyn i'r gelfyddyd o argraffu gael ei dwyn i Loegr.

Saesneg;† ac mewn ychydig o flynyddoedd gwedi hyny, efe a aeth i Hamburgh, ac yn y dref honno, efe a argraffodd, yn gyntaf, bum llyfr Moses, ac wedi hyny yr holl Fibl, yn y iaith Saesneg.* Pan welodd y pabyddion fod llafur y gwr duwiol hwn yn llwyddo i ddiddymu pabyddiaeth, penderfynasant i'w osod ef i farwolaeth; ac wedi ei fradychu gan un Henry Philips, o'r wlad hon, cafodd William Tyndal ei roddi i fynu i ddwylaw ei elynion, a'i ferthyru yn Fflanders.[a] CANT XVI.

Awydd y bobl am yr ysgrythurau.

Pan ddaeth y cyfieithad o'r Testament Newydd, gan Tyndal, gyntaf i Loegr, cafodd ei ddarllen yn awyddus gan y bobl; ond yr esgobion, yn ofni y buasai hyny yn foddion i gynhyddu y diwygiad yn Lloegr, a achwynasant wrth y brenin, yr hwn a roddodd orchymmyn i alw cyfieithad Tyndal i mewn, ac a addawodd y buasai i gyfieithad mwy cywir gael ei gyhoeddi. Ond yr oedd yn anmhosibl i attal awydd y bobl cyhyd; ac er fod yr esgobion yn prynu ac yn llosgi cynnifer o Destamentau Tyndal, ag a allasent gael, yr oeddent yn cael eu hargraffu drachefn yn Antwerp, a'u dwyn gan farsiandwyr i Lundain,



† Yn y flwyddyn 1527.

* Yr oedd Miles Coverdale, a John Rogers, yn cynnorthwyo Tyndal i gyfieithu yr hen Destament.

[a] Fox's Martyrs, Vol. II.

CANT XVI.

Lundain, a'u gwasgaru yn ddirgel yn mhlith eu cydnabyddiaeth a'u cyfeillion.[a]

Er cymmaint oedd ymdrech y pabyddion i attal taeniad yr ysgrythurau yn Lloegr, Duw, yr hwn sydd â chalonau pawb yn ei law, ac yn sicr i ddwyn ei amcanion daionus i ben, a dueddodd lawer o'r esgobion i ddymuno cael yr ysgrythurau yn y iaith gyffredin. A chytunwyd yn nghymmanfa yr offeiriaid y flwyddyn hon, i anfon deisyfiad at y brenin, i ddymuno ar ei fawrhydi i roddi gorchymmyn i gyfieithu yr holl Fibl i'r iaith Saesneg, a'i osod i fynu yn yr holl eglwysi. Er fod llawer o'r offeiriaid yn erbyn hyn, gan fod y nifer mwyaf lluosog drosto, y brenin a ganiataodd ddeisyfiad y gymmanfa, ac a roddodd orchymmyn i gyfieithu yr ysgrythurau. Ond er i'r brenin roddi y gorchymmyn hwn, yr hen esgobion oeddynt hwyrfrydig iawn i fyned yn nghyd â'r gorchwyl angenrheidiol ac anrhydeddus o gyfieithu yr ysgrythurau. Cranmer, gan hyny, a ddiwygiodd gyfieithad Tyndal, ac a'i hanfonodd i'w argraffu.[b]

Gorch-ymmyn i argraffu y Bibl. O. C. 1536.

Yr oedd Ann Boleyn yn frenhines rinweddol a duwiol, ond yn annoeth yn ei hymddygiad. A chan ei bod yn ffafrol i'r diwygiad, y pabyddion a wnaent

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

[b] Burnet's Hist. Refor. p. 194, 195. Neal's Hist. Parit. Vol. I.

a wnaent fanol sylw o'i geiriau a'i gweithredoedd hi. Pan ddeallasant fod y brenin yn dechreu oeri yn ei gariad tu ag atti hi, hwy a wnaethant eu gorau i'w berswadio nad oedd y frenhines ddim mor ffyddlon iddo ef ag y dybasai. Mewn canlyniad i hyn, cafodd Ann Boleyn ei hanfon i Dŵr Llundain; ac mewn ychydig o ddyddiau gwedi hyny, cafodd ei phrofi am anniweirdeb, rhag-gytundeb priodas, ac am gyd-fwriadu marwolaeth y brenin. Er nad oedd ond ychydig, neu ddim prawf o'r pethau hyn, yr arglwyddi, rhag ofn anfoddloni y brenin, a'i barnasant hi yn euog; a chafodd ei gosod i farwolaeth yn Nhŵr Llundain. A thranoeth, y brenin a briododd Jane Seymour, yr hon oedd gwedi bod yn un o law-forwynion y frenhines.[a]

CANT XVI.

Ann Boleyn yn cael ei chyhuddo, a'i gosod i farwolaeth. O. C. 1536.

Y brenin yn priodi Jane Seymour.

Gan fod amrywiaeth o athrawiaethau yn cael eu pregethu, y pryd hyn, trwy yr holl wlad, y brenin, a chymmanfa yr offeiriaid, i'r dyben i ddwyn mwy o gyd-ymffurfiad barn rhwng yr offeiriaid, a gytunasant ar yr erthyglau canlynol, y rhai sydd yn dangos ansawdd y diwygiad y pryd hyny.

Erthyglau crefydd a gytunwyd arnynt y pryd hyn.

1. 'Fod i'r holl bregethwyr addysgu eu pobl 'i gredu yr holl Fibl, a'r tair credo, sef, credo'r 'apos-

Ysgrythur a'r credôau.

3 E 2

[a] Burnert's Hist. Refor. p. 196—207.

CANT XVI. 'apostolion, Nicea, ac Athanasius; a dehongli 'pob peth wrthynt.'

Bedydd. 2. 'Fod bedydd yn ordinhad o osodiad Crist, 'ac yn angenrheidiol er iachawdwriaeth; fod 'babanod i gael eu bedyddio er maddeuant o 'bechod gwreiddiol; a bod barn y Bedyddwyr* 'a'r Morganiaid yn gyfeiliornus.'

Penyd. 3. 'Fod penyd, sef, edifeirwch, cyfaddefiad a 'diwygiad bywyd, yn nghyd â gweithredoedd o 'gariad, yn angenrheidiol er iachawdwriaeth; a 'bod yn rhaid ychwanegu attynt ffydd yn nhru-'garedd Duw, y bydd iddo ein cyfiawnhau, nid 'er mwyn dim haeddiant ag sydd ynom ni, ond 'er mwyn haeddiant dyoddefiadau Crist yn un-'ig. Etto fod yn angenrheidiol i gyfaddef wrth 'yr offeiriad, a bod ganddo awdurdod, yn ol 'geiriau Crist, i'n rhyddhau. Ac er fod pech-'adur yn cael ei gyfiawnhau trwy haeddiant 'Crist, fod yn rhaid hyfforddi y bobl yn yr ang-'enrheidrwydd o weithredoedd da.'

Defnydd cyfiawnhad.

4. 'Fod

* Ail-fedyddwyr y gelwid hwynt y pryd hyny, oblegid eu bod yn bedyddio y rhai hyny mewn oedran, ag oedd gwedi cael eu bedyddio o'r blaen yn eu mebyd. Nid oedd ond ychydig o flynyddoedd er pan oedd y blaid hon gwedi dyfod o Germany i Loegr; ac nid ymddengys fod llawer, os oedd neb, o drigolion Brydain o'r blaid hon, y pryd hyn. Er iddynt ddyoddef llawer, cynhyddasant yn y wlad hon, gwedi i'r diwygiad gael ei sefydlu.

Wall's Hist. Inf. Bap. Part II. Chap. 8.

CANT XVI.

4. 'Fod y bara a'r gwin yn y swper sanct-'aidd yn wir gorph a gwaed Crist.'

Swper sanctaidd.

5. 'Fod cyfiawnhad yn cynnwys maddeuant 'pechodau, a pherffaith adnewyddiad natur, yn 'Nghrist.'

Cyfiawnhad.

6. 'Fod yr ysgrythurau yn awdurdodi ymar-'feriad o ddelwau, a'i bod yn addas i'w gosod i 'fynu yn yr eglwysi: ond fod y bobl i gael eu 'haddysgu, mai i Dduw, ac nid i'r ddelw, y by-'ddent i dalu addoliad, pan y byddont yn ym-'grymu ger ei bron.'

Delwau.

7. 'Fod y bobl i gael eu haddysgu i beidio 'dysgwyl y rhoddion hyny oddiwrth y saint, ag 'sydd yn deilliaw oddiwrth Dduw yn unig; ond 'fod yn angenrheidiol iddynt i'w hanrhydeddu 'hwynt, i ddiolch i Dduw am danynt, ac i ddi-'lyn eu siamplau da.'

Saint.

8. 'Fod yn dda i weddio ar y saint, ar iddynt 'hwy weddio trosom.'

Gweddio ar y saint.

9. 'Fod defodau yn dda, a bod iddynt ar-'wyddocad ddirgel; megis gwisgoedd yn addol-'iad Duw; taenellu dwfr sanctaidd, i'n gosod 'mewn cof o'n bedydd, ac o waed Crist; rhoddi 'bara sanctaidd, fel arwydd o'n hundeb â Christ; 'dwyn canhwyllau oddiamgylch ar Wyl Fair y 'canhwyllau, mewn coffadwriaeth o Grist, ein 'goleuni ysbrydol; rhoddi lludw ar ddydd Mer-cher

Defnyddioldeb defodau.

CANT XVI.

'cher y lludw, i'n gosod mewn cof o'n penyd a'n 'marwoldeb; dwyn palmwydd ar Sul y blodau, 'i ddangos ein dymuniad i dderbyn Crist i'n calonau, megis y derbyniwyd ef i Jerusalem; 'ymlusgo at y groes ar ddydd Gwener y croglith, a'i chusanu hi, mewn cof o farwolaeth 'Crist; yn nghyd â gosod y bedd i fynu y diwrnod hwnw, sancteiddio y bedydd-faen, a llawer 'o arferion ereill.'

Gweddio dros y meirw.

10. 'Fod yn dda i weddio dros y meirw; ond 'gan na wyddys pa le y maent, na pha faint yw 'gradd eu poenau, y dylid eu gadael hwynt i 'drugaredd Duw. Fod pob cam-driniaeth o'r 'athrawiaeth hon i gael ei fwrw ymaith; a'r 'bobl i gael eu rhyddhau oddiwrth y grediniaeth 'fod maddeuant y Pab, neu ddarllen y gwasanaeth mewn rhyw le pennodol, o flaen rhyw 'ddelw, yn ddigonol i waredu eneidiau o'r purdan.' [a]

Gorch-ymynion newydd-ion i'r offeiriaid. O. C. 1536.

Er i'r erthyglau hyn gael eu cyhoeddi trwy awdurdod y brenin, yr oedd gormod o babyddiaeth ynddynt i rai, a rhy fach i ereill, o'r offeiriaid i'w llyngcu. Ac oblegid i lawer o'r offeiriaid i wrthod eu cyhoeddi hwynt i'r bobl, y brenin, fel pen yr eglwys, heb gydsyniad y senedd, a gyhoeddodd y gorchymmynion canlynol, i'r dyben i ddwyn yr holl offeiriaid, pabaidd a phre-

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 215—217.

phrotestanaidd, mewn ufudd-dod i'w lywodraeth. CANT XVI.



1. 'Fod yr offeiriaid i gyhoeddi ddwy waith 'bob tri mis, nad oedd un sylfaen ysgrythurol i 'draws-arglwyddiaeth y Pab; ond fod uchafiaeth y brenin yn unol â gair Duw.'

2. 'Fod yr offeiriaid i gyhoeddi yr erthyglau 'ffydd, a anfonasid allan trwy orchymmyn y 'brenin, yn nghyd â'i gyhoeddiad yn nghylch 'dilëad y gwyliau a gedwid yn amser y cynhau'af.'

3. 'Fod iddynt gynghori y bobl i beidio a 'gwneuthur pererindodau i saint, ac i'w hannog 'i aros gartref, gofalu am eu teuluoedd, a chadw 'gorchymmynion Duw.'

4. 'Fod iddynt annog plant i ddysgu gweddi 'yr Arglwydd, y gredo, a'r deg gorchymmyn, yn 'y iaith Saesneg.'

5. 'Fod iddynt ofalu fod yr ordinhadau yn 'cael eu gweini yn barchus, yn eu hamrywiol 'blwyfau.'

6. 'Nad oedd dim i'r offeiriaid i fynych gyr'chu i dafarn-dai, nac eistedd yn hir mewn 'chwareuon, ond rhoddi eu hunain i fyfyrio yr 'ysgrythurau, ac i fywyd sanctaidd.'

7. 'Fod i bob perchen personiaeth, ag oedd

'yn

CANT XVI.

'yn derbyn ugain punt y flwyddyn oddiwrth ei 'bersonaeth, ond heb fyw ynthi, i roddi y ddeu-'geinfed ran o honi i'r tlodion.'

8. 'Fod i bob perchen personaeth o gan punt 'yn y flwyddyn, i gynnal un ysgolhaig yn y brif 'athrofa; a chynnifer ysgolhaig am gynnifer can 'punt yn y flwyddyn.'

9. 'Fod y bummed rhan o elw y personaeth-'au i gael ei roddi at adgyweirio y bicer-dŷ, os 'byddai angenrheidrwydd.'

Anfoddlonrwydd yr offeiriaid pabaidd.

10. 'Fod i'r offeiriaid gadw yr holl orchym-'mynion hyn, neu y caent eu neillduo o'u swydd-'au, nes y byddent yn foddlon i'w cadw.'

Yr oedd y gorchymmynion hyn yn annerbyniol iawn gan yr offeiriaid llygredig a phabaidd, oblegid fod y brenin yn gorchymmyn iddynt wneuthur y pethau hyny, am ba rai yr oedd y Lolardiaid yn cael eu llosgi ychydig o flynyddau cyn hyny. Ac hefyd oblegid ei fod ef yn ychwanegu at eu dyledswyddau, ac ar yr un amser yn eu hanrheithio o'r elw ag oeddent yn gael oddi wrth ddelwau, pererindodau, ac arferion pabaidd ereill. A bu hyn yn achos i beri llawer o'r offeiriaid i annog y bobl i wrthryfela yn erbyn y llywodraeth.[a]

Ond

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 225—227.

Ond er cymmaint oedd o gynhyrfiadau mewn amrywiol leodd yn Lloegr, nid oedd dim a rwystrai y brenin i fyned â'i waith yn mlaen. Gwedi gosod yr holl Fynachlogydd trwy Gymru a Lloegr i lawr, anfonwyd ymwelwyr i ddinystrio y delwau, a gwrthddrychau coel-grefyddol ereill, a allasai fod yn aros trwy y deyrnas. Ellis Price, yr hwn oedd gwedi ei anfon ar y gorchwyl hwn i esgobaeth St. Asaph, a gafodd yn yr esgobaeth honno ddelw fawr, yr hon a elwid Darfel Gatheren, neu Darfel Gatherel, ac a'i hanfonodd i Lundain, lle y gwasanaethodd yn danwydd i losgi y mynach Forrest, am iddo ddywedyd nad oedd y brenin yn ben i'r eglwys. Dywedir fod gan wŷr Gwynedd barch mawr y pryd hyny i'r ddelw hon, a bod rhwng pump a chwech cant o bererinion gwedi dyfod i'w haddoli hi ar yr amser yr oedd Ellis Price yn y fan lle yr oedd yr eilun hwn. Yr oedd rhai o'r pererinion hyny gwedi dyfod âg anifeiliaid, ac ereill âg arian i offrymu i Darfel Gatheren; ac yr oedd y bobl, yn gyffredin, yn credu, fod gan Darfel Gatheren allu i gadw o uffern, bawb a offryment iddi. Dr. Barlow,* hefyd, yr hwn

CANT XVI.

Delw-addoliad y Cymry. O. C. 1538.

Canlyniadau pabyddiaeth.

3 F oedd

* Yr oedd esgob Barlow yn ŵr priod, a chanddo bump o ferched, y rhai a briodasant bum esgob. Ac i'r dyben i ddarparu drostynt, esgob Barlow a ddynoethodd ben y llys esgobaethol yn Nhŷ Ddewi, er mwyn y plwm ag oedd arno. Ac y mae yn debygol nad oedd ardreth yr esgobaeth dros

CANT XVI.


oedd yn esgob Tŷ Ddewi y pryd hyn, a ddywedai fod offeiriaid a mynachod ei esgobaeth ef yn llawn o'r anwybodaeth a'r annuwioldeb mwyaf, ac yn euog o eilun-addoliaeth paganaidd. Yr hyn oedd yn tynu fwyaf o bererinion ac anrhegion i gymmydogaeth Tŷ Ddewi, y pryd hyny, oedd delw Mair y forwyn, a chanwyll gŵyr yn ei llaw. Yr oedd y bobl yn ei pharchu yn fawr, ac yn ei haddoli, ac yn credu hefyd i'r ganwyll gŵyr ag oedd yn llaw y ddelw, i losgi dros naw mlynedd, nes i ryw un dyngu anudon arni, ac iddi ddiffoddi. Pobl cymmydogaeth Tŷ Ddewi, y pryd hyny, oeddent mor goel-grefyddol, fel nad oedd dim a lwyddai i'w diwygio. Esgob Barlow, gan hyny, a ymdrechodd, hyd eithaf ei allu, i gael rhydd-did i drosglwyddo yr eistedd-le esgobaethol o Dŷ Ddewi i Gaerfyrddin, ond ni's gallodd.[a]

Y Pab yn ysgymune Harry yr wythfed. O. C. 1538.

Pan wybu llys Rhufain pa fodd yr oedd pethau yn myned yn mlaen yn Lloegr, a bod pob gobaith o gymmod gwedi darfod, y Pab a gyhoeddodd ddedryd o ysgymundod yn erbyn yr holl deyrnas, gan ddifuddio y brenin o'i goron a'i urddas, a gwahardd i'w ddeiliaid i ufuddhau iddo, a thywysogion tramor i gyfeillachu âg ef.

Gorch-

ddeuddeg mlynedd, ddim yn ddigonol i wneuthur y golled i fynu.

Brown Willis.

[a] Barnet's Hist. Refor. p. 243.

Gorchymmynodd hefyd i'r holl offeiriaid i ymadael o'r deyrnas, ac i'r uchel-fonedd i gyfodi mewn arfau yn erbyn y brenin. Y brenin, i'r dyben i ddyogelu ei hun rhag canlyniadau drwg taranau Rhufain, a anfonodd allan gyhoeddiad, gwedi cael ei arwyddo gan yr holl esgobion, yn erbyn traws-arglwyddiaeth y Pab, ac na roddodd Crist un awdurdod brenhinol i neb o'i apostolion, neu eu dilyniedyddion; a bod pob esgob ag sydd yn honni yr awdurdod hwnw, yn dymchwelyd teyrnas Crist.[a] CANT XVI.

Y Bibl Saesneg yn cael ei argraffu. O. C. 1538.

Y flwyddyn hon, cafodd y Bibl Saesneg ei orphen, a'r brenin a roddodd orchymmyn i'w holl ddeiliaid i'w ddarllen yn ddi-arswyd; ac hefyd i'r offeiriaid i osod un yn mhob eglwys, ac annog y bobl i'w ddarllen, fel gwir air Duw, yr hwn a ddylai pob cristion ei gredu, ei gofleidio, a'i ddilyn, os myn fod yn gadwedig. Gorchymmynodd hefyd fod pregeth yn mhob eglwys bob tri mis, o leiaf, fel y gallai y bobl glywed yr ysgrythurau yn cael eu hagor; ac hefyd i gael annogaethau i gariad, trugaredd a ffydd, ac na byddent i ymddiried mwyach i weithredoedd dynion, nac i bererindodau, delwau, na phethau coel-grefyddol, cyffelyb i'r rhai hyn. Yr oedd y pethau hyn â thueddiad ynddynt i roddi marwol glwyf i babyddiaeth; ac y mae yn debygol na



[a] Burnet's Hist. Refor. p. 245—249.

CANT XVI. na ddywedodd y pabyddion, yn awr, fawr yn eu herbyn. Y flwyddyn cyn hon, y frenhines, Jane Seymour,* a esgorodd ar fab, a galwyd ei enw ef Edward. Bu genedigaeth Edward yn achos o lawenydd mawr i'r protestaniaid, ond yn siomedigaeth i'r pabyddion, y rhai oeddent mewn gobaith y buasai Mary, merch Harry o Catharine o Arragon, yn dyfod i'r orsedd ar ol ei thad. Ond gwedi geni y tywysog, darfu am eu holl obaith, a thybiasant mai gwell oedd iddynt roddi ufudd-dod i orchymmynion y brenin, er mor groes oeddynt i'w daliadau hwynt.[a]

Pabyddiaeth Harry. Er cymmaint oedd y brenin yn ddywedyd, ac yn wneuthur yn erbyn rhai o athrawiaethau cyfeiliornus pabyddiaeth, y mae yn debygol mai pabydd oedd ef etto. Ac i ddangos ei sel yn erbyn y rhai a ddywedent nad oedd y bara a'r gwin yn y swper sanctaidd, ddim yn cael eu troi yn wir gorph a gwaed Crist, efe a roddodd orchymmyn i losgi y ffyddlon John Lambert, am ei fod yn dywedyd felly. Yr oedd John Lambert gwedi bod yn weinidog yn Antwerp, ac yn ysgol-feistr yn Llundain; a phan oedd yn llosgi yn y tân, efe a lefodd allan, 'Neb ond Crist, neb 'ond Crist.'[b]

Merthyrdod Lambert. O. C. 1538.

Y

* Bu farw y frenhines yn mhen dau ddiwrnod wedi geni Edward, er mawr alar i'r brenin, a chyfeillion y diwygiad. Harry a briododd ddwy waith gwedi hyny.

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 249, 250. [b] Ibid. p. 254.

CANT XVI.

Y brenin yn ewyllysio yn fawr i ddwyn ei holl ddeiliaid i'r un farn mewn crefydd, a lwyddodd gydâ y senedd i gytuno i'r dyben hyny, ar y chwech erthygl ganlynol: 1. 'Fod y bara a'r 'gwin yn y swper sanctaidd yn wir gorph a 'gwaed Crist.' 2. 'Fod y bara neu y gwin, yn 'unig, yn ddigonol i'r bobl yn gyffredin; gan 'fod corph Crist yn cynnwys ei waed, a'i waed 'yn cynnwys ei gorph.'* 3. 'Nad yw yn gyf-'reithlon i offeiriaid i briodi.' 4. 'Fod yn 'rhaid cadw addunedau o ddiweirdeb.' 5. 'Fod 'yr offeren ddirgel i gael ei chynnal.' 6. 'Fod 'cyffes ddirgel i'r offeiriaid yn angenrheidiol.' Cytunwyd hefyd, y byddai i bwy bynag a ddywedai ddim yn erbyn y chwech erthygl hyn, i gael ei losgi. Arch-esgob Cranmer a wnaeth ei oreu i lwyddo gydâ y brenin a'r senedd i beidio a gwneuthur y fath erthyglau; a thywysogion Germany a ysgrifenasant at y brenin, i ddymuno arno eu diddymu, ond ni fynai Harry wrando arnynt.[a]

Deddf y chwech erthygl. O. C. 1539.

Mewn canlyniad i'r erthyglau hyn, cafodd pum cant o bobl eu carcharu; ond arch-esgob Cranmer, ac arglwydd Cromwel, a lwyddasant i gael rhydd-did iddynt. Y flwyddyn ar ol hyny, arglwydd

* Gwel gyfrwystra yr offeiriaid pabaidd, fel y gallent gael yr holl win iddynt eu hunain.

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 256—259. Neal's Hist. Purit. Vol. I.

CANT XVI.

Marwolaeth iarll Essex.

O. C. 1540.

arglwydd Cromwel, yr hwn oedd gwedi cael ei wneuthur yn iarll Essex, a'r hwn oedd yn un o golofnau y diwygiad, a gafodd, oblegid gwrthwynebiad y brenin iddo, ei osod i farwolaeth. Ac mewn dau ddiwrnod gwedi marwolaeth arglwydd Cromwel, tri phrotestant, a thri phabydd, a gawsant eu gosod i farwolaeth yn Llundain, y tri cyntaf am wrthwynebu pabyddiaeth, a'r tri pabydd * am ddywedyd nad oedd y brenin yn ben i'r eglwys. Gwedi clymu protestant a phabydd yn nghyd, a'u gosod ar glwydau, cawsant eu llusgo yn y dull hyny i Smithfield, lle y llosgwyd y protestaniaid, ac y crogwyd y pabyddion.[a]

Daeth llyfr allan yn nghylch yr amser hyn, trwy gydsyniad y brenin a'r senedd, a elwid, Dysgeidiaeth angenrheidiol i gristion; yr hwn sydd yn dangos beth oedd barn y diwygwyr yn Lloegr y pryd hyny. Ymddengys eu bod yn agos o'r un farn ag Austin,† yn nghylch athrawiaethau cyfiawnhad a gras. Yr oedd eu barn hwynt yn nghylch defodau yr eglwys yn gyson a'r chwech erthygl; ac mewn perthynas i ddysgyblaeth eglwysig, yr oeddent am gael eu cyfarwydd-

* Y mae yn debygol mai Cymry oedd dau o'r pabyddion.

[a] Burnet's Hist. Refor. p. 266, 284, 297.

† Gall y darllenydd gasglu beth oedd barn Austin, oddiwrth yr hyn a ddywedir am dano, tu dalen 113, 114.

wyddo yn hollol gan y swyddog gwladol.[a] Daeth hefyd argraffiad newydd o'r Bibl Saesneg allan y pryd hyn; a'r brenin a orchymmynodd i'r offeiriaid i osod un o honynt yn mhob eglwys, fel y gallai y bobl gael cyfleustra i'w darllen. Ond pan welodd yr offeiriaid pabaidd fod y bobl yn heidio i ddarllen y Bibl, a bod ereill yn anfon eu plant i'r ysgol, fel y gallent glywed y Bibl yn cael ei ddarllen ganddynt, gwnaethant eu gorau i'w difuddio hwynt o'r fraint fawr hon. Yn nghymmanfa yr offeiriaid a gyfarfu y pryd hyny, cafodd y dysgedig Richard Gwent o Forganwg, yr hwn oedd yn arch-diacon Llundain, ei ddewis i fod yn llafarwr; ac enwyd pumtheg o esgobion, yn mhlith pa rai yr oedd esgobion Tŷ Ddewi, St. Asaph, a Llandaf, i addchwilio a diwygio cyfieithad y Bibl. Ond gan fod y brenin yn gweled y gallasai hyny fod yn foddion i gadw y Bibl, dros amser hir, oddiwrth y bobl gyffredin, efe a wrthododd i gyd-uno â'r gymmanfa.[b]

CANT XVI.

Argraffiad newydd o'r Bibl Saesneg. O. C. 1540.

Yn amser pabyddiaeth, nid oedd fawr o bregethu yn y wlad hon, ond ar ddyddiau y grawys, ac nid oedd fawr o symlrwydd yr efengyl yn y pregethau hyny. Ond pan ddaeth y diwygiad, y diwygwyr a gymmerasant ofal neillduol i hyfforddi eu gwrandawyr yn egwyddorion y grefydd

Ychydig bregethau yn amser pabyddiaeth.

[a] Neal's Hist. Parit. Vol. I.

[b] Burnet's Hist. Ref. p. 302, 314. Fuller's Church Hist. B. V. p. 236.

CANT XVI.



ydd gristianogol. Bu hyn yn foddion i dynu llawer o bobl i wrando y diwygwyr, pa le bynag y byddent: ond gan fod y diwygwyr yn pregethu yn llym iawn yn erbyn yr offeiriaid pabaidd, o blegid eu hanwybodaeth a'u hanfoesoldeb, barnwyd yn addas i beidio gadael neb i bregethu, o leiaf, allan o'u plwyfau, heb gennad oddiwrth y brenin, neu yr esgob. Rhoddwyd cennad, yr amser hyny, i lawer o bregethwyr teithiol i fyned oddiamgylch y wlad, i hyfforddi y bobl nad oeddent yn byw yn eu plwyfau hwynt A chan fod y pregethwyr hyn yn wrol a bywiog yn y gwaith, cawsant eu cyhuddo yn aml am eu pregethau llym. Y diwygwyr, i'r dyben i amddiffyn a chyfiawnhau eu hunain oddiwrth gam-achwyniadau eu gwrthwynebwyr, a ddechreuasant, yn gyffredin, i ysgrifenu a darllen eu pregethau.* Dyma yr amser, a'r dull, y dechreuodd yr arfer oerllyd a marwaidd hyny o bregethu gyntaf yn yr ynys hon.[a]

Dechreuad darllen pregethau yn Lloegr. O. C. 1542.

Er fod goleuni y diwygiad gwedi tywynu yn ein

* Nid yw y dull marwaidd hyn o bregethu mewn ymarferiad yn un wlad, ond yn ynys Brydain. Nid yw yn debygol y buasai cristianogaeth yn llwyddo fel ag y gwnaeth, pe buasai yr apostolion a'r prif-weinidogion yn darllen eu pregethau mewn dull oerllyd i'w gwrandawyr Iuddewig, a phaganaidd. Dyledswydd pob pregethwr yw myfyrio a pharotoi ei bregeth, fel pe na b'ai un Duw i'w gynnorthwyo; ac wedi myned i'r areithfa, i ymddibynu ar gynnorthwy Ysbryd Duw, fel pe na b'ai wedi myfyrio dim.

[a] Burnet's Hist. Ref. p. 316, 317.

ein gwlad, a bod rhai llyfrau gwedi cael eu hargraffu yn y iaith Saesneg, nid oedd un llyfr wedi ei argraffu etto yn y iaith Gymraeg. Ond o'r diwedd cafodd llyfr ei argraffu yn y iaith Gymraeg, yn cynnwys yr egwyddor Gymraeg, dyddlyfr, credo yr apostolion, gweddi yr Arglwydd, y deg gorchymmyn, yn nghyd â rhai pethau ereill.[a] Tybia llawer mai Syr John Price a argraffodd y llyfr hwn.

CANT XVI.

Y llyfr cyntaf a argraffwyd yn Gymraeg. O. C. 1546.

Harry yr wythfed, gwedi teyrnasu dwy flynedd ar bymtheg ar hugain, a fu farw; ac Edward ei fab o Jane Seymour, yr hwn oedd ond naw mlwydd oed, a deyrnasodd yn ei le ef. Harry, o blegid fod Edward mor ieuangc, a enwodd yn ei ewyllys, un ar bymtheg o flaenoriaid y wlad i fod yn llywodraethwyr ar y deyrnas a'r brenin, nes y byddai yn ddeunaw mlwydd oed. Ond y weithred gyntaf a wnaeth y llywodraethwyr hyn oedd dewis y duc o Somerset i fod yn amddiffynwr y deyrnas, a'i gynnysgaeddu â'r awdurdod brenhinol. Yr oedd y duc o Somerset yn gyfaill dirgel i'r diwygiad o'r blaen, ond pan gafodd ei wneuthur yn amddiffynwr y deyrnas, ni phetrusodd efe i gyhoeddi ei fwriadau i ddiwygio holl lygriadau yr hen grefydd, a dwyn i mewn yn fwy perffaith yr athrawiaethau a bregethid gan Luther a'r diwygwyr. Mewn canlyniad i hyn, trefnwyd ymweliad cyffredinol o'r holl eglwysi trwy

Marwolaeth Harry yr wythfed. O. C. 1547. Edward VI.

Ymweliad cyffredinol. O. C. 1547.



[a] Williams of Dyfynnog's Catalogue.

CANT XVI. trwy Loegr a Chymru; a gorchymmynwyd na phregethai neb allan o eglwys ei blwyf, heb gennad, nes y byddai yr ymweliad trosodd. Rhanwyd y deyrnas yn chwech o gylchau, a threfnwyd i ddau ŵr bonheddig, un cyfreithwr, un difeinydd, ac un ysgrifenydd, fyned trwy bob cylch. Dr. Ridley, Dr. Madew, Mr. Briggs, Mr. Cattisford, Mr. Joseph, a Mr. Robert Farrar, chwech o'r difinyddion mwyaf dwys, a'r pregethwyr mwyaf poblogaidd, a gawsant eu dewis i fod yn ymwelwyr, un yn mhob cylch, i'r dyben i bregethu i'r bobl, a'u hyfforddi yn athrawiaethau y diwygiad, a'u dwyn ymaith oddiwrth eu hen goel-grefydd. Arch-esgob Craumer, hefyd, a argraffodd lyfr o bregethau* ar brif byngciau y grefydd gristianogol, ac a orchymmynodd i'r ymwelwyr i adael un o'r llyfrau hyny gydâ phob offeiriad plwyf, gan nad oedd ond ychydig o offeiriaid, y pryd hyny, yn medru pregethu. Yr oedd yr ymwelwyr hefyd yn enw y brenin, i orchymmyn i'r holl offeiriaid i osod Bibl yn eu heglwysi, ac i'w ddarllen i'r bobl, i symud ymaith yr holl ddelwau, a phethau coel-grefyddol ereill o'r eglwysi, i roddi y gwin gydâ y bara yn y swper sanctaidd; i fod yn batrynol yn eu hymddygiad, ac yn ddiwyd i annog eu pobl i sancteiddio y sabbath, a bod yn helaeth yn mhob gweithred dda. Cydsyniodd y rhan

Gorchymmynion y brenin.

* Homilies.

CANT XVI.

rhan fwyaf o'r esgobion a'r offeiriaid â'r gorchymmynion hyn, oddieithr Gardiner esgob Winchester, a Bonner esgob Llundain; y rhai, oblegid eu hanufudd-dod, a daflwyd i garchar. Yn fuan yn ol yr ymweliad, cyfarfu y senedd, a chafodd cyfraith y chwech erthygl, a chyfreithiau ereill ag oedd yn niweidiol i'r diwygwyr, eu diddymu.[a] Yr un flwyddyn hefyd, Mr. William Salsbury, o sir Dinbych, yr hwn a ddygasid i fynu yn Rhydychen, ac oedd ddysgedig yn hynafiaethau Brydain, a argraffodd eir-lyfr Saesneg a Chymraeg, i'r dyben i gynnorthwyo ei gydwladwyr i ddeall Saesneg.[b]

Geir-lyfr Saesneg a Chymraeg.

Cyn yr amser hyn, yr oedd gwahanol ffurfiau o addoliad mewn amrywiol eglwysi yn y deyrnas hon. Yr oedd rhai offeiriaid yn ymarferyd ffurf Sarum, ereill ffurf Yorc, ac ereill ffurf Lincoln. Yr oedd offeiriaid deheu-barth Cymru yn addoli yn ol ffurf Henffordd, ac offeiriaid Gwynedd yn cadw at ffurf Bangor. Ond y flwyddyn hon, cafodd cymmanfa o esgobion, yn mhlith

[a] Burnet's Hist. Refor. B. II. p. 23—36. Neal's Hist. Purit. Vol. I.

*Note.* Burnet, quoted above, is a single volume, containing the history of the Reformation during the reign of Henry the eighth. What follows is an abridgement of the history of the Reformation, in four books, by G. Burnet, D. D.

[b] Williams's Catalogue.

CANT XVI.

Yr esgobion yn cyfansoddi y llyfr gweddi cyffredin.

O. C. 1548.

mhlith pa rai yr oedd esgobion Tŷ Ddewi a St. Asaph, eu gosod i brofi a diwygio holl wasanaeth yr eglwys, a chyfansoddi llyfr gweddi cyffredin, yn cynnwys holl wasanaeth yr eglwys. Pan ymddangosodd y llyfr gweddi cyffredin, bu yn achos tramgwydd i lawer, a rhai o'r esgobion a wrth-dys'iasant yn ei erbyn. Ond y senedd, i'r dyben i ddwyn mwy o gyd-ymffurfiad rhwng yr eglwysi, a wnaethant gyfraith i beri i'r holl offeiriaid, trwy yr holl deyrnas, i ymarferyd y llyfr gweddi cyffredin yn eu heglwysi. A phwy bynag ni wnai hyny, y byddai iddo gael ei garcharu dros chwech mis, a fforffetu elw ei bersonaeth dros flwyddyn, am y trosedd cyntaf; y byddai iddo gael blwyddyn o garchar, a fforffetu ei holl elw eglwysig am yr ail drosedd; ac y byddai iddo gael ei garcharu dros ei holl fywyd am y trydydd trosedd.[a] Y flwyddyn hon, cafodd Dr. Barlow ei symud i Wells, a Robert Farrar a gyssegrwyd yn esgob

O. C. 1549.

Tŷ Ddewi yn ei le ef.[b]

Y flwyddyn ar ol hyn, rhoddwyd rhydd-did i'r offeiriaid i briodi, a bu llawer o ddadleu yn nghylch traws-sylweddiad. Yr oedd Morgan o sir Fynwy, yn ddadleuwr mawr dros yr athrawiaeth gyfeiliornus hon; ac oblegid fod y gwr dysgedig

[a] Burnet's Hist. Ref. B. II. p. 58—63. Neal's Hist. Purit. Vol. I.

[b] Brown Willis.

dysgedig hwnw yn dangos llawer o gywreinrwydd wrth ddadleu, cafodd ei alw yn Forgan y twyll-ddadleuwr. Er i'r diwygwyr ddyoddef llawer dan deyrnasiad Harry yr wythfed, nid oeddent etto gwedi dysgu bod yn dirion wrth y rhai ag oedd yn gwahanu oddi wrthynt mewn barn. Cafodd rhai eu carcharu, ac ereill eu llosgi gan y diwygwyr eu hunain, o blegid nad oeddent yn cyd-weled â hwynt yn mhob peth. Ond er hyn, aeth Duw â'i waith yn mlaen; cafodd yr allorau yn yr eglwysi eu tynu i lawr, a byrddau cymmundeb eu gosod yn eu lle, a diddymwyd pethau coel-grefyddol ereill.[a]

CANT XVI.

Byrddau cymmundeb yn lle allorau.

Yr oedd y rhan fwyaf o'r esgobion y pryd hyn yn gyfeillion i'r diwygiad, ac wedi diddymu llawer o ddefodau pabaidd, aethant yn mlaen i ddiwygio athrawiaethau yr eglwys. Cafodd arch-esgob Cranmer, ac esgob Ridley, eu dewis i'r gorchwyl hwn, a ffurfiasant ddwy erthygl a deugain, ar brif-byngciau y grefydd gristianogol. Cyfnewidiwyd rhai o'r erthyglau hyn yn amser y frenhines Elizabeth, a lleihawyd hwynt i bedair erthygl ar bymtheg ar hugain, fel y maent yn bresennol yn eglwys Loegr. Wedi gorphen yr erthyglau, cafodd y llyfr gweddi cyffredin ei ail ystyried, a'i ddiwygio mewn llawer o fanau.[b]

O. C. 1550.

Ffurfio erthyglau crefydd. O. C. 1551.

Y

[a] Burnet's Hist. Refor. B. II. p. 69, 79—85, 131. Athenæ Oxonienses.

[b] Burnet's Hist. Ref. B. II. p. 138—140.

CANT XVI. O. C. 1551. Y flwyddyn hon, Mr. William Salsbury a argraffodd lyfr Cymraeg drachefn, yn cynnwys cynnifer o wersi allan o'r ysgrythurau ag oedd yn cael eu darllen yn yr eglwysi ar amser y cymmun ar y sabbath, ac ar ddyddiau gŵyl, trwy y flwyddyn.[a] Yr oedd hyn yn ychydig o gynnorthwy i'r Cymry; ond nid oedd yr ysgrythurau wedi eu hargraffu yn Gymraeg etto. Ac yr oedd y rhan fwyaf o'r bobl yn babyddion penboeth. Syr William Herbert, yr hwn a gafodd ei wneuthur y pryd hyn yn iarll Penfro, Syr John Price, a Mr. William Salsbury oedd y gwyr ag oedd yn ymdrechu fwyaf dros y Cymry yr amser hyn.

Fel hyn y cafodd y diwygiad ei ddwyn yn mlaen yn nheyrnasiad Edward y chwechfed. Yr oedd yn orchwyl hŷ i ychydig o esgobion a chynghorwyr y brenin, i gyfnewid crefydd y deyrnas, yn unig trwy awdurdod uchafiaeth brenin dan oed, heb gydsyniad y bobl yn y senedd, na chymmanfa yr offeiriaid. Er nad oedd y diwygwyr heb eu beiau, yr oeddent, er hyny, yn ddynion mawr mewn duwioldeb, ac yn ddewr yn achos y gwirionedd, fel y profasant gwedi hyny, trwy selio eu crefydd â'u gwaed. Aethant yn mlaen i adferu crefydd i'w symlrwydd gwreiddiol, mor gyflym ag yr oedd amgylchiadau

[a] Williams's Catalogue.

au yr amseroedd yn caniatau; ac y mae'n amlwg oddiwrth amrywiol bethau, eu bod yn bwriadu myned â'r diwygiad yn mhellach yn mlaen: ond er gofid a galar i'r diwygwyr, bu Edward y chwechfed farw, pan oedd ond un ar bymtheg oed; a Mary ei chwaer, merch Harry yr wythfed o Catharine o Arragon, yr hon oedd yn babyddes benboeth, a deyrnasodd yn ei le ef.*

CANT XVI.

Marwolaeth Edward y chwechfed. O. C. 1553.

Yn fuan wedi i Mary ddyfod i'r orsedd, hi a ddangosodd ei bod yn bwriadu gwneuthur ei goreu i sefydlu y grefydd babaidd drachefn yn Lloegr. I'r dyben i ddystawi yr esgobion a'r offeiriaid protestanaidd, rhoddodd orchymmyn na byddai i neb bregethu heb gael cenad neillduol gan esgob Gardiner, yr hwn oedd yn un o flaenoriaid y blaid babaidd. Cafodd yr holl esgobion pabaidd a fwriasid allan yn amser Edward y chwechfed, eu hadferu i'w hesgobaethau; a bwriwyd i garchar yr holl ddiwygwyr ag oedd yn parhau i bregethu wedi i'r frenhines orchymmyn iddynt beidio. Pan welodd y diwygwyr fod yr ystorm yn dechreu casglu, llawer o honynt a benderfynasant i ymadael â gwlad eu genedigaeth; a phan gafodd y dyeithriaid protestanaidd* orchymmyn i fyned allan o'r deyrnas, yn nghylch wyth cant o ddiwygwyr Lloegr a aethant.

Llawer o'r diwygwyr yn gadael Lloegr. O. C. 1553.

* Neal's Hist. Purit. Vol. I.

* Rhai ag oedd gwedi dyfod drosodd o Germany, a lleodd ereill, yn amser Edward y chwechfed.

CANT XVI. aethant gydâ hwynt, ac a sefydlasant dros deyrnasiad Mary, mewn amrywiol leodd yn Holland, Germany a Switzerland.[a]

Y mae dyn yn greadur cyfnewidiol yn mhob oes. Er nad oedd ond saith neu wyth yn nhŷ yr arglwyddi yn groes i'r diwygiad yn amser Edward y chwechfed, trodd yn mron yr holl arglwyddi o blaid i babyddiaeth yn amser Mary. A'r llywodraeth a ofalodd na byddai i neb ag oedd yn ffafrol i'r diwygiad, gael eu dewis i fod yn aelodau o senedd y cyffredin. Yn ganlynol, yr oedd y nifer mwyaf lluosog o'r seneddwyr yn babyddion; a phan gyfarfuant, cytunasant i ddi-ddymu'r holl gyfreithiau ag oedd wedi eu gwneud yn nghylch crefydd yn nheyrnasiad Edward y chwechfed, a thrwy hyny cafodd crefydd ei dwyn yn ol i'r fan lle y gadawsai Harry'r wythfed hi.[b]

Y senedd yn didd-ymu cyf-reithiau y diwyg-wyr. O. C. 1553.

Gwedi y pethau hyn, yr esgobion a roisant orchymmyn i droi yr holl offeiriaid priod allan o'u heglwysi, ac na byddai i neb ag oedd yn gyfaill i'r diwygiad gael ei urddo. Cafodd llawer o offeiriaid ac esgobion eu troi allan y pryd hyn, ac yn mhlith ereill Robert Farrar, esgob Tŷ Ddewi.[c] Dywedir i Anthony Kitchin esgob Llandaf,

Offeiriaid priod yn cael eu troi allan. O. C. 1554.

[a] Burnet's Hist. Refor. B. III. p. 220, 224, 225. Neal's Hist. Purit. Vol. I.

[b] Neal's Hist. Purit. Vol. I. Burnet's Hist. Ref. B. III. p. 226—229. [c] Ibid. p. 248, 249.

Llandaf, Dr. Arthur Bulkeley esgob Bangor, a Robert Parfew esgob St. Asaph, i ragrithio yn amser Edward y chwechfed; ond pan ddaeth Mary i'r orsedd, iddynt broffesu pabyddiaeth yn gyhoeddus.[a] CANT XVI.

Mary gwedi cael ei choroni, a anfonodd yn ddirgel at y Pab, ei bod hi yn bwriadu yn hollol i ddychwelyd yn ol i fynwes eglwys Rhufain, ac y buasai yn dda ganthi os anfonai efe Cardinal Pool fel ei genad i Loegr. Pan glybu'r Pab y pethau hyn, efe a lawenychodd yn ddirfawr, ac a gynnaliodd orfoledd cyhoeddus dros dri niwrnod, ac a roddodd ollyngdod i lawer yn rhad; a chafodd Cardinal Pool ei anfon i Lundain. Yr oedd llawer o aelodau y senedd, ar y cyntaf, yn anfoddlon iawn i'r pethau hyn, oblegid eu bod yn barnu os heddychid Lloegr â Rhufain, y buasai y Pab yn eu hyspeilio hwynt o diroedd y Mynachlogydd, y rhai a werthasid iddynt gan Harry yr wythfed. Ond y frenhines a'u gwobrwyodd hwynt oll, yn raddol, i ddystawrwydd ac ufudd-dod. A phan gyfarfu y senedd, cytunasant i anfon cyfarchiad at y brenin * a'r frenhines,

Cardinal Pool yn yn dyfod i Loegr.



[a] Fuller's Church Hist. B. 8. p. 11.

* Yr oedd y frenhines Mary, y pryd hyn, gwedi priodi Philip, tywysog Spain. Ond er fod Philip yn cael ei alw yn frenin, nid oedd ganddo ef un llaw yn ngweinyddiad y llywodraeth. A chan i Mary farw yn ddi-blant, nid oedd ganddo ef un hawl i goron Lloegr.

CANT XVI.


hines, i ddeisyf arnynt i ddymuno ar gennad y Pab i'w heddychu hwynt âg eglwys Rhufain; a'u bod hwythau yn addaw, fel arwydd o'u hedifeirwch, i ddiddymu yr holl gyfreithiau ag oeddent gwedi wneuthur yn erbyn y Pab. Mewn canlyniad i hyn, Cardinal Pool a aeth i'r senedd, ac a ddywedodd ei fod ef gwedi dyfod yno i'r dyben i'w heddychu hwynt â'r Pab, a chwedi sylwi ar yr annhrefn ag oedd yn eu plith, er pan ymadawsent âg eglwys Rhufain, efe a roddodd iddynt hwy, a'r holl deyrnas, gyflawn ollyngdod. Treuliwyd gweddill y dydd mewn llawenydd a gorfoledd, a diddymwyd y cyfreithiau ag oedd gwedi eu gwneuthur yn erbyn y Pab.[a]

Lloegr yn ymheddychu â'r Pab O. C. 1554.

Protestaniaid yn cael eu herlid a'u llosgi. O. C. 1555.

Wedi sefydlu pabyddiaeth drachefn yn Lloegr, gosodwyd yr hen gyfreithiau ag oedd gwedi eu gwneuthur gynt yn erbyn y Lolardiaid a'r diwygwyr mewn grym, a dechreuodd y pabyddion erlid y protestaniaid gydâ y creulondeb mwyaf. Cafodd Mr. Rogers ei losgi yn Smithfield; ac er fod ganddo wraig a deg o blant bach, diymgeledd, gwrthododd achub ei fywyd ar yr ammod gywilyddus o wadu ei ffydd. Yr un mis hefyd y llosgwyd esgob Hooper yn Nghaerloyw. Pan ddaeth y gwr duwiol hwn at y pawl,* ni ddy-

[a] Burnet's Hist. Ref. B. III. p. 232—233, 264, 265.

* Pan fyddai y pabyddion yn llosgi protestaniaid, yr oeddent weithiau yn gosod pawl yn y ddaiar, ac yn rhwymo y

ddyoddefai ei erlidwyr iddo ddywedyd gair wrth y bobl; a chafodd ei drin mor giaidd yn y tân, fel ag y rhostiodd ei goesau a'i forddwydydd, ac y syrthiodd un o'i ddwylaw ymaith cyn iddo farw. Ei eiriau diweddaf ef oedd, 'Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd.' Yn nghylch yr un amser y llosgwyd Mr. Saunders yn Coventry; yr hwn, pan ddaeth at y pawl, a ddywedodd, 'Groesaw groes Crist;' 'Groesaw fywyd tragywyddol.' Dr. Taylor, gweinidog Hadley, oedd y nesaf a ddyoddefodd. Esgob Gardiner, gwedi ei farnu yn euog o gyfeiliornad, a'i hanfonodd ef i'w berson-dŷ ei hun i gael ei losgi. Pan oedd Dr. Taylor yn y tân, rhyw un a'i tarawodd ef â'r ffon-fwyall ar ei ben, nes i'w ymenydd ddyfod allan.[a] CANT XVI.

Pan welodd esgob Gardiner nad oedd, trwy ei greulondeb, yn llwyddo i leihau nifer y diwygwyr, a bod ychwaneg o honynt i gael eu llosgi, efe a roddodd i fynu ei swydd o farnu a llosgi'r protestaniaid, i Bonner esgob Llundain. Yr oedd Bonner yn ei ymddygiad tu ag at y protestaniaid, yn fwy tebyg i ddyn-fwytawr nag i gristion. Efe a farnai yn ddi-drugaredd bawb a ddeuai ger ei fron, ac a orchymmynai i'w cadw hwynt yn y caethiwed mwyaf

Creulonder Bonner, esgob Llundain.



protestant â chadwyn wrth y pawl hwnw, a chwedi ei amgylchynu ef â ffagodeni, yn gosod tân yn y rhai hyny, nes y byddai yn llosgi yn ulw.

[a] Fox's Martyrs, Vol. III.

CANT XVI. mwyaf creulon, nes y traddodid hwynt drosodd i'r swyddog gwladol. Fel prawf o'i gieidd-dra, dywedir iddo rwygo ymaith farf Mr. Tomkins, gwëydd o Lundain, a dal ei law cyhyd yn fflam y ganwyll, nes i'r gewynau a'r gwythenau i ymgrynhoi a rhwygo, a'r gwaed bistyllio i wyneb Mr. Harpsfield, ag oedd yn sefyll gerllaw.[a]

Robert Farrar, esgob Tŷ Ddewi. Yn gymmaint ag i Robert Farrar gael ei wneuthur yn esgob Tŷ Ddewi trwy ewyllys da y duc o Somerset, yr hwn oedd yn gyfaill i'r diwygiad, y pabyddion ag oedd yn esgobaeth Tŷ Ddewi a wnaethant eu goreu i'w aflonyddu, ac a ddygasant lawer o gam-achwyniadau yn ei erbyn. Pan syrthiodd y duc o Somerset, cafodd esgob Farrar ei osod yn ngharchar, a'i gadw yno hyd farwolaeth y brenin. Gwedi i Mary ddyfod i'r orsedd, cafodd ei ddifuddio o'i esgobaeth, a gwnaethpwyd Dr. Henry Morgan, ag oedd wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, yn esgob yn ei le ef. Rhoddwyd gwys i esgob Farrar i ymddangos ger bron esgob Gardiner, yr un amser ag esgob Hooper, Mr. Rogers, ac ereill, i atteb, nid am y cam-achwyniadau a ddygasid yn ei erbyn gan ei elynion yn esgobaeth Tŷ Ddewi, ond am ei farn fel protestant. Gwedi cael ei holi gan Gardiner yn nghylch llawer o bethau, cafodd esgob Farrar ei anfon yn ol i'r carchar, heb ei euog-farnu; ac yn mhen ychydig o ddyddiau gwedi

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

gwedi hyny, cafodd ei anfon i Gaerfyrddin, i gael ei brofi gan Dr. Morgan, esgob Tŷ Ddewi, yn y dref honno.

CANT XVI.

Esgob Farrar yn cael ei anfon i Gaerfyrddin. O. C. 1555.

Ar y chwechfed dydd ar hugain o fis Chwefror, Griffith Leyson, y sirydd, a aeth âg esgob Farrar i eglwys Caerfyrddin, i gael ei brofi gan Dr. Morgan. Gwedi gollwng y sirydd ymaith, Dr. Morgan a ddechreuodd ddywedyd wrth esgob Farrar fod y frenhines yn dirion iawn, ac yn foddlon i faddeu iddo y cyfan, ond iddo ef i ymostwng i'r gyfraith, a chyd-ffurfio â'r grefydd sefydledig. Esgob Farrar ni roddodd un atteb i hyny. Yna Dr. Morgan a ofynodd iddo, a oedd ef yn credu ei bod yn unol â gair Duw i offeiriaid briodi; ac nad oedd y bara a'r gwin yn y swper sanctaidd, ddim yn wir gorph a gwaed Crist? Esgob Farrar a ddywedodd yr attebai efe y gofyniadau hyny pan ddymunid arno gan un âg awdurdod cyfreithlon ganddo. Ar hyny Dr. Morgan a'i rhoddodd i gadwraeth Owen Jones, i'w osod y'ngharchar, nes y caffai rybudd newydd. Gorch'mynodd hefyd i Farrar feddwl am attebion cymmwys i'r hyn a ofynodd efe iddo. Ar y dydd diweddaf o Chwefror, cafodd esgob Farrar ei wysio drachefn ger bron Dr. Morgan; ond efe a wrthododd roddi atteb i'w ofyniadau, oblegid ei fod yn barnu nad oedd ganddo awdurdod cyfreithlon i'w brofi ef. Mewn canlyniad i hyn, Dr. Morgan

Dr. Morgan yn profi Farrar.

Esgob Farrar yn ymddangos yr ail waith ger bron Dr. Morgan.

gan

CANT XVI.

gan a'i cyhoeddodd ef yn gyndyn, ac a'i hanfonodd ef yn ol i'r carchar hyd y pedwerydd dydd o fis Mawrth. Ar y dydd hwnw, esgob Farrar a ymostyngodd i gymmeryd ei brofi gan Dr. Morgan, ac a addawodd i roddi atteb i'w ofyniadau, ond iddo gael ad-ysgrifen o honynt, ac amser priodol at y gorchwyl. Wedi cytuno ar hyny, esgob Farrar, ar y seithfed dydd o fis Mawrth, a ymddangosodd drachefn ger bron Dr. Morgan, ac a roddodd iddo ei atteb yn ysgrifenedig. Ond gan nad oedd yr atteb yn boddloni Dr. Morgan, efe a ddymunodd ar esgob Farrar i addef yr erthyglau pabaidd canlynol: 1. 'Fod 'yn anghyfreithlon i offeiriaid briodi.' 2. 'Fod y 'bara a'r gwin yn y swper sanctaidd yn wir gorph 'a gwaed Crist.' 3. 'Fod yr offeren yn aberth cym'modlon dros y byw a'r meirw.' 4. 'Na ddarfu i 'gymmanfaodd a gynhaliwyd yn gyfreithlon, er'ioed i gyfeiliorni, ac na's gallant byth.' 5. 'Nad yw dyn ddim yn cael ei gyfiawnhau ger 'bron Duw trwy ffydd yn unig, ond fod gobaith 'a chariad yn angenrheidiol hefyd i gyfiawn'had.' 6. 'Fod yr eglwys gyffredinol, yr hon 'yn unig sydd âg awdurdod ganddi i esponio yr 'ysgrythurau, i benderfynu dadleuon crefyddol, 'ac i drefnu pethau perthynol i ddysgyblaeth 'gyhoeddus, yn weledig, ac fel dinas ar fryn, yn 'amlwg, fel y gall pawb ei hamgyffred.' Esgob Farrar a ddywedodd na allasai efe ddim addef y

Y drydedd waith.

Y bedwerydd gwaith.

cyfryw

eyfryw erthyglau, ac a haerodd mai pethau oeddent gwedi eu ffurfio gan ddynion; ac nad oeddent yn dwyn un berthynas â'r ffydd gyffredinol. Ond Dr. Morgan a roddodd iddo ad-ysgrifen o'r erthyglau hyn, ac a orchymmynodd iddo i ysgrifenu ei feddyliau arnynt erbyn y dydd Llun canlynol. Ar y dydd Llun, esgob Farrar a roddodd ei feddyliau ar yr erthyglau uchod mewn ysgrifen i Dr. Morgan. Ond gan fod ei feddyliau ef yn groes iawn i farn eglwys Rhufain, Dr. Morgan a orchymmynodd iddo i ymddangos ger ei fron ef ar y dydd Mercher canlynol, i glywed ei farn ddiweddaf a therfynol. Pan ddaeth esgob Farrar ar y dydd gosodedig i'r llys, Dr. Morgan a ofynodd iddo, A oedd efe yn foddlon i ymwrthod â'i gyfeiliornadau, a dad-ddywedyd yr hyn ag oedd wedi faentumio. Yna esgob Farrar, yn lle rhoddi atteb iddo, a appeliodd oddiwrth Dr. Morgan, fel barnwr annigonol yn y matter hyn, at Cardinal Pool, yr hwn oedd yn gennad y Pab yn Lloegr. Dr. Morgan, pan glywodd hyny, a lanwyd o ddigter, ac yn lle anfon esgob Farrar i gael ei brofi gan Cardinal Pool, a'i diswyddodd ef yn union-gyrch, ac wedi hyny efe a'i cyhoeddodd yn gyfeiliornwr ysgymmunedig, ac a'i rhoddodd i fynu i awdurdod Griffith Leyson, y sirydd, i'w osod i farwolaeth. Felly y cafodd y duwiol esgob Farrar, oblegid na allasai gredu y cyfeiliornadau uchod, ei ddiswyddo,

Y pummed gwaith.

Y chwechfed gwaith.

Dr. Morgan yn euogfarnu esgob Farrar.

CANT XVI.

swyddo, ei euog-farnu, a'i roddi i fynu i'r awdurdod gwladol i'w losgi. Ar ddydd Sadwrn, y degfed ar hugain o fis Mawrth, cafodd esgob Farrar ei ddwyn allan, a'i rwymo â chadwyn wrth bawl. o du y dehau i groes y farchnad, yn nhref Caerfyrddin, i gael ei losgi. Ychydig cyn iddo ddyoddef, un Richard Jones a aeth atto, ac a ddywedodd, fod yn ddrwg ganddo ei fod i ddyoddef y fath farwolaeth boenus. Esgob Farrar a attebodd, 'Os gwelwch chwi fi yn syflyd unwaith yn y tân, na chredwch fy athrawiaeth.' Ac megis y dywedodd, felly y gwnaeth; canys pan oedd y tân yn llosgi oddiamgylch iddo, a'i ddwylaw'n syrthio oddiwrtho, efe a safodd yn amyneddgar, heb syflyd dim, nes i un Richard Gravel ei daro ar ei ben â ffon, fel y cwympodd efe i lawr.*

Merthyrdod esgob Farrar yn Nghaerfyrddin. O. C. 1555.

Yr oedd pysgodwr yn nhref Caerdydd yn nyddiau Harry yr wythfed, a'i enw Rawlins White. Y gwr hwn, pan glywodd y diwygwyr yn pregethu, a gafodd ei argyhoeddi o'i gyfeiliornadau pabaidd, a'i ddychwelyd at yr Arglwydd. A phan argraffwyd y Bibl yn y iaith Saesneg, Rawlins, ac efe yn anllythyrenog, a anfonodd ei fab bach i'r ysgol, i ddysgu darllen Saesneg, fel ag y gallasai efe glywed y Bibl yn cael ei ddarllen ganddo. Gwedi i'r bachgen i ddysgu darllen, ei dad a wnai iddo ddarllen y Bibl

Rawlins White o Gaerdydd.

* Fox's Martyrs, Vol. III.

Bibl yn y teulu bob nôs yn ol swper; a chymmaint oedd hyfrydwch Rawlins yn y gwaith o wrando ar ei fab yn darllen y Bibl, fel ag y daeth, mewn ychydig o amser, yn hyddysg iawn yn yr ysgrythyrau; ac yn abl nid yn unig i roddi rheswm am y gobaith ag oedd yntho, ond hefyd i hyfforddi ereill yn egwyddorion y grefydd gristianogol. Yn nheyrnasiad Edward y chwechfed, Rawlins, yn llawn sel dros ogoniant Duw a daioni ei gyd-greaduriaid, a gymmerai ei fab, ac a âi oddiamgylch i'w gymmydogion a'i gyfeillion, i'w hyfforddi hwynt yn y pethau a berthynent i'w heddwch; a gwnaethpwyd ef yn offeryn i ddychwelyd llawer at yr Arglwydd. Pan oedd Rawlins gwedi bod oddiamgylch pum mlynedd yn hyfforddi a chynghori ei gydwladwyr, daeth y frenhines Mary i'r orsedd, a gorfu arno roddi heibio y gorchwyl anrhydeddus ac angenrheidiol o addysgu yr anwybodus, mewn modd cyhoeddus; ond ni pheidiodd fyned oddiamgylch mewn ffordd ddirgel i gynghori a gweddio gydâ'i gyfeillion.

CANT XVI.

Rawlins yn hyfforddi ei gymmydogion.

Pan welodd cyfeillion Rawlins ei fod mewn perygl o'i fywyd, hwy fynent iddo werthu yr hyn oll oedd ganddo, er budd i'w wraig a'i blant, a ffoi am ei einioes. Rawlins gwedi diolch iddynt am eu caredigrwydd, a ddywedodd, ei fod ef gwedi dysgu, os gwadai efe Grist yn y byd hwn, y byddai i Grist i'w wadu yntef yn nydd y farn;

GANT XVI.

am hyny fod yn well ganddo ef ddyoddef dros Grist yma, fel y caffai fywyd tragywyddol yn ol llaw.

Swyddogion yn cymmeryd Rawlins.

Mewn ychydig o amser gwedi hyn, swyddogion Caerdydd a gymmerasant Rawlins i fynu fel cyfeiliornwr, ac a'i hanfonasant at Anthony Kitchin, esgob Llandaff, yr hwn oedd yn byw y pryd hyny yn agos i Chepstow. Gwedi cael ei holi yn fynych gan yr esgob, cafodd ei osod yn ngharchar Chepstow; ac wedi bod yno dros ryw amser, anfonwyd ef i gastell Caerdydd. Er i'r pethau hyn ddwyn gwraig a phlant Rawlins i dlodi mawr, yr oedd ef yn parhau yn ddiysgog yn y ffydd, ac yn cynghori ac hyfforddi pawb ag oedd yn dyfod i ymweled âg ef; ac yn gweddio gydâ hwynt. Gwedi bod flwyddyn yn nghastell Caerdydd, esgob Llandaf a anfonodd am dano i gymmydogaeth Chepstow; ac wedi arferyd pob moddion i'w berswadio i gofleidio pabyddiaeth, ac heb lwyddo, efe a ddywedodd wrtho, fod yn rhaid iddo naill ai ymwrthod â'i gyfeiliornadau fel protestant, neu ddyoddef dedryd y gyfraith. Rawlins a attebodd, 'Yr wyf yn diolch i Dduw 'fy mod yn gristion, ac nad wyf yn dal un farn 'ag sydd yn groes i air Duw; ond os wyf, yr 'ydwyf yn dymuno cael fy niwygio trwy air 'Duw, fel ag y dylai pob cristion.' Pan welodd yr esgob, gwedi hir ymddiddan â Rawlins, nad oedd yn bosibl i'w droi i'r ffydd babaidd, efe a'i

Esgob Llandaff yn euogfarnu Rawlins.

a'i barnodd yn euog o gyfeiliornad, ac a'i hanfonodd yn ol i garchar Caerdydd. CANT XVI.



Gwedi bod yn ngharchar Caerdydd ynghylch tair wythnos, cafodd Rawlins ei ddwyn allan ar ddydd marchnad i'w losgi. Pan ddaeth i'r heol a gweled y gwarchawd-lu oddiamgylch iddo, efe a ddywedodd, 'Nid oes eisiau yr holl rai 'hyn. Trwy ras Duw ni anturiaf i ddiangc; 'ac yr wyf yn diolch â'm holl galon i Dduw, am 'iddo fy nghyfrif yn deilwng i gael dyoddef 'hyn er mwyn ei enw mawr.' Pan ddaeth i'r fan lle yr oedd ei wraig a'i blant yn sefyll, ac yn wylo, yr olwg arnynt a drywanodd trwy ei galon, a'r dagrau a dreiglasant dros ei ruddiau. Ond adfywiodd yn fuan, a chan guro ei ddwyfron efe a ddywedodd, 'O gnawd, a wyt ti am 'fy rhwystro a'm gorchfygu fel hyn? Gwna a 'allot, ni chei, trwy gymmorth Duw, fy ngorch-'fygu.' Erbyn hyn yr oedd gwedi dyfod i'r fan lle yr oedd i ddyoddef; a phan welodd y pawl efe a aeth ymlaen yn heinyf, ac wedi syrthio ar ei liniau, efe a gusanodd y ddaiar, ac a ddywedodd, 'Daiar i'r ddaiar, pridd i'r pridd. 'Tydi yw fy mam, ac i ti y dychwelaf.' Gwedi sefyll ychydig wrth y pawl, efe a ddywedodd wrth gyfaill ag oedd yn sefyll gerllaw iddo, 'Yr 'wyf yn teimlo ymdrech mawr rhwng y cnawd 'a'r ysbryd; os bydd i chwi gan hyny fy ngweled 'yn cael fy hudo mewn dim, cyfodwch eich bys,

Rawlins yn myned i ddyoddef.

CANT XVI.



'ac yr ydwyf yn gobeithio y bydd i mi gofio fy 'hun.' Gwedi rhwymo Rawlins â chadwyn wrth y pawl, a gosod y ffagodeni a'r gwellt, a phob peth arall yn barod, offeiriad pabaidd a safodd i fynu, ac a ddechreuodd bregethu i'r bobl, a chanmol eglwys Rhufain. Rawlins White a wrandawodd yn astud dros ychydig; ond pan ddechreuodd yr offeiriad adrodd ysgrythyrau i brofi ei bwngc, Rawlins a waeddodd allan, 'Da bobl trowch yma, ac na wran-'dewch ar y gau-brophwyd hwna yn pregethu.' Yna efe a ddywedodd wrth y pregethwr, 'O 'ragrithiwr, a ydwyt ti yn beiddio cadarnhau 'dy gau-athrawiaeth â'r ysgrythyrau sanct-'aidd.' Yr offeiriad gwedi synu a roddodd heibio; a gosodwyd tân yn uniongyrch yn y ffagodeni, nes i Rawlins dduwiol gael ei amgylchynu â'r fflam. Er cryfed oedd y tân, daliodd ei ddwy law mor gadarn, nes i'r gewynau i ymgrynhoi, a'r tewder i ddyferu; ac ni syflodd efe mo honynt ond un waith i sychu ei wyneb. Yr holl amser ag yr oedd yn llosgi, yr oedd yn llefain â llef uchel, nes i'r tân gau ei enau, 'O 'Arglwydd derbyn fy enaid; O Arglwydd der-'byn fy ysbryd.' Gwedi i'w gliniau i losgi ymaith, syrthiodd ei gorph i'r tân ac aeth yn ulw. Felly y bu farw y duwiol Rawlins White, yn ferthyr ffyddlon dros y gwirionedd, yn mhen

Merthyrdod Rawlins White yn Nghaerdydd. O. C. 1555.

ychydig

ychydig o ddyddiau yn ol esgob Farrar, a phan oedd oddiamgylch tri ugain mlwydd oed.[a]

CANT XVI.



Merthyrdod Ridley a Latimer yn Rhydychen. O. C. 1555.

Ymhen saith mis gwedi hyn, Ridley a Latimer, dau o'r esgobion mwyaf enwog yn Lloegr, a gawsant eu merthyru yn Rhydychen wrth yr un pawl. Latimer a losgodd yn fuan, ond bu Ridley yn hir yn y poenau mwyaf, o blegid i'w draed losgi cyn i'r tân gyrhaeddyd ei gorph. Ei eiriau diweddaf ef wrth ei gyfaill oedd, 'Cymmer galon fy mrawd, canys fe fydd i 'Dduw naill ai tawelu angerdd y tân, neu roddi 'i ni nerth i'w ddyoddef.' Latimer a attebodd, 'Bydd galonog a phybyr, Ridley, canys ni a 'gynneuwn y fath ganwyll heddyw yn Lloegr, 'nad aiff, trwy ras Duw, byth yn niffodd.'[b]

Cranmer yn dadddywedyd.

Archesgob Cranmer, gwedi dyoddef carchar yn nhŵr Llundain, a gafodd ei anfon i Rhydychen i gael ei brofi yno. Ac fel ag y mae y cryfaf ei ffydd yn wan ar amserau, Cranmer gwedi dyfod i Rhydychen a gymmerodd ei berswadio trwy ofn marwolaeth, i osod ei law wrth ysgrifen ag oedd yn cynnwys ei ymwrthodiad o athrawiaeth y protestaniaid, a'i dderbyniad o athrawiaethau pabyddiaeth. Bu hyn yn orfoledd mawr gan y pabyddion, a gwnaethant eu goreu i'w daenu trwy yr holl wlad. Ond yr oedd

[a] Fox's Martyrs, Vol. III.

[b] Ibid.

CANT XVI.



oedd y frenhines annhrugarog gwedi penderfynu i osod Cranmer i farwolaeth, oblegid y llaw ag oedd gwedi bod ganddo i ysgaru ei mam, ac i ddiddymu awdurdod y Pab yn Lloegr. Cranmer, cyn iddo wybod meddwl y frenhines, a edifarhaodd am yr hyn a wnaethai, ac a ysgrifenodd wir gyffes o'i ffydd; ond ni ddywedodd efe un gair wrth y rhai ag oedd oddiamgylch iddo, rhag ofn y buasent yn ei rwystro i'w darllen i'r bobl, pan gawsai gyfleustra.

Cranmer yn edifarhau.

Pan ddaeth gorchymmyn oddiwrth y frenhines i losgi Cranmer, y pabyddion a'u dygasant ef allan o'r carchar, ac a'i gosodasant i sefyll ar le uchel, mewn dysgwyliad o'i glywed yn gwneuthur cyffes gyhoeddus o'i ffydd yn athrawiaethau pabyddiaeth. Yr oedd yn olwg alarus i weled arch-esgob, yr hwn, unwaith, oedd yr ail ŵr yn y deyrnas, yn awr mewn dillad bratiog, ac yn ddrych i'r byd. Dr. Cole, yr hwn oedd wedi ei osod i bregethu ar yr achlysur, a ddyrchafodd dychweliad Cranmer i'r ffydd babaidd fel gwaith neillduol Duw, ac a addawodd y byddai i lawer o weddiau gael eu tywallt gan yr eglwys dros ei enaid. Wedi gorphen y bregeth, dymunwyd ar Cranmer i ddarllen cyffes o'i ffydd. Yr arch-esgob, dan ŵylo, a safodd i fynu, ac wedi proffesu ei ffydd yn yr ysgrythyrau, a chredo yr apostolion, efe a ddaeth at yr hyn ag oedd yn poeni ei gydwybod yn fwy nâ dim ag a wnaeth erioed, sef gosod ei

law

law wrth yr ysgrifen rag-ddywededig. 'Yr wyf 'yn awr,' eb efe, 'yn ymwrthod yn hollol â'r 'pethau ag y gosodais fy llaw wrthynt, yn groes 'i'm cydwybod, trwy ofn angeu, ac mewn gob- 'aith i achub fy mywyd. Ac yn gymmaint ag 'i'r llaw hon i ysgrifenu fy enw, yn groes i'm 'cydwybod, yr ydwyf wedi penderfynu y caiff 'hi losgi yn gyntaf. Yr wyf yn credu fod y 'Pab yn elyn i Grist, a bod ei athrawiaeth yn 'gyfeiliornus. Fod y llyfr a ysgrifenais i ar y 'swper sanctaidd yn cynnwys athrawiaeth wir- 'ioneddol, ac a saif ger bron yr orsedd ar ddydd 'mawr y farn, pan na byddo yr athrawiaeth 'babaidd yn abl i godi ei phen.' Pan glybu y bobl y pethau hyn, cawsant eu llanw â'r syndod a'r siomedigaeth mwyaf, ac ni wyddent pa beth i'w ddywedyd. Arweinasant yr arch-esgob yn union-gyrch at y pawl, a gosodasant dân yn y ffagodeni. Pan ddechreuodd y tân gynneu, arch-esgob Cranmer a estynodd ei law ddehau i'r fflam, ac ni syflodd mo honi nes iddi syrthio oddiwrth ei gorph. Tra yr oedd ei law yn llosgi, efe a waeddodd yn fynych, 'Y llaw annheilwng hon.' Ei eiriau diweddaf ef oedd, 'Arglwydd Iesu, 'derbyn fy ysbryd.' Felly y merthyrwyd Dr. Cranmer, yn y seithfed flwyddyn a thri ugain o'i oedran, ac wedi bod dair blynedd ar hugain yn arch-esgob Canterbury.[a]

CANT XVI.

Cyffes Cranmer.

Syndod y pabyddion.

Merthyrdod Dr. Cranmer. O. C. 1556.

Pan

[a] Fox's Martyrs, Vol. III.

CANT XVI.

Gwaed y merthyron yn had i'r eglwys.

Pan welodd y bobl fod gwyr a gwragedd, ieuaingc a hen, y cloff a'r dall, yn cael eu llosgi yn ddi-drugaredd, dechreuasant ffieiddio y grefydd ag oedd yn achos o'r fath greulonder; ac er cymmaint oedd y perygl, llawer o honynt a ymwrthodasant â phabyddiaeth, ac a lynasant wrth y diwygwyr. Mewn canlyniad i hyn, cynhyddodd y diwygwyr fwy-fwy mewn rhifedi, sel, a gwroldeb. Yr oedd ganddynt amryw o gyfarfodydd dirgel, a llawer o athrawon duwiol a dysgedig; a'u brodyr yn Germany a anfonent lawer o lyfrau iddynt er eu haddysg a'u cysur.[a]

Merthyrdod William Nichol yn Hwlfordd. O. C. 1558.

William Nichol, o Hwlffordd, yn sir Benfro, a gafodd ei losgi yn y dref honno ychydig o amser cyn marwolaeth Mary, am iddo ddweud rhyw bethau yn erbyn teyrnas greulon anghrist. Dywed rhai fod William Nichol yn ŵr gwirion; ond amlwg yw ei fod yn ddyn da, ac iddo farw mewn achos da.[b] Nid oes dim hanes i fwy nâ thri i ddyoddef yn Nghymru yn nheyrnasiad y frenhines Mary; a'r achos o hyny oedd, oblegid nad oedd y diwygiad gwedi cynhyddu fawr yn Nghymru y pryd hyny. Nid oedd un o esgobion Cymru, y pryd hyny, ond Farrar, yn wir brotestant. A chan nad oedd y Bibl ychwaith wedi ei argraffu yn y iaith Gymraeg,

[a] Burnet's Hist. Refor. B. III. p. 305, 306.

[b] Fox's Martyrs, Vol. III.

CANT XVI.

raeg, nid yw ddim yn rhyfedd nad oedd dim tanwydd i dân y pabyddion yn Nghymru yn amser Mary. Ond er na ddyoddefodd llawer yn Nghymru, y mae yn debygol iawn, oddiwrth yr enwau, fod llawer o Gymry yn mhlith y rhai a losgwyd yn Lloegr yr amser hyny. Yn mhlith y rhai a ddyoddefodd dros grefydd Crist yn Lloegr, yr ydym yn darllen am John ab Rhys, Philip Humphrey, John David, Henry David, Robert Samuel, John Floyd, John Gwynne, James Harris, Robert Williams, ac ereill.[a] Cafodd dau cant a phedwar ugain a phedwar o brotestaniaid eu llosgi yn Mrydain yn nheyrnasiad Mary waedlyd, heblaw y rhai a fuont feirw mewn carcharau.[b]

Y Cymry a ferthyrwyd yn Lloegr.

Mary waedlyd, gwedi teyrnasu pum mlynedd a phedwar mis, a fu farw; ac Elizabeth ei chwaer, merch Harry yr wythfed o Ann Boleyn, a deyrnasodd yn ei lle hi. Bu dyfodiad Elizabeth i orsedd Lloegr yn achos i'r diwygiad adfywio drachefn. Pan wybu y protestaniaid ag oedd wedi ffoi i wledydd tramor, fod Elizabeth yn teyrnasu, y rhan fwyaf o honynt a ddychwelasant yn ol, a'r rhai oedd yn ymguddio yn nhai eu cyfeillion a ddaethant allan, a rhoddodd y frenhines rydd-did i'r holl rai hyny ag oedd wedi eu

Marwolaeth Mary. O. C. 1558.

 carcharu

[a] Fox's Martyrs.

[b] Burnet's Hist. Ref. B. III. p. 329.

CANT XVI.

carcharu o achos eu crefydd yn amser Mary. Ond er fod Elizabeth yn brotestant, yr oedd yn hoff ganddi y defodau yn mha rai yr oedd wedi cael ei dwyn i fynu. Yr oedd yn meddwl i'w brawd, Edward y chwechfed, i ddiosg gormod o addurniadau crefydd, a gwneuthur athrawiaethau yr eglwys yn rhy gyfyng, mewn rhai pyngciau. Ac nid heb anhawstra y llwyddwyd gydâ hi, i ddwyn y diwygiad mor bell yn mlaen, ag yr oedd yn amser Edward y chwechfed.*

Pregethu yn cael ei wahardd dros amser.

I'r dyben i ragflaenu y dadleuon ag oedd yn dechreu cyfodi rhwng y protestaniaid a'r pabyddion, y frenhines a roddodd orchymmyn na byddai neb i bregethu, nes i'r senedd gyfarfod, a chytuno ar ffurf gyffredinol o addoliad cyhoeddus. Pan gyfarfu y senedd, yr oedd y rhan fwyaf o'r aelodau, mewn canlyniad i ofal y llywodraeth, yn gyfeillion i'r diwygiad. Cytunasant, gan hyny, i adfywio yr holl gyfreithiau ag oedd wedi eu gwneuthur yn erbyn y Pab, yn amser Harry yr wythfed; ac i ddiddymu yr holl gyfreithiau ag oedd wedi eu gwneuthur o blaid i'r Pab yn amser Mary. Cytunasant hefyd fod Elizabeth yn frenhines gyfreithlon, a'i bod yn ben mewn pethau crefyddol a gwladol, yn y deyrnas hon; fod yr addoliad cyhoeddus i gael ei gyflawni yn iaith y wlad, a bod i lyfr gweddi cyffredin

* Neal's Hist. Parit. Vol. I.

redin Edward y chwechfed, i gael ei arferyd yn mhob eglwys.* Rhoddwyd awdurdod hefyd i'r frenhines i ddewis nifer o'i deiliaid, i farnu a diwygio pethau crefyddol, yn ol yr ysgrythyrau a barn y pedair cymmanfa gristianogol cyntaf. Dyma ddechreuad y llys uchel-awdurdod,§ yr hwn, mewn ychydig flynyddoedd, a ddirywiodd i'r fath raddau, fel ag y daeth i fod yn ffiaidd gan y bobl, ac y cafodd ei ddiddymu gan y senedd.[a]

CANT XVI.

Cyfraith unffurfiad. O. C. 1559.

Llys uchel-awdurdod.

Pan orphenodd eisteddfod y senedd, cynnygwyd llw uchafiaeth y frenhines, i'r esgobion; ond pawb o honynt a wrthodasant i'w gymmeryd, oddieithr Anthony Kitchin, esgob Llandaf, ac mewn canlyniad, cawsant eu troi allan o'u hesgobaethau.[b] Yr oedd Anthony Kitchin, yr hwn a gyssegrwyd yn esgob Llandaf yn amser Harry yr wythfed, yn berchen ar gydwybod mor ystwyth, fel ag y cydffurfiodd â'r holl gyfnewidiadau a gymmerasant le yn yr eglwys yn ei amser ef;

Llawer o esgobion yn cael eu troi allan.



* Yn ol gwneuthur y gyfraith o unffurfiad, nid oedd dim rhydd-did i neb i addoli'n gyhoeddus, ond yn ol ffurf eglwys Loegr. Bu y gyfraith hon yn achos o gynhyrfiadau mawrion yn y deyrnas, ac o niwed mawr i'r eglwys dros flynyddoedd lawer.

§ High Commission Court.

[a] Burnet's Hist. Ref. B. IV. p. 345—356. Neal's Hist. Purit. Vol. I.

[b] Burnet's Hist. Refor. B. IV. p. 358.

CANT XVI.

ef; a thrwy hyny, daliodd afael yn esgobaeth Llandaf, nes i angeu i'w yru o honi. Dr. Henry Morgan, pan gafodd ei droi allan o esgobaeth Tŷ Ddewi, a aeth at ei berthynasau yn agos i Rydychen, lle y gorphenodd ei yrfa.[a] Wedi i Thomas Goldwell gael ei wneud yn esgob St. Asaph, gan y frenhines Mary, efe a fynodd genad gan y Pab i adnewyddu y tynerwch a roddid yn yr oesoedd cyn hyny i'r cyfryw ag a wnaent bererindodau i ffynon S. Gwenfrewi yn Nhref Ffynon.

Dr. Morgan.

Yr oedd Thomas Goldwell mewn parch mawr gydâ y frenhines Mary, ac ychydig o ddyddiau cyn iddi farw, hi a'i henwodd ef i fod yn esgob Rhydychen, ac un Thomas Wood i fod yn esgob St. Asaph yn ei le ef. Ond bu farw y frenhines cyn iddynt gael eu sefydlu, a hwy a ffoisant eu dau o Frydain ar ddyfodiad Elizabeth i'r orsedd. Thomas Goldwell a aeth i Rhufain, lle y cafodd ei osod gan y Pab i fedyddio Iuddewon, ac i urddo y Saeson ag oedd yn ffoi yno o achos eu crefydd.[b] Er i Maurice Clennock, o sir Gaernarfon, ar farwolaeth William Glynn, gael ei enwi i fod yn esgob Bangor, bu farw y frenhines Mary cyn iddo gael ei gyssegru; ac oblegid ei fod yn babydd, efe a aeth i Rhufain, lle y cafodd ei wneuthur yn beryglor i'r gymdeithas Saesneg ag oedd yno.[c]

Thomas Goldwell.

Maurice Clunnock.

Pan

[a] Brown Willis. [b] Athenæ Oxonienses, Vol. I. p. 707.

[c] Brown Willis.

Pan aeth wyth cant o'r diwygwyr allan o'r wlad ar ddyfodiad Mary i'r orsedd, Mr. Wittingham, Williams, Sutton, ac Wood, ynghyd a'u teuluoedd a'u cyfeillion, a sefydlasant yn ninas Francfort yn Germany. Gwedi myned at swyddogion y ddinas, cawsant gennad i addoli yn eglwys y Ffrangcod,* ar yr ammod iddynt osod eu dwylaw wrth gyffes ffydd y Frangcod, a pheidio ymryson ynghylch defodau. Y Saeson gwedi cydsynio â'r pethau hyn, ac ymgynghori yn eu plith eu hunain, a benderfynasant, trwy gydsyniad pawb ag oedd yn bresennol, i beidio ag atteb yn uchel yn ol y gweinidog; ac i beidio ymarferyd y llyfr gweddi cyffredin, nâ'r offerengrys. Ond i ddechreu yr addoliad cyhoeddus trwy gyfaddefiad cyffredinol o'u pechodau, yna i ganu salm. Gwedi hyny, i'r gweinidog i weddio am gynnorthwy yr Ysbryd Glân, a phregethu. Yn ol y bregeth, gweddi gyffredinol dros bob gwlad a chyflwr, ond yn neilltuol dros Loegr, ac ar ddiwedd y weddi, i adrodd gweddi yr Arglwydd, ac erthyglau eu ffydd; ac wedi canu, i'r gweinidog i'w gollwng hwynt ymaith trwy ddymuno y fendith. Gwedi cymmeryd meddiant o'r eglwys ar y nawfed ar hugain o fis Gorphenhaf, 1554, a gwneuthur dewisiad o weinidog a diaconiaid i'w gwasanaethu dros

CANT XVI.

Diwygwyr Lloegr yn Francfort

* Yr oedd protestaniad Ffraingc, a phrotestaniaid Lloegr yn addoli yn yr un lle, ar wahanol oriau.

CANT XVI.



dros yr amser hyny, hwy a anfonasant at y brodyr ag oedd ar wasgar, i'w gwahodd i Francfort, lle y gallasent glywed gair Duw yn cael ei wir bregethu, yr ordinhadau yn cael eu hiawn weinyddu, a dysgyblaeth ysgrythyrol yn cael ei arferyd; yr hyn nas gallasent eu cael yn eu gwlad eu hun. Fel hyn y dechreuodd y Puritaniaid,* a'r neilldued hyny oddiwrth eglwys Loegr, ag sydd yn parhau yn y wlad hon hyd y dydd heddyw.[a]

Dechreuad y Puritaniaid.

Gwedi sefydlu pethau yn y dull hyn, y brodyr yn Francfort, a anfonasant am Mr. John Knox o Geneva, Mr. Haddon o Strasburg, a Mr. Lever o Zurich, ac a'u dewisasant hwynt i fod yn weinidogion iddynt. Ond llawer o'r Saeson yn Germany a wrthodasant i uno âg eglwys Francfort, oblegid nad oeddent yn arferyd y llyfr gweddi cyffredin yn eu haddoliad. Mewn canlyniad i hyn, eglwys Francfort a anfonodd lythr at John Calvin, gweinidog Geneva, yr hwn oedd ŵr dysgedig a chymmeradwy yn mhlith y diwygwyr, i gael ei farn ef ar y pwngc. John Calvin a ysgrifenodd attynt, 'Ei fod ef yn 'tybied fod llawer o wendidau goddefadwy yn 'llyfr gweddi cyffredin Edward y chwechfed; 'ond

Y Puritaniaid yn anfon am farn Calvin.

* Eu gelynion a'u galwodd hwynt yn Buritaniaid gyntaf; oblegid eu bod am gael purach dysgyblaeth nâ'r un ag oedd gwedi ei sefydlu yn eglwys Loegr.

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. 1.

CANT XVI.

'ond mai dyledswydd gweinidogion Crist oedd 'myned ymhellach yn mlaen at berffeithrwydd; 'a phe buasai y diwygiad gwedi myned yn 'mlaen yn Lloegr, megis y dechreuodd, y bu- 'asai llawer o bethau yn llyfr gweddi cyffredin 'Edward, gwedi eu diwygio. Ond gan fod y 'diwygiad gwedi cael ei ddadymchwelyd yn 'Lloegr, a bod eglwys i gael ei gosod i fynu 'mewn lle arall, fod ganddynt gyflawn hawl i 'sefydlú y drefn hono ag oedd fwyaf er adeilad- 'aeth; ac na wyddai efe ddim beth oedd y rhai 'hyny yn feddwl, ag oedd yn hoffi gweddillion 'gwaddodion pabaidd, gymmaint.' Gwedi der- byn y llythr hwn, penderfynodd eglwys Franc- fort i fyned yn mlaen megis ag yr oeddent gwedi dechreu. Ymhen ychydig o amser gwedi hyn, Dr. Cox, ag oedd gwedi bod yn athraw i Edward y chwechfed, ac yn fawr ei sel dros y llyfr gweddi cyffredin, a ddaeth, â rhai o'i gyf- eillion, i Francfort, ac a dorodd trwy gytundeb yr eglwys, ac a rwystrodd y gwasanaeth cy- hoeddus, trwy atteb yn uchel ar ol y gweinidog. Ac ar y sabbath canlynol, un o'i gyfeillion, heb gydsyniad y gynnulleidfa, a aeth i fynu i'r ar- eithfa, ac a ddarllenodd yr holl weddi gyffredin. Mr. John Knox yn ei bregeth a feiodd arnynt am dori y cytundeb, ac a haerodd fod rhai peth- au yn goelgrefyddol ac anmhur yn y llyfr gweddi cyffredin.[a]

Dr. Cox yn dyfod i Francfort ac yn peri cynnwrf yn yr eglwys.

Mewn

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

CANT XVI.

Ymraniad yn eglwys Francfort.

Mewn canlyniad i'r pethau hyn, bu ymraniad yn eglwys Francfort. Mr. Fox, awdwr Hanes y merthyron, ac eraill, a aethant i Basil, yn Switzerland; ac eraill a aethant i Geneva, lle y cawsant eu derbyn yn garedig. Y Saeson ag a aeth i Geneva, a osodasant i fynu ddysgyblaeth Geneva, ac a ddewisasant Mr. Knox, a Mr. Goodman, yn weinidogion iddynt. Gwedi i'r ymraniad gymmeryd lle yn eglwys Francfort, a Dr. Cox i osod Mr. Horn yn weinidog yno, anghytunodd y gynnulleidfa drachefn, er mawr waradwydd i grefydd, a thramgwydd i'r bobl yn mhlith pa rai yr oeddent yn ymdeithio. O'r diwedd swyddogion Francfort, a'u cynghorasant hwynt i gladdu pob peth mewn angof, ac i ddewis swyddogion newyddion yn lle y rhai ag oedd gwedi rhoddi i fynu. Ac fel ag yr oedd eu dysgyblaeth hwynt yn ddiffygiol yn y pyngciau mewn dadl, iddynt ddewis gwyr o'u plith eu hun i wneuthur ffurf newydd o ddysgyblaeth, neu i ddiwygio yr hen un; ac iddynt wneuthur hyny cyn y dewisient iddynt eu hunain swyddogion eglwysig. Mewn canlyniad i'r cyngor hwn, pymtheg o'r aelodau a aethant ynghyd â gwneuthur ffurf newydd o ddysgyblaeth; a chwedi ei orphen, cafodd ei arwyddo gan yr holl eglwys, a buant byw yn heddychlon hyd farwolaeth y frenhines Mary.[a]

Pan

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

CANT XVI.

Yr alltudion yn dychwelyd i Loegr.

Pan wybu yr alltudion fod Elizabeth yn teyrnasu, anfonasant lythyrau y naill at y llall, a chymmerodd heddwch cyffredinol le rhyngddynt; a dychwelasant i Loegr, mewn gobaith o fwynhau rhydd-did cyflawn i addoli Duw, yn ol rheol ei air, a goleuni eu cydwybodau. Ond llawer o honynt a gawsant eu siomi, o blegid nad oedd y ffurf o addoliad mor ysgrythyrol, na'r ddysgyblaeth mor bur, ag y dymunasent eu bod. Llawer o'r alltudion diwygiedig, gan hyny, gwedi dyfod i Loegr, a wrthodasant yr esgobaethau a gynnygwyd iddynt,* oblegid y gwisgoedd offeiriadol, a'r defodau eglwysig ag oedd mewn ymarferiad yn eglwys Loegr. A llawer o'r rhai a gymmerasant esgobaethau, a wnaethant hyny mewn dychryn, oddiar angenrheidrwydd yr amseroedd, ac mewn gobaith y gallasent lwyddo gydâ y frenhines, i ddiwygio y ffurf o lywodraeth eglwysig. Yn mhlith y rhai hyn, yr oedd Grindal, Parkhurst, Sandys, Pilkington, ac ereill.ª

Gadawyd yr esgobaethau yn wag dros ryw amser, mewn dysgwyliad y buasai yr hen esgobion yn cydffurfio; ond pan welwyd nad

 oedd

* Yn mhlith y rhai hyn yr oedd Mr. Whitehead, Mr. Bernard Gilpin, yr hen Mr. Miles Coverdale, Mr. John Knox, yr hwn, gwedi hyny, a aeth i Scotland, Mr. Thomas Sampson, ac ereill.

ª Neal's Hist. Purit. Vol. I.

CANT XVI.



oedd amser na dim arall yn abl i'w hysgogu hwynt, cafodd Dr. Matthew Parker ei gyssegru yn archesgob Canterbury, ac yn fuan gwedi hyny, efe a gyssegrodd esgobion i lanw yr esgobaethau ag oedd yn wâg.[a] Dr. Thomas Young a gyssegrwyd yn esgob Tŷ Ddewi, yn lle Dr. Morgan. Dr. Richard Davies, mab David ab Grouwy o sir Dinbych, yr hwn oedd wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, a wnaethpwyd yn esgob St. Asaph, yn lle Thomas Wood; a Dr. Rowland Meyrick o sir Fôn, yr hwn a ddygasid i fynu yn Rhydychen, ac oedd yn flaengeiniad* Lladdewibrefi, a gyssegrwyd yn esgob Bangor, yn lle Maurice Clennock.[b]

Dr. Young esgob Tŷ Ddewi. Richard Davies esgob St. Asaph. Dr. Meyrick esgob Bangor. O. C. 1559.

Yr oedd y diwygiad, y pryd hyn, gwedi ei sefydlu yn yr ynys hon, a'r diwygwyr gwedi ymranu yn ddwy blaid; ac yr oedd dynion enwog mewn duwioldeb a dysgeidiaeth, yn perthyn i bob un o'r pleidiau hyn. Gelwid y blaid hono o ddiwygwyr, ag oedd gwedi cydffurfio â'r gosodiad eglwysig a sefydlasid gan y frenhines a'r senedd, yn ddiwygwyr y llys; a gelwid y blaid arall ag oedd yn gwrthod cydffurfio â gosodiad eglwys Loegr, ac am ddwyn y diwygiad yn mhellach yn mlaen, yn buritaniaid. Yr oedd y ddwy

Y diwygwyr yn ddwy blaid.

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

* Precentor.

[b] Brown Willis.

ddwy blaid hyn, yn amrywio mewn llawer o bethau, fel y canlyn. CANT XVI.



1. Diwygwyr y llys a dybient, fod gan frenin awdurdod i ddiwygio pob cam-arferion mewn athrawiaeth ac addoliad, o fewn ei deyrnas. Ond y puritaniaid a dybient hyny yn afresymol; er hyny, hwy a gymmerasant y llw o uchafiaeth, yn ol yr esponiad ag oedd y frenhines yn roddi arno yn ei harchiad; sef nad oedd ond addefiad o'i hadferiad hi, i hawl naturiol tywysogion dros eu deiliaid. Awdurdod brenin mewn pethau crefyddol.

2. Yr oedd diwygwyr y llys yn caniatau fod eglwys Rhufain yn wir eglwys, er ei bod yn llygredig mewn rhai pyngciau o athrawiaeth a dysgyblaeth; fod ei holl weinyddiadau yn safadwy, a bod y Pab yn wir esgob Rhufain, er nad oedd yn ben i'r eglwys gyffredinol. Ond y puritaniaid a haerent, mai anghrist oedd y Pab; nad oedd eglwys Rhufain ddim yn wir eglwys, a bod ei holl weinyddiadau hi yn goel-grefyddol ac eilun-addolgar. Eglwys Rhufain.

3. Yr oedd y ddwy blaid yn cytuno fod yr ysgrythyrau yn rheol berffaith o ffydd; ond ni addefai diwygwyr y llys, eu bod yn llumman* o ddysgyblaeth a llywodraeth eglwysig, eithr haerent i Grist a'i apostolion i adael i gallineb swyddogion gwladol, i gyfaddasu llywodraeth yr Llumman dysgyblaeth.



* Standard.

CANT XVI.



yr eglwys i lywodraeth y wlad lle y byddai cristianogaeth yn cael ei sefydlu. Ond y puritaniaid a dybient fod yr ysgrythyrau yn llumman dysgyblaeth, cystled a rheol ffydd; ac mai swyddogion eglwysig ac nid swyddogion gwladol, oedd i farnu pa un a bod y llywodraeth eglwysig a osodid i fynu yn unol â gair Duw.

Y ddysgyblaeth apostolaidd.

4. Diwygwyr y llys a baerent fod arferiad y brif eglwys, dros y pedwar cant cyntaf, yn rheol briodol o lywodraeth a dysgyblaeth eglwysig; ac mewn rhai ystyriaethau, yn well na rheol yr apostolion, yr hon, yn eu tyb hwynt, oedd gwedi ei haddasu at gyflwr mebyd yr eglwys; ond fod arferiad y brif eglwys dros ychydig o gantau gwedi hyny, yn cyfateb i ardderchawgrwydd sefydliad teyrnasol. Ond yr oedd y puritaniaid am gadw yn agos at yr ysgrythyrau, yn mhrif egwyddorion llywodraeth eglwysig; ac am beidio caniatau un swyddog nac ordinhad eglwysig, ond y cyfryw ag oedd yn orchymmynedig yn yr ysgrythyr.

Pethau dibwys.

5. Dywedai diwygwyr y llys, y gallasai y pethau ag sydd yn ddibwys ynddynt eu hunain, ac heb eu gorchymmyn na'u gwahardd yn yr ysgrythyr, megis defodau, gwisgoedd, a'r cyffelyb, i gael eu sefydlu, a'u trefnu, a'u gwneud yn angenrheidiol, trwy orchymmyn y swyddog gwladol; ac yn y cyfryw amgylchiadau, fod yn ddyl-

edswydd

CANT XVI.

edswydd ar y deiliaid i'w cadw. Ond yr oedd y puritaniaid yn barnu, na ddylasai y pethau hyny ag a adawodd Crist yn ddibwys, ddim gael eu gwneuthur yn angenrheidiol trwy gyfreithiau dynol; ac mai dyledswydd pawb oedd sefyll yn y rhydd-did â'r hon y rhyddhaodd Crist ni. Ac yn mhellach, gan fod y cyfryw ddefodau gwedi cael eu cam-arferyd i eilun-addoliaeth, ac yn tueddu yn naturiol i arwain dynion yn ol at babyddiaeth a choelgrefydd, nad oeddent mwyach ddim yn ddibwys, ond i gael eu gwrthod fel pethau anghyfreithlon.

Unffurfiad.

6. Yr oedd y ddwy blaid yn cytuno yn rhyfedda, i haeru yr angenrheidrwydd o unffurfiad mewn addoliad cyhoeddus, ac i ymarferyd cleddyf y swyddog gwladol, i gynnal ac amddiffyn eu gwahanol egwyddorion; a phob un o honynt yn eu tro, a gam-arferasant yr awdurdod gwladol, pan allent ei gael o'u plaid. Uchafiaeth y frenhines, a chyfreithiau y wlad, oedd rheol unffurfiad diwygwyr y llys; a deddfau cymmanfaodd taleithiol, a theyrnasol, ag oedd yn cael eu caniatau a'u cymmell gan y swyddog gwladol, oedd rheol unffurfiad y puritaniaid. Ond nid oedd un o'r pleidiau hyn am roddi cyflawn rydd-did i'w cydwladwyr i arferyd yr hawl naturiol sydd gan bob dyn i farnu drosto ei hun mewn pethau crefyddol.[a]

Gwedi

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

CANT XVI.

Ymweliad cyffredinol.

O. C. 1559.

Ymwelwyr Cymru.

Gwedi sefydlu y diwygiad, y frenhines a roddodd orchymmyn i'r esgobion ac ereill, i fyned i ymweled â'r holl eglwysi yn yr amrywiol esgobaethau trwy y deyrnas; i gael gweled beth oedd sefyllfa yr offeiriaid a'r eglwysi, ac i ddiwygio y pethau ag oedd yn feius ynddynt.[a] Dr. Richard Davies, Dr. Rowland Meyrick, Dr. Thomas Young, a Richard Pates, a gawsant eu gosod i ymweled âg esgobaethau Tŷ Ddewi, Llandaff, Bangor, St. Asaph, Henffordd, a Chaerwrangon.[b] Dywedir i'r ymwelwyr hyn, ddinystrio y delwau, a'r allorau, a'r llyfrau pabaidd, ynghyd â'r llestri ag oedd yn yr eglwysi at achosion coel-grefyddol; ac iddynt hefyd droi allan lawer o offeiriaid pabaidd. Mewn canlyniad i hyn, bu llawer o blwyfau yn hir heb offeiriaid; oblegid nid oedd etto nifer ddigonol o offeiriaid diwygiedig, ag oedd yn foddlon i gydffurfio â holl osodiadau eglwys Loegr, i lanw lle y rhai a droisid allan. Yr esgobion, gan hyny, yn lle gadael i'r offeiriaid puritanaidd, ag oedd yn enwog mewn duwioldeb a dysgeidiaeth, i weinidogaethu heb y gwisgoedd gosodedig,* a urddasant

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

[b] Cam. Reg. Vol. I.

* Yr hen Miles Coverdale, ag oedd gwedi bod yn esgob Exeter, a chwedi cynnorthwyo Tyndal i gyfieithu y Bibl, a gafodd bersonaeth yn agos i bont Llundain, a chennad i weinidogaethu heb y gwisgoedd.

CANT XVI.



asant grefftwyr, ac ereill ag oedd yn medru darllain, ac yn foddlon cydffurfio â threfn yr eglwys, er nad oeddynt yn abl pregethu. Yn ganlynol, ni bu fawr o bregethu yn y wlad dros lawer o flynyddoedd; a dywedai Dr. Meyrick, esgob Bangor, nad oedd ganddo ef, y pryd hyny, ond dau bregethwr yn ei holl esgobaeth. Ac y mae yn debygol iawn, nad oedd cyflwr yr esgobaethau ereill fawr yn well.[a] Dr. Young a gafodd ei symud y flwyddyn hon o esgobaeth Tŷ Ddewi, i archesgobaeth York; a Dr. Davies, esgob St. Asaph, a ddyrchafwyd i esgobaeth Tŷ Ddewi yn ei le ef; a chyssegrwyd Dr. Thomas Davies o sir Gaernarfon, yn esgob St. Asaph.[b]

Cyflwr tlawd Cymru. O. C. 1560.

Pan oedd yr hen Gymry yn y cyflwr galarus hwn, heb un Bibl,* yn eu iaith eu hunain, na fawr

Gorchymmyn i gyfieithu y Bibl i'r Cymraeg. O. C. 1562.

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I.

[b] Brown Willis.

* Mae Dr. Davies, esgob Tŷ Ddewi, yn ei lythyr o flaen y Testament newydd, yn dywedyd iddo ef, pan oedd yn fachgen, i weled pum llyfr Moses yn Gymraeg yn nhŷ ei ewythr, yr hwn oedd yn ŵr dysgedig; ond nad oedd neb yn prisio y llyfr hwnw. Nid annhebygol yw, fod y Bibl, neu ranau o hono, gan y Cymry yn y iaith Gymraeg, o'r amser yr anfonodd Duw ef yma, hyd ddechreuad y diwygiad. Ond gan nad oedd rhydd-did gan y bobl i'w ddarllen yn amser pabyddiaeth, a'r gelfyddyd o argraffu heb ei dwyn i'r wlad, nid allasai fod llawer o Fiblau gan y Cymry y pryd hyny. A phan ystyriom y difrod a fu ar lyfrau y Cymry yn rhyfeloedd Owen Glandwr; ac i lawer o lyfrau da gael eu llosgi gydâ y rhai drwg, pan dynwyd i lawr y mynachlog-

CANT XVI.

fawr o athrawon i'w hyfforddu yn y ffordd i'r bywyd, gwelodd Duw fod yn dda i dueddu y senedd i roddi gorchymmyn i gyfieithu yr ysgrythyrau, a llyfr gwasanaeth yr eglwys, i'r iaith Gymraeg. Ac fel annogaeth i'r gorchwyl angenrheidiol hwn, y frenhines a ganiataodd fraint-lythyr dros saith mlynedd, i William Salisbury, o Llanrwst, a John Waley, argraffydd o Lundain, a'u hetifeddion, i argraffu y Bibl, a'r llyfr gweddi cyffredin, a llyfrau defnyddiol ereill, yn Gymraeg; ond i esgobion Henffordd, Tŷ Ddewi, Llandaff, St. Asaph, a Bangor, neu ryw ddau o honynt ag oedd yn hyddysg o'r iaith, i'w darllen a'u cymmeradwyo yn gyntaf. Yn nghylch yr amser hyn, yr adchwiliwyd ac y newidiwyd yr erthyglau crefydd a ffurfiasid yn amser Edward y chwechfed, ac y sefydlwyd hwynt yn ol y drefn ag y maent yn bresennol yn eglwys Loegr.[a] Ond ni osododd pawb o'r offeiriaid eu dwylaw wrthynt y pryd hyny.*

Yr

ydd, nid rhyfedd fod Dr. Davies, esgob Tŷ Ddewi, yn dywedyd yn ei lythyr, fod yn ammheus ganddo pa un a allasid gweled yn holl Gymru y pryd hyn, un hen Fibl yn y iaith Gymraeg. Mae yn debygol, gan hyny, nad oedd un Bibl Cymraeg yn Nghymru o'r amser y dinystriwyd y mynachlogydd hyd y pryd hyn.

[a] Strype's Annals, Vol. I. p. 309, 325, 326, 434.

* Y gwyr canlynol, yn mhlith ereill, a osodasant eu dwylaw wrth yr erthyglau. Esgob Tŷ Ddewi, esgob St. Asaph, esgob Bangor, Thomas Linnett, myniedydd Tŷ Ddewi, John

Yr oedd amryw o offeiriaid eglwys Loegr, y pryd hyn, fel y puritaniaid, am ddwyn y diwygiad yn mhellach ymlaen, a dygasant ysgrifen i gymmanfa yr offeiriaid, wedi ei harwyddo gan dri ar ddeg o offeiriaid, ac yn cynnwys y deisyfiadau canlynol: 1. I'r holl ŵyliau, ond y Sabbath a phrif-ŵyliau Crist, i gael eu diddymu. 2. I'r offeiriaid yn mhob eglwys plwyf, i droi eu wynebau at y bobl wrth ddarllen y llyfr gweddi cyffredin, fel y gallai pawb eu clywed. 3. I adael heibio arwydd y groes* yn y bedydd. 4. I adael pawb i'w dewisiad eu hun yn nghylch penlinio yn y swper sanctaidd. 5. I'r offeiriaid i ddarllen y gwasanaeth yn yr offeren-grys yn unig. 6. I'r organs i gael eu symud o'r eglwysi. Bu dadl mawr yn mhlith yr offeiriaid yn nghylch y pethau hyn; a phan ranodd y gymmanfa, yr oedd deunaw a deugain dros y deisyfiadau, a phedwar ar bymtheg a deugain yn eu herbyn. Yn ganlynol, ni wnaethpwyd un cyfnewidiad yn nefodau yr eglwys. Dywedir fod mwy o offeir-

CANT XVI.

Yr offeiriaid am ychwaneg o ddiwygiad.

Aflwyddiant y puritaniaid.

3 M iaid

Pratt, archdiacon Tŷ Ddewi, John Butler, archdiacon Aberteifi, Walter Jones, archdiacon Aberhonddi, William Constantine, myniedydd Tŷ Ddewi, Hugh Jones o St. Asaph, Richard Rogers, archdiacon St. Asaph, Edmund Meyrall, archdiacon Bangor, Hugh Morgan, myniedydd Bangor, Nicolas Robinson, archdiacon Meirionydd, Andreas Peerson, myniedydd Llandaff, a Thomas Powell, myniedydd St. Asaph.

Strype's An. Vol. I. p. 327.

CANT XVI.

iaid Cymru yn erbyn, nâ thros y deisyfiadau uchod.[a]

Y frenhines yn anfoddlon i'r Puritaniaid.

Pan glybu y frenhines fod llawer o'r offeiriaid yn darllen y gwasanaeth, ac yn gweini yr ordinhadau yn amlach heb y gwisgoedd offeiriadol nag ynddynt, hi a anfoddlonodd yn fawr, ac a anfonodd at yr arch-esgobion, i ddeisyf arnynt i roi gorchymmyn i'r esgobion i chwilio i mewn i'r pethau hyn, ac arferyd moddion effeithiol i beri i'r holl offeiriaid i gyd-ffurfio â'r holl ddefodau gosodedig; ac na chai neb ddyrchafiad eglwysig o hyny allan, ond y cyfryw ag oedd yn foddlon i gyd-ffurfio â holl ddefodau yr eglwys. Yr esgobion a'r offeiriaid puritanaidd, pan welsant fod yr ystorom yn dechreu casglu, a wnaethant eu goreu i'w throi heibio; ond yr oedd y frenhines â'i bryd ar gadw pethau yn y dull ag yr oeddent gwedi eu sefydlu. Ac arch-esgob Canterbury, i'r dyben i ddystewi yr offeiriaid puritanaidd, a roddodd orchymmyn na byddai neb i roddi cenad iddynt i bregethu yn eu heglwysi ar awdurdod yr hen fraint-lythyrau* a roddasid iddynt; ac na chai neb fraint-lythyr newydd i bregethu, ond y cyfryw ag oedd yn foddlon i rwymo eu hunain, na fyddai iddynt, o hyny allan, aflonyddu y gosodiad cyffredin, nac amrywio oddi-

Sel arch-esgob Canterbury dros ddefodau yr eglwys.

[a] Strype's Annals, Vol. I. p. 337—339.

* Licences.

oddiwrtho. Y puritaniaid, yn anabl i wneuthur hyny yn gydwybodol, a gadwasant eu hen fraint-lythyrau, ac a wnaethant y defnydd goreu a allasent o hynynt, trwy fyned oddi amgylch o eglwys i eglwys, i bregethu lle y caent genad. Cafodd llawer o offeiriaid eu troi allan y pryd hyn, oblegid na allent yn gydwybodol i addoli Duw yn y gwisgoedd pabaidd. Gorfu ar rai o honynt gymmeryd swyddau gwladol; aeth ereill dros y môr, ac ereill i Scotland, lle yr oedd y diwygiad yn llwyddo; ond llawer o'r rhai ag oedd â theuluoedd lluosog ganddynt a gawsant eu dwyn i'r tlodi mwyaf. Gwell oedd gan yr archesgob, mae yn debygol, fod y bobl yn gyffredin heb bregethau ac ordinhadau efengylaidd, nag iddynt i'w cael heb yr offeren-grys a'r capan.[a]

CANT XVI.



Yr offeiriaid puritanaidd yn gweled nad oedd yn bosibl iddynt i lwyddo gydâ y frenhines a'i swyddogion, a dybiasant mai eu dyledswydd hwynt oedd gosod eu hachos ger bron y byd. Yn ganlynol, hwy a argraffasant lyfr dan yr enw, 'Cyhoeddiad o ymddygiad y gweinidogion hyny 'yn ninas Llundain, a wrthodasant wisgo gwisg-'oedd gweinyddawl eglwys y Pab.' Yn y llyfr hwn y maent yn dangos nad oedd y prophwydi na'r apostolion yn cael eu gwahaniaethu trwy eu gwisgoedd. Fod y wisg liain yn briodol i offeiriadaeth

O. C. 1566.

Tyb y puritaniaid yn nghylch y gwisgoedd offeiriadol.



[a] Neal's Hist. Parit. Vol. I.

CANT XVI.

eiriadaeth Aaron, ac yn arwyddo rhyw beth i gael ei gyflawni yn Nghrist a'i eglwys. Nad oedd gwahaniaeth gwisgoedd ddim yn beth cyffredin yn yr eglwys gristianogol dros hir amser gwedi dyfodiad anghrist. I'r offeren-grys, neu y wisg wen, ddyfod i'r eglwys Iuddewig oddiwrth yr Aiphtiaid, ac mai y Pab Sylvester, oddi amgylch y flwyddyn tri chant ac ugain o oed Crist, oedd y cyntaf a orchymmynodd i'r swper sanctaidd gael ei weini mewn gwisg wen; a'i reswm ef dros hyny oedd, o blegid i gorph Crist gael ei gladdu mewn lliain gwyn. Fod y gwisgoedd wedi eu cam-arferyd i eilun-addoliaeth, a phob math o ddewiniaeth gan y pabyddion. Fod y gwisgoedd yn dramgwydd i gristianogion gweinion, ac yn annogaeth i'r pabyddion anwybodus a chyndyn. Nad yw y gwisgoedd, ar y goreu, ond gosodiadau dynol, a phe buasent yn bethau dibwys, na ddylasid dim eu harddodi, o blegid fod hyny yn droseddiad o'r rhydd-did â'r hon y rhyddhaodd Crist ni. Yn ddiweddaf, y maent yn dangos fod yr holl ddifinyddion tramor, yn barnu y gwisgoedd, er nad oeddent yn foddlon i beryglu y diwygiad yn ei febyd o'u hachos.*

Gorthrymder y puritaniaid.

Cyn gynted ag y daeth y llyfr hwn allan, llawer a ysgrifenasant yn ei erbyn; ond y puritaniaid

* Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 151.

CANT XVI.

iaid a'u hattebasant hwynt oll; a chymmaint oedd awydd y bobl am ddarllen eu llyfrau hwynt, fel ag y gwnaethpwyd cyfraith i rwystro pawb, o hyny allan, i gyhoeddi llyfrau yn erbyn gorchymmynion y frenhines; ac y byddai i bwy bynag a argraffai y cyfryw lyfrau, gael ei garcharu dros dri mis, a fforffedu ei holl lyfrau, ac na chai arferyd y gelfyddyd o argraffu byth yn ol hyny.[a]

Y puritaniaid yn neillduo oddi wrth eglwys Loegr. O. C. 1566.

Pan welodd yr offeiriaid puritanaidd nad oedd gobaith iddynt gael gweinidogaethu yn yr eglwys sefydledig heb arferyd y gwisgoedd pabaidd, a bod nifer luosog iawn o'r bobl gyffredin o'r un farn a hwynt yn nghylch y gwisgoedd, hwy a ymgynghorasant lawer â'r Arglwydd, ac â'u gilydd yn nghylch eu dyledswydd yn y cyfryw amgylchiadau; ac o'r diwedd penderfynasant i neillduo oddiwrth eglwys Loegr, a chyfarfod, fel y caffent gyfleustra, mewn tai neillduol, a lleodd ereill, i addoli Duw mewn dull didramgwydd i oleuni eu cydwybodau, a gwneuthur arferiad o lyfr gwasanaeth Geneva yn unig.[b]

Er y buasai puritaniaid yr amser hyny, yn aros yn eglwys Loegr, pe buasid yn gadael iddynt weinidogaethu heb arferyd y gwisgoedd, a rhai o'r

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 153.

[b] Ibid. p. 154.

CANT XVI.



o'r defodau: yr oeddent hwy yn gwrthddadleu yn erbyn llawer o bethau ereill, megis, 1. Yr awdurdod gwladol ac eglwysig ag oedd yn gysylltedig â swydd esgob. 2. Enwau a swyddau archdiaconiaid, deoniaid, a swyddwyr yr eglwysi cadeiriol. 3. Awdurdod mawr yr esgobion a'r canghellwyr yn eu llysoedd ysbrydol. 4. Diffyg dysgyblaeth. 5. Rhai pethau yn y llyfr gweddi cyffredin, yn neillduol yn ngwasanaeth priodas a chladdedigaeth. 6. Darllen yr apocrypha yn yr eglwys, a gadael heibio ranau o'r ysgrythurau canonaidd. 7. Fod llawer o'r offeiriaid yn byw heb bregethu, ac yn mhell oddiwrth eu praidd. 8. Fod cynnifer o'r bywioliaethau heb fod yn rhoddiad y plwyfogion. 9. Llawer o'r gwyliau. 10. Dull yr addoliad yn yr eglwysi cadeiriol. 11. Y defodau gosodedig; megis, arwydd y groes yn y bedydd. Tadau a mamau bedydd. Bedydd esgob. Penlinio yn y swper sanctaidd. Plygu wrth enw Iesu. Y fodrwy yn y briodas. Gwisgo y wisg wen, a rhai defodau ereill. Dyma y pethau mwyaf neillduol ag oedd y puritaniaid, y pryd hyny, yn gwrthddadleu yn eu herbyn; ond gan nad oedd dim gwahaniaeth rhyngddynt hwy a'r cyd-ffurfwyr mewn athrawiaeth, yr oeddent yn gobeithio, pe buasent yn cael eu dyoddef i weinidogaethu heb y gwisgoedd, y buasai llawer o'r pethau hyn yn cael eu diwygio mewn amser.[a]

Ar

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 157—161.

CANT XVI.

Ar farwolaeth Anthony Kitchin, cafodd Hugh Jones ei gyssegru yn esgob Llandaf yn ei le ef. Yr oedd Hugh Jones yn Gymro genedigol; ac y mae yn debygol nad oedd un Cymro wedi bod yn esgob Llandaf er ys tri chant o flynyddoedd o'r blaen [a] Y flwyddyn hon, cafodd y Testament Newydd ei argraffu yn y iaith Gymraeg, yn llyfr pedwar plyg, wedi ei ddosparthu yn llyfrau a phennodau, fel ag y mae yn bresennol; a'r rhe-swm a'r cynnwysiad o flaen pob llyfr a phennod, ac eglurhad o'r geiriau anhawdd ar ymyl y ddalen.. Ond nid oedd ynddo gyfeiriadau at adnodau cyfattebol, oblegid nid oedd y pennodau wedi eu dosparthu yn adnodau, oddi eithr mewn rhai llyfrau tu a diwedd y Testament. Dr. Richard Davies, esgob Tŷ Ddewi, oedd y gwr a gyfieithodd ail lythyr Paul at Timotheus, y llythyr at yr Hebreaid, llythyr Iago yr apostol, y'nghyd â dau lythyr Pedr. Thomas Huet, cantor Tŷ Ddewi, a gyfieithodd lyfr y Datguddiad; a Mr. W. Salsbury, o Lanrwst, a gyfieithodd y rhanau ereill o'r Testament Newydd [b] Dr. Davies, esgob Tŷ Ddewi, a osododd o flaen y Testament hwn lythyr yn y iaith Gymraeg at ei gydwladwyr, yn neillduol trigolion esgobaeth Tŷ Ddewi.[c] Y mae yr esgob, yn y llythyr hwnw, yn galw

Hugh Jones, esgob Llandaf. O. C. 1567.

Argraffu y Testament Newydd yn y iaith Gymraeg. O. C. 1567.

Cyfieithwyr y Testament Newydd i'r iaith Gymraeg.

Llythyr esgob Tŷ Ddewi at y Cymry.

[a] Brown Willis.

[b] Dr. Llewelyn's Hist. Account. Camb. Reg.

[c] Argraffwyd y trydydd argraffiad o'r llythyr hwn yn Nghaerfyrddin, yn y flwyddyn 1774.

CANT XVI.

galw ar y Cymry, yn y modd mwyaf cariadus, i ddyhuno o'u cwsg, ac i dderbyn a gwerthfawrogi y rhodd ardderchog ag oedd yn awr yn cael ei chynnyg iddynt. Y mae yn dwyn ar gof iddynt, pa fodd y cadwodd yr hen Gymry yr efengyl yn ddilwgr yn eu gwlad dros lawer o oesoedd, a'r erledigaethau a ddyoddefasant o'i phlegid. Gwedi hyny y mae yn dangos pa fodd y cawsant, o'r diwedd, eu llygru, a'u dwyn yn gaeth gan babyddiaeth, a pha fodd y cafodd eu llyfrau eu dinystrio o bryd i bryd, nes i'w holl waith, yn mron, gael ei ddyfetha. Yna y mae yn mawrygu y goleuni ag oedd wedi tywynu ar bob gwlad, er pan ddyfeiswyd y gelfyddyd o argraffu llyfrau, ac yn galaru fod y Cymry wedi manteisio cyn lleied oddiwrth y gelfyddyd honno. Ond er eu cysur, y mae yn dywedyd, wedi hyny, fod eu hesgobion, trwy gynnorthwy William Salisbury, ynghylch rhoddi iddynt yr holl Fibl yn eu hiaith eu hunain; fod y Testament Newydd yn barod, a'i fod yn gobeithio na fyddent yn hir heb gael yr Hen Destament hefyd.*

Cyssegriad y Testament Cymraeg i'r frenhines.

Heblaw y llythyr hwn, yr oedd dydd-lyfr, a chyssegriad i'r frenhines Elizabeth, o waith William Salisbury, yn y iaith Saesneg, wedi ei osod o flaen y Testament Cymraeg. Y mae William Salisbury, yn y cyssegriad hwnw, yn dangos fod y Cymry wedi bod yn addoli delwau, clych, ac esgyrn

* Llythyr R. Davies, esgob Tŷ Ddewi, at y Cymry.

esgyrn dynion, yn lle y gwir Dduw. Wedi hyny y mae yn diolch i'r frenhines am waredu miloedd o'i gyd-wladwyr o dywyllwch coel-grefydd a phabyddiaeth. Y mae ef hefyd yn dangos fod y Cymry, yn yr amser gynt, yn fwy anewyllysgar nâ neb i dderbyn pabyddiaeth, ond nad oedd neb, y pryd hyny, yn fwy anewyllysgar i ymadael â'r grefydd gyfeiliornus hono nâ hwynt-hwy. Yna y mae yn dywedyd fod y gwaith o gyfieithu ac argraffu yr ysgrythyrau wedi ei osod gan esgobion Cymru arno ef; a'i fod ef, yn eu henwau hwynt, yn cyflwyno y Testament Newydd yn y iaith Gymraeg iddi hi, ac yn dymuno arni i'w osod yn ei llyfr-dŷ.[a] Mr. William Salisbury, y flwyddyn hon, a argraffodd hefyd y llyfr gweddi cyffredin yn y iaith Gymraeg. A Gruffydd Roberts, yr hwn a ddygasid i fynu yn athrofa Sienna, yn yr Ital, dan nawdd William Herbert, iarll Penfro, a argraffodd Ramadeg Cymraeg, y flwyddyn hon, yn Milan.[b]

CANT XVI.

Y llyfr gweddi cyffredin yn Gymraeg.

Gramadeg Cymraeg.

I'r dyben i osod o'r neilldu gyfieithad Geneva, yr hwn oedd wedi rhoddi tramgwydd i rai, cafodd Bibl daublyg ei gyhoeddi yn y iaith Saesneg, yr hwn a elwir yn Fibl yr esgobion. Nid oedd hwn ond cyfieithad Cranmer, wedi ei adchwilio a'i ddiwygio gan amryw o'r esgobion a dysgedigion ereill. Yn y Bibl hwn y mae map o wlad

Bibl yr esgobion. O. C. 1568.



[a] Dr. Llewelyn's Hist. Account.

[b] Camb. Biog.

CANT XVI.



Canaan o flaen llyfr Genesis; a map o'r lleodd a enwir gan y pedwar efengylwyr, y'nghyd â theithiau Crist a'i apostolion, o flaen efengyl Matthew. Dyma y Bibl a ddarllenid yn eglwysi Lloegr, hyd oni ddaeth y cyfieithad diweddaf allan yn amser Iago y cyntaf.[a] Y flwyddyn hon y bu farw William Barlow, ag oedd gwedi bod yn esgob St. Asaph a Thŷ Ddewi, ac wedi hyny, Bath a Wells. Yn nheyrnasiad y frenhines Mary, efe a garcharwyd, ond gwedi diangc o'r carchar, efe a aeth i Germany, lle yr arosodd hyd farwolaeth Mary. Gwedi iddo ddychwelyd yn amser Elizabeth, efe a gafodd ei wneuthur yn esgob Chichester, ac yno y bu efe hyd ddydd ei farwolaeth.[b] Yr un flwyddyn, hefyd, y bu farw Humphrey Llwyd, o Dinbych, yr hwn oedd yn hynafiaethydd dysgedig. Humphrey Llwyd, wedi astudio physygwriaeth yn Rhydychen, a arferodd yr alwad honno yn lle ei enedigaeth, a bu yn cynnrychioli y lle hwnw yn y senedd. Yr oedd yn ŵr enwog yn ei ddydd, ac a ysgrifenodd amryw lyfrau i egluro hanes y Cymry.[c] *

Marwolaeth esgob Barlow.

Marwolaeth Humphrey Llwyd.

Er

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 167.

[b] Godwin's Catalogue.

[c] Camb. Biog.

* Megis, 1. Commentarioli Britannicæ Descriptionis Fragmentum. Thomas Twyne, yn y flwyddyn 1753, a gyhoeddodd gyfieithad o'r llyfr hwn yn y iaith Saesneg, dan yr enw, Breviary of Britain. 2. De Mona Druidum Insula.

Er fod y grefydd brotestanaidd gwedi cael ei sefydlu y pryd hyn yn y deyrnas hon, yr oedd y pabyddion yn lluosog iawn trwy yr holl wlad, a llawer o honynt a wrthryfelasant yn erbyn y llywodraeth. Y Pab, i'r dyben i gryfhau dwylaw y gwrthryfelwyr pabaidd yn Lloegr, a ysgymunodd y frenhines Elizabeth, fel un ag oedd, yn ei dyb ef, yn cyfeiliorni oddiwrth y gwirionedd, ac yn rhoddi annogaeth i gyfeiliornwyr. Yn y llythyr o ysgymundod, y mae y Pab yn difuddio y frenhines o'i choron, ac yn rhyddhau ei holl ddeiliaid oddiwrth eu rhwymau i roddi ufudddod iddi. Er i hyn ddychrynu ychydig ar y llywodraeth, a'i gwneuthur yn fwy gwiliadwrus, dangosodd y bobl, yn gyffredin, nad oedd taranau y Pab, yn awr, yn cael nemawr o effaith arnynt. Ond er nad oedd y llywodraeth mewn nemawr o berygl oddiwrth y weithred hon o eiddo y Pab, cymmerodd y frenhines achlysur oddiwrth yr amgylchiad, i wneuthur cyfreithiau cospawl yn erbyn y pabyddion, y rhai, yn eu canlyniadau, a fuant yn niweidiol hefyd i'r puritaniaid. Y flwyddyn ganlynol, gwnaethpwyd cyfraith i beri i'r holl offeiriaid ag oedd â phersonaethau ganddynt, i osod eu dwylaw wrth erthyglau yr eglwys. Pan osodwyd y gyfraith hon

CANT. XVI.

Y Pab yn ysgymuno y frenhines.

O. C. 1569.



Antiquati suæ restituta, 1568. 3. Chronicon Walliæ, a Rege Cadwalader, usque ad A. D. 1294. M. S. 4. Hanes Cymru, yr hwn a gyhoeddwyd gan Dr. Powell yn y flwyddyn 1584.

CANT XVI.

Cant o offeiriaid yn cael eu troi allan. O. C. 1572.

hon mewn grym, cafodd cant o offeiriaid eu difuddio o'u bywioliaethau, oblegid gwrthod o honynt osod eu dwylaw wrth yr erthyglau.[a]

Y puritaniaid, yn gweled nad oedd gobaith iddynt gael diwygiad cyhoeddus gan y llywodraeth, a gytunasant i'w geisio mewn ffordd mwy dirgel; ac i'r dyben hyn, hwy a ffurfiasant eglwys yn mhentref Wandsworth, gerllaw Llundain, yr hon oedd yr eglwys bresbyteraidd gyntaf yn Lloegr. Er iddynt gymmeryd y gofal mwyaf i gadw pob peth yn ddirgel, daeth eu hymddygiad i glustiau y llywodraethwyr, a rhoddwyd gorchymmyn i osod y gyfraith unffurfiad mewn grym. Ond er fod swyddogion y frenhines yn gwybod fod eglwys bresbyteraidd yn Wandsworth, nid oeddent yn abl i gael allan y cyfryw ag oedd yn aelodau ynthi, nac ychwaith i rwystro eglwysi ereill ar yr un lluniad, i gael eu gosod i fynu mewn siroedd cymmydogaethol.[b] Bu farw Dr. Thomas Davies, esgob St. Asaph, y flwyddyn ar ol hon, a chyssegrwyd William Hughes, mab Hugh ab Kendrick, o sir Gaernarfon, yn esgob yn ei le ef. Yr oedd William Hughes wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen a Chambridge, ac yn ŵr dysgedig iawn.[c]

Yr eglwys bresbyteraidd gyntaf yn Lloegr. O. C. 1572.

William Hughes, esgob St. Asaph. O. C. 1573.

Yr

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 169, 170, 179, 180, 190.

[b] Ibid. p. 202.

[c] Brown Willis.

Yr oedd y cyfreithiau cospawl ág oedd yn awr mewn grym yn erbyn pawb nad oedd yn cydffurfio âg eglwys Loegr, mewn athrawiaeth a dysgyblaeth, yn pwyso yn drymach ar y bedyddwyr ag oedd wedi dyfod o Germany, ac yn gwrthod uno âg eglwysi Lloegr, nag ar neb arall. Cyfododd dau fath o fedyddwyr gydâ y diwygiad yn Germany. Nid oedd y naill yn amrywio oddiwrth gristianogion yn gyffredinol, ond ynghylch deiliaid a dull bedydd. Ond yr oedd y rhai ereill yn ddynion penboeth, a ffyrnig yn eu tymherau, yn siarad mewn dull mor annyalladwy am grefydd, fel ag y dygasant waradwydd mawr ar y lleill, er nad oeddent yn ei haeddu. Cafodd amryw o'r rhai hyn eu cymmeryd i fynu mewn tŷ yn Llundain, lle yr oeddent wedi cyfarfod i addoli Duw. Pedwar o honynt a ddad-ddywedasant y cyfeiliornadau canlynol ag oeddent yn eu dal: 1. 'Na chymmerodd Crist gnawd o sylwedd Mair.' 2. 'Y dylid ail-fedyddio babanod rhieni duwiol.' 3. 'Na ddylai un cristion fod yn swyddog gwladol.' 4. 'Nad yw yn gyfreithlon i gristion gymmeryd llw.' Ond ereill a wrthodasant i wadu y pethau hyn; a chafodd naw o honynt eu halltudio, a dau eu llosgi, er mor daer y bu Mr. Fox, awdwr hanes y Merthyron, ac ereill, yn ymbil ar y frenhines drostynt.[a]

CANT XVI.

Erlid y bedyddwyr. O. C. 1575.

Llosgi dau o'r bedyddwyr yn Llundain. O. C. 1575.

Yr

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 228.

CANT XVI.

Presbyteriaid yn gweinidogaethu yn eglwys Loegr. O. C. 1578.

Yr oedd llawer o'r offeiriaid ag oedd y pryd hyn yn gweinidogaethu yn eglwys Loegr, wedi eu hurddo gan henuriaid eglwysi Germany, yn ol dull y presbyteriaid; ac nid oedd neb yn ammeu cadernid eu hurddiad hwynt; o blegid yn ol y gyfraith a wnaethpwyd yn y drydedd flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Elizabeth, yr oedd urddiad eglwysi diwygiedig mewn gwledydd tramor, yn cael ei gyhoeddi yn safadwy; a'r cyfryw nad oeddent wedi cael un urddiad arall, yn cael eu hystyried yn addas i weinidogaethu yn eglwys Loegr. Ond yn nghylch yr amser hyn, Sandys arch-esgob York, a ddechreuodd ammeu priodoldeb y drefn hon, ac a wnaeth ei oreu i ddiswyddo Mr. Whittingham, deon Durham, o blegid mai gan henuriaid eglwys Geneva yr urddasid ef. Y mae yn anhawdd gwybod pa un a buasai yr arch-esgob yn llwyddo neu peidio; ond tra yr oedd yn ymdrechu i wneuthur hyny, cafodd Mr. Whittingham ei gipio gan angeu i hurach eglwys, a darfu y ddadl dros amser.[a]

Pabyddiaeth yn lleihau. O. C. 1579.

Yr oedd y diwygiad yn awr wedi cynnyddu i raddau helaeth, a dywedir nad oedd ond deg ar hugain o'r hen offeiriaid pabaidd yn y deyrnas. Pan welodd y pabyddion fod eu hachos yn lleihau yn Lloegr, hwy a osodasant athrofäau i fynu yn Ffraingc, Spain, a'r Ital, lle yr oedd gwyr ieuaingc

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 243, 244.

CANT XVI.

ieuaingc o Gymru a Lloegr yn cael eu dwyn i fynu yn egwyddorion y grefydd babaidd, gydâ bwriad i ddychwelyd i'w gwlad eu hun, i hyfforddi eu cydwladwyr yn yr unrhyw egwyddorion. Y mae yn debygol iddynt lwyddo i ryw raddau dros ychydig amser; ac i fwy nâ thri chant o offeiriaid pabaidd gael eu hanfon i'r wlad hon mewn ychydig o flynyddoedd wedi hyn. Yr oedd Dr. Owen Lewis, o Gymru, yn flaenor yn yr athrofa babaidd ag oedd y pryd hyn yn Rhufain.[a]

Dechreuad y Browniaid. O. C. 1581.

Y mae yn debygol i'r mesurau angherddol a arferid y pryd hyn gan y frenhines a'r esgobion yn erbyn y puritaniaid, fod yn foddion i'w gyru yn mhellach oddiwrth yr eglwys sefydledig. Lluaws mawr a ymadawsant yn hollol â'r eglwys; a chymmaint oedd eu rhagfarn yn ei herbyn, fel na chaniataent fod eglwys Loegr yn wir eglwys, na'i gweinidogion yn wir weinidogion. Gelwid y bobl hyn yn Browniaid, oddiwrth un Robert Brown, offeiriad yn esgobaeth Norwich, o dylwyth anrhydeddus, ac wedi ei ddwyn i fynu yn Cambridge. Yr oedd Robert Brown yn bregethwr tanllyd, ac efe a âi oddi amgylch gan bregethu yn erbyn esgobion, defodau, llysoedd eglwysig, urddo gweinidogion, a phethau ereill ag oedd ef yn dybied fod yn feius yn eglwys Loegr.

[a] Fuller's Ch. Hist. B. IX. p. 84—92. Athenæ Oxon. Vol. I.

CANT XVI.



Loegr. Dywedir iddo ddyoddef llawer o erledigaethau, ac iddo gael ei fwrw i ddeg carchar ar hugain, a bod rhai o honynt mor dywyll, fel nad allasai weled ei law ynddynt ar hanner dydd. Wedi bod yn pregethu oddiamgylch y wlad dros ryw amser, efe a osododd i fynu gynnulleidfa neillduol yn ol ei egwyddorion ei hun. Ond y frenhines a'r esgobion a gadwasant eu llygaid arno, a gorfu iddo ef a'i gynnulleidfa ffoi i Holland. Gwedi sefydlu yn Holland, a chael eu gwaredu oddiwrth eu gwrth'nebwyr, y Brownaid a ddechreuasant ymryson yn eu plith eu hunain. Pan welodd Robert Brown y pethau hyn, efe a ddychwelodd i Loegr, ac wedi ymwrthod â'i egwyddorion o ymneillduaeth, efe a gafodd bersonaeth yn Northamptonshire, lle yr arweiniodd fywyd segur a drygionus, ac y diweddodd ei yrfa yn ngharchar.*

Y Browniaid yn ffoi i Holland.

Ond er i Robert Brown ei hun ddychwelyd i fynwes eglwys Loegr, cynhyddodd ei ganlynwyr a daethant yn blaid luosog. Yr oedd y Browniaid yn cytuno âg eglwys Loegr yn erthyglau ei ffydd, ond yn barnu fod ei dysgyblaeth yn babaidd, a'i hordinhadau yn ddirym. Yr oeddent yn barnu y dylasai pob eglwys gael ei chyfyngu o fewn terfynau un gynnulleidfa, a'r llywodraeth eglwysig fod yn werin-lywodraeth. Pan fyddai

Egwyddorion y Browniaid.

* Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 251, 252.

CANT XVI.

fyddai eglwys i gael ei chasglu, y rhai a ewyllysient i fod yn aelodau a wnaent gyfaddefiad o'u ffydd y'mbresennoldeb y naill y llall, ac a osodent eu dwylaw wrth gyfammod, i rodio yn ol rheolau yr efengyl. Yr oedd yr holl awdurdod i dderbyn aelodau, a'u troi allan, yn nghyd â phenderfynu dadleuon, yn y frawdoliaeth ei hun. Dewisid y swyddogion eglwysig at bregethu y gair, a gofalu am y tlodion, o'u plith eu hunain yn unig; a neilltuid hwynt i'w gwahanol swyddau gan y frawdoliaeth, trwy ympryd a gweddi, ac arddodiad dwylaw rhai o'r brodyr. Pan fyddai nifer y cymunwyr yn rhy luosog i gyfarfod yn yr un lle, ymranai yr eglwys mewn modd caredig, a dewisid gweinidogion o'u plith eu hunain, fel o'r blaen; a byddent byw fel chwaer eglwysi, gan roddi i'w gilydd ddeheu-law cymdeithas. Nid oedd i un eglwys arglwyddiaethu ar eglwys arall; ond os byddai un o'r eglwysi yn rhodio yn anweddaidd, gallasai y rhai ereill roddi cynghor iddi; ac os na chymmerai hi y cyngor, fod iddynt neillduo oddiwrthi, a diarddelwi eu perthynas â hi fel eglwys Crist. Yr oedd awdurdod eu swyddogion yn cael ei gyfyngu o fewn cyffiniau eu heglwys eu hun; ac nid oedd y gweinidog i weini yr ordinhadau o fedydd a swper yr Arglwydd, i neb ond y rhai ag oedd yn perthyn i'w eglwys ei hun. Yr oeddent yn erbyn ffurfiau o weddiau, ac yr oedd rhydd-did i bob brawd a

CANT XVI. ewyllysiai, i roddi gair o gyngor yn eu cyfarfodydd eglwysig.[a]

Marwolaeth Dr. Davies, esgob Tŷ Ddewi. O. C. 1581.

Dr. Richard Davies, wedi bod yn llafurus iawn yn esgobaeth Tŷ Ddewi, dros ugain mlynedd, a fu farw yn llawn o ddyddiau, ac a gladdwyd yn Abergwilly, yn sir Gaerfyrddin. Ar farwolaeth Dr. Davies, Marmaduke Middleton, mab Thomas Middleton, o sir Aberteifi, a symudwyd ó esgobaeth Waterford yn yr Iwerddon, i esgobaeth Tŷ Ddewi.[b]

O. C. 1584.

Dr. David Powell, hynafiaethydd enwog o Riwabon, yn sir Dinbych, a gyhoeddodd gyfieithad Saesneg Humphrey Llwyd o hanes Cymru, gan Caradog o Lancarfan, gydâ nodau eglurhaol o'i waith ei hun.[c] Nid oedd gan y Cymry etto, yn eu hiaith eu hun, ond y Testament Newydd, y llyfr gweddi cyffredin, Gramadeg, ac ychydig o lyfrau ereill i'w cyfarwyddo yn y dull o addoliad cyhoeddus. Ond y flwyddyn ar ol hon, argraffwyd llyfr yn y iaith Gymraeg, a elwir, 'Y 'drych cristianogol, yn yr hwn y dichon pob 'cristion ganfod gwreiddyn a dechreuad pob 'daioni ysbrydol.' Y mae yn anhawdd, yn bresennol,

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 252, 253.

[b] Athenæ Oxon. Vol. I.

[c] Camb. Biog.

sennol, i wybod pwy oedd awdwr y llyfr defnyddiol hwn.[a]

CANT XVI.

Dygwyd llawer o achwyniadau trymion, y flwyddyn hon, yn erbyn William Hughes, esgob St. Asaph. Dywedir fod y rhan fwyaf o'r bywioliaethau yn yr esgobaeth, naill ai yn ei feddiant ef ei hun, neu yn meddiant offeiriaid ag oedd yn byw allan o'r wlad. Ac hefyd nad oedd un o'r offeiriaid, trwy yr holl esgobaeth yn byw yn addas i'r efengyl, ond Dr. Powell o Riwabon, Dr. William Morgan o Lanrhaiadyr Mochnant, a rhyw hen offeiriad arall, ag oedd oddiamgylch pedwar ugain oed.[b] Ond er hyn, mwynhaodd esgob Hughes ei esgobaeth hyd ddydd ei farwolaeth, a bu yn gynnorthwyol i gyfieithu yr Hen Destament i'r Cymraeg.

Achwyniadau yn erbyn esgob Hughes. O. C. 1587.

Pan ddyoddefodd y frenhines Elizabeth i Mary, brenhines y Scotiaid, i gael ei gosod i farwolaeth, yr holl dywysogion pabaidd a ddychrynasant, ac a fwriadasant i ddial ei marwolaeth hi. Ac yn mhlith ereill, Philip, brenin Spain, i'r dyben i sefydlu pabyddiaeth yn y deyrnas hon, a ddarparodd lynges o gant a deg ar hugain o longau, o'r maintioli mwyaf a welsid etto yn Europe, a thros ugain o longau bychain, yn yr hon yr oedd dros ugain mil o filwyr, heblaw wyth mil a

Llynges arfog Spain. O. C. 1588.



[a] Williams's Catal.

[b] Strype's Annals, Vol. II. p. 293.

CANT XVI. phedwar cant o forwyr. Nid oedd gan Loegr, y pryd hyny, ond oddiamgylch deg ar hugain o longau i'w gwrthwynebu, ac ond ychydig o filwyr tir. Ond Arglwydd y lluodd a ymladdodd drosom; canys pan ddaeth llynges arfog Spain allan o borthladd Lisbon, cyfarfu y dydd nesaf â thymhestl angherddol, yr hon a soddodd rai o'r llongau lleiaf, ac a barodd i'r llynges i ddychwelyd i'r porthladd. Gwedi treulio ychydig o amser i adgyweirio, hwy a aethant allan drachefn. Ond rhwng llynges Lloegr, a'r tymhestloedd a gyfododd y pryd hyny, cafodd pobl Spain eu gorchfygu; ac ni ddychwelodd o'r llynges fawr honno ond tair ar ddeg a deugain o longau, a'r rhai hyny mewn cyflwr truenus iawn.*

Mr. John Penry. O. C. 1588. Mr. John Penry, o sir Frycheiniog, yr hwn a ddygwyd i fynu yn gyntaf yn Cambridge, ac wedi hyny yn Rhydychen, oedd ŵr duwiol a dysgedig; ond yn ol tyb rhai, yn gamsyniol yn ei egwyddorion, ac yn dwym yn ei dymherau. Wedi pregethu gydâ chanmoliaeth yn Cambridge a Rhydychen, efe a ddaeth i Gymru; ac efe oedd y cyntaf, medd ef, ag a bregethodd yn gyhoeddus i'r Cymry, ac a hauodd yr had da yn eu plith. Y flwyddyn hon efe a gyhoeddodd ddau lyfr, dan yr enwau canlynol: 1. 'Golwg ar y diffygiadau 'cyhoeddus, a'r annhrefn ag sydd yn Nghymru; 'ynghyd

* Goldsmith's Hist. Eng. Vol. II. p. 300.

'y'nghyd â deisyfiad cyhoeddus ar y senedd i'w 'diwygio.' Yn y llyfr hwn y mae Mr. Penry yn dangos nid yn unig yr angenrheidrwydd o ddiwygio cyflwr crefyddol y Cymry, ond hefyd y ffordd i ddwyn y diwygiad oddi amgylch. 2. 'Annogaeth i lywodraethwyr a phobl Cymru, i 'ymdrechu yn ddifrifol am gael pregethiad yr 'efengyl yn eu plith.'*

CANT XVI.

Er i'r senedd ordeinio i'r ysgrythurau gael eu hargraffu yn y iaith Gymraeg, a'u gosod yn mhob eglwys plwyf trwy Gymru, cyn diwedd y flwyddyn 1566; a bod esgob Davies mewn dysgwyliad, pan argraffwyd y Testament Newydd, i'r Hen Destament gael ei argraffu yn fuan; ni chafodd yr holl ysgrythyr ei hargraffu yn Gymraeg hyd y flwyddyn hon. Un achos o'r oediad hwn oedd, fod llawer am i'r Cymry oll i ddysgu Saesneg, ac na oddefid dim i'r ysgrythyrau gael eu cyfieithu i'r Cymraeg, i'r dyben i beri i'r bobl i osod heibio, ac anghofio eu hen iaith hybarch eu hun. Heblaw hyn, yr oedd esgob Davies a Mr. William Salisbury, ag oedd yn bwriadu argraffu yr holl Fibl yn Gymraeg, yn awr wedi marw; ac nid oedd ond ychydig ar eu hol hwynt, yn Nghymru, yn ddigon duwiol a dysgedig i fyned â'r gorchwyl pwysfawr hwnw yn mlaen. Ond o'r diwedd, Dr. William Morgan, offeiriad Llan-

Rhai am i'r Cymry osod heibio y iaith Gymraeg.

* Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 374.

CANT XVI.

Llanrhaiadyr, yn sir Dinbych, yr hwn a ddygasid i fynu yn Cambridge, a gymmerodd y gorchwyl angenrheidiol hwn yn llaw; ac wedi cyfieithu yr Hen Destament, ac adchwilio a diwygio y cyfieithad o'r Testament Newydd, a argraffodd yr holl Fibl yn Gymraeg, mewn llyfr un plyg, y flwyddyn hon. Nid ymddengys i Dr. Morgan fyned yn nghyd â'r gorchwyl pwysfawr hwn, trwy orchymmyn y llywodraeth na'r esgobion; ond ar ddymuniad duwiolion y wlad, a chydâ golwg at ogoniant Duw, a budd ei genedl ei hun. Y mae yn anhawdd gwybod, hefyd, pwy flwyddyn y dechreuodd efe gyfieithu y Bibl; ond fe fuasai wedi diffygio o blegid maintioli a thraul y gorchwyl, oni buasai y cynnorthwy a'r annogaeth a gafodd gan yr arch-esgob. Gwedi i Dr. Morgan ddechreu cyfieithu yr Hen Destament, rhai o'i blwyfolion a godasant yn ei erbyn, a gorfu arno ymddangos yn llys yr arch-esgob, i atteb drosto ei hun. Pan ganfu yr arch-esgob odidawgrwydd Dr. Morgan, efe a'i hannogodd ef i fyned â'i waith ardderchog yn mlaen. Ac mewn canlyniad i hyn, William Hughes, esgob St. Asaph, Hugh Bellot, esgob Bangor, Gabriel Goodman, deon Westminster, Dr. Powell o Riwabon, Edmund Prys, archdiacon Meirionydd, a Richard Vaughan o Lutterworth, a roisant lawer o gynnorthwy i Dr. Morgan yn y gorchwyl pwysfawr o gyfieithu ac argraffu y Bibl.[a]

Dr. Morgan yn argraffu yr holl Fibl yn Gymraeg. O. C. 1588.

Cynnorthwywyr Dr. Morgan.

Mar-

[a] Hanes y Ffydd. p. 228—231.

Marmaduke Middleton, wedi bod wyth mlynedd yn esgob Tŷ Ddewi, a gafodd, o blegid ei gam-ymddygiadau, ei ddiswyddo, a'i droi o'r esgobaeth. Tybia rhai mai am ei fod yn bwriadu cymmeryd rhai o diroedd yr esgobaeth, a'u rhoddi i'w fab Richard, yr hwn oedd wedi ei wneuthur yn archdiacon Aberteifi, y cafodd efe ei droi allan. Tair blynedd yn ol diswyddo Marmaduke Middleton, Dr. Anthony Rudd, o Yorkshire, yr hwn a ddygasid i fynu yn Cambridge, a gafodd ei gyssegru yn esgob Tŷ Ddewi.[a] Y flwyddyn ar ol hon y bu farw yr enwog Thomas Huet, cantor Tŷ Ddewi, yr hwn oedd wedi bod yn gynnorthwy i Dr. Richard Davies i gyfieithu y Testament Newydd.[b]

CANT XVI.

Diswyddo Marmaduke Middleton. O. C. 1590.

Marwolaeth T. Huet. O. C. 1591.

Dr. John David Rhys, yr hwn oedd yn brydydd a gramadegwr enwog, wedi iddo orphen ei ddygiad i fynu yn Rhydychen, a aeth i'r Ital, ac a astudiodd physygwriaeth yn athrofa Sienna. Yr oedd efe mor berffaith adnabyddus o'r iaith Italaidd, fel ag y cafodd ei ddewis yn gymhedrolwr yn ysgol Pistoia yn Tuscany; ac efe a adawodd ar ei ol draethawd ar y iawn-ysgrifenyddiaeth a llafariad y iaith honno. Fe fydd ei Ramadeg a'i Egwyddorion o donyddiaeth y iaith Gymraeg, a argraffodd efe yn llyfr un plyg, yn

Gramadeg, &c. Dr. Rhys. O. C. 1592.

[a] Brown Willis.

[b] Cam. Reg. Vol. II. p. 210.

CANT XVI. yn golofn barhaus o'i gynheddfau godidog, a'i lafur. Dr. John David Rhys a fu farw yn Aberhonddi, ychydig o flynyddau yn ol hyn.[a]

Cyfraith i beri i bawb fyned i'r eglwys. O. C. 1592.

Yr oedd cyflwr y puritaniaid yn cael ei wneuthur yn fwy annymunol, o ddydd i ddydd. Gwnaethpwyd cyfraith gan y senedd, y flwyddyn hon, i gospi pawb a wrthodent i fyned i'r eglwys, neu a annogent ereill i wrthwynebu awdurdod eglwysig y frenhines. Yn ol y gyfraith honno, Os byddai i neb ag oedd dros un ar bymtheg oed, i wrthod myned i'r eglwys ar amser y gwasanaeth dros fis, heb achos cyfreithlon; neu i annog ereill, trwy unrhyw ffordd, i wrthwynebu awdurdod eglwysig y frenhines, a'u rhwystro i fyned i'r eglwys i addoli a chymuno yn ol y gyfraith; neu os byddai i neb fod yn bresennol mewn un cyfarfod crefyddol yn un rhyw le heblaw yr eglwys, y byddai i'r cyfryw rai gael eu gosod yn ngharchar heb un machniaeth, hyd oni byddent yn foddlon i ddyfod i'r eglwys, cyfaddef eu bai, a gwneuthur traethiad o'u cydffurfiad â'r grefydd sefydledig. Ond os gwrthodent i wneuthur traethiad o'u cydffurfiad, o fewn i dri mis, y caent eu halltudio; ac os na byddai iddynt fyned i alltudiaeth o fewn i'r amser gosodedig, neu os dychwelent o'u halltudiaeth heb gennad y frenhines, y caent eu gosod i farwolaeth. Bu y gyfraith greulon hon yn achos o-

aneirif

[a] Camb. Biog.

CANT XVI.



aneirif ddrygau yn y deyrnas. Cafodd llawer eu halltudio, a rhai eu gosod i farwolaeth.[a]

Pan ddaeth y llyfr a elwid Martin-mar-prelate, a llyfrau duchanus ereill yn erbyn yr esgobion allan, rhoddwyd awdurdod neillduol i ddal Mr. John Penry, fel gelyn y llywodraeth; gan dybied fod ganddo law yn nghyfansoddiad rhai o'r llyfrau hyny. Pan glybu Mr. Penry fod awdurdod wedi cael ei roddi i'w ddal, efe a ffodd i Scotland, ac a arosodd yno yn agos i dair blynedd. Tra yr oedd efe yn Scotland, efe a ysgrifenodd lawer o sylwadau i'w wasanaeth dirgel ei hun, ar bethau yn perthyn i grefydd. Darparodd hefyd ddeisyfiad i'w anfon i'r frenhines, i ddangos iddi wir ansawdd crefydd, a pha mor anwybodus oedd hi o'r cam-driniaethau ag oedd yn eglwys Loegr, yn neillduol yn y trefniad o bethau eglwysig; ac hefyd i ddymuno arni hi, i roddi awdurdod iddo ef, i fyned i Gymru, gwlad ei enedigaeth, i bregethu yr efengyl i'w gydwladwyr. Gwedi darparu y deisyfiad hwn, efe a aeth tu a Llundain, gydâ bwriad i'w roddi i'r frenhines â'i law ei hun, pan gaffai gyfleustra addas. Ond pan ddaeth i gymmydogaeth Llundain, cafodd ei gymmeryd i fynu, a'i holl ysgrifenadau gydâg ef, a'i farnu yn euog, a'i osod i farwolaeth yn ebrwydd.[b]

Mr. Penry yn ffoi i Scotland.

Mr. Penry yn cael ei ddal a'i euog-farnu. O. C. 1593.

3 P Fe

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 361—363.

[b] Ibid. p. 374, 375.

CANT. XVI.

Fe ymddengys oddiwrth ddeisyfiad Mr. Penry, a'i lythyr at y gynnulleidfa o Ymwahanwyr yn Llundain, ei fod yn un o'r Browniaid. Wedi cymmeryd ei lyfr o sylwadau oddiwrtho, tynwyd erthyglau o gyhuddiad yn ei erbyn allan o hono. Ac yn lle ei brofi am y llyfrau ag oedd ef wedi eu hargraffu, cafodd ei brofi a'i euog-farnu am y deisyfiad a'r sylwadau ag oedd ef wedi eu hysgrifenu yn Scotland. Mr. Penry, yn uniongyrch wedi iddo gael ei farnu yn euog, a ysgrifenodd y llythyr canlynol at yr arglwydd trysorwr, a haeriad o'i ddiniweidrwydd gwedi ei osod yntho.

Llythyr Mr. Penry.

'Ymddarostyngwch, yr wyf yn attolwg i'ch 'arglwyddiaeth, i ddarllen yr ysgrifen ag sydd 'yn y llythyr hwn. Oblegid oddieithr i'r Ar'glwydd i'ch cynhyrfu chwi i hyspysu fy 'nghyflwr diniwed i'r frenhines, yr wyf yn deall 'fod fy nyddiau yn agos i'w terfyn, a diolch i 'Dduw, i derfyn anhaeddedig. Y mae yn 'achos o alar fod sylwadau dirgel a wnaeth'pwyd mewn gwlad arall gan astudiwr ag sydd 'yn ewyllysiwr da i'w frenhines a'i wlad, yn 'achos i ddwyn ei fywyd i ddiwedd angherddol, 'yn enwedig pan y mae y sylwadau mor ddirgel 'ac anmherffaith, fel nad oes un cyd-lyniad yn'ddynt. Er na ddichon fy niniweidrwydd 'wneuthur dim daioni i mi ger bron brawdle 'ddaiarol, etto yr wyf yn gwybod y caf fy

'ngwobrwyo

'ngwobrwyo ger bron brawdle y brenin mawr; 'ac y bydd yr Arglwydd trugarog, yr hwn sydd 'yn cynnorthwyo yr amddifad a'r weddw, i 'wobrwyo fy amddifaid digysur, a'm gweddw 'digyfaill, ag wyf yn adael ar ol; ac y gwrendy 'efe eu llef hwynt, canys trugarog yw. Fel 'nad ydwyf yn bwriadu eich blino âg ychwaneg 'o lythyrau, yr ydwyf yn cydnabod gydâ diolch-'garwch eich parodrwydd i dderbyn yr ysgrif-'enadau a anfonais attoch o amser i'w gilydd; 'ac yn y llythyr diweddaf hwn, yr ydwyf yn 'tystio nad ysgrifenais ddim ond yr hyn sydd 'wir. Gan barotoi fy hun, nid yn gymmaint 'erbyn fy niwedd anhaeddedig, ag erbyn derbyn 'y goron o ogoniant, yr hon, trwy fawr drugar-'edd Duw, sydd yn barod i mi yn y nef, yr yd-'wyf yn ostyngedig yn cyflwyno eich arglwydd-'iaeth i ddwylaw yr Arglwydd cyfiawn.' CANT XVI.

JOHN PENRY, Mai 22, 1593.

Yn yr hyeriad ag oedd wedi ei osod yn y llythyr hwn, y mae Mr. Penry yn dywedyd iddo ysgrifenu ei sylwadau yn Scotland, ac mai sylwedd oeddent o wrthddadleuon pobl y wlad honno, yn erbyn y frenhines a'i llywodraeth, ag oedd ef yn bwriadu ystyried, ond nad oedd wedi cymmaint ag edrych arnynt er ys pedwar mis ar ddeg; a'i fod yn yr ysgrifenadau hyny ag oedd mor anmherffaith, wedi dangos ei ufuddgarwch

 i'r

CANT XVI.

Haeriad Mr. Penry.

i'r frenhines, ac na fu yntho erioed gymmaint a'r meddwl lleiaf o anufudd-dod i'w mawrhydi. 'Yr 'ydwyf yn diolch i'r Arglwydd,' medd ef, 'nad 'ydwyf yn cofio i ddiwrnod fyned dros fy mhen 'er pan adnabyddais y gwirionedd, nad oeddwn 'yn cyflwyno ei hachos i'r Arglwydd. Gallaf 'gael fy nghyhuddo a'm heuog-farnu fel bradwr 'yn erbyn y llywodraeth, ond ni all na nefoedd 'na daiar fy argyhoeddi i o hyny. Pa bryd 'bynnag y daw diwedd ar fy mywyd, mi fyddaf 'farw yn ddeiliad ffyddlon i'r frenhines Eliza-'beth, hyd y nod yn nghydwybodau fy ngelyn-'ion, os ystyriant y peth. Ni bum i erioed yn 'geryddwr, llai o lawer yn ddiwygiwr teyrnas-'oedd. Ond y mae yn rhaid i'r byd gyd-ddwyn 'â mi, os ydwyf wrth ryddhau fy nghydwybod, 'yn cyfrif fy nhystiolaeth o wirionedd Iesu 'Grist, yn well nâ ffafor pob creadur. Ni bum 'erioed yn elyn i drefn dda mewn gwlad nac 'eglwys. Y mae yr Arglwydd yn dyst, na 'wnaethum i ddim yn yr achos hwn, trwy gyn-'nen na gwag-ogoniant, neu i'r dyben i dynu 'dysgyblion ar fy ol. Ni cheisiais erioed beth-'au mawr yn y byd hwn. Mi gefais ddigon o 'ymborth, a llawer o drallod; ond yr oeddwn 'yn hollol foddlon i'm rhan; a boddlon wyf, ac 'a fyddaf i farw yn annhymmoraidd, er fy mod 'yn gadael ar fy ol weddw, a phedwar o faban-'od, ac nad yw yr hynaf o honynt dros bedair

blwydd

CANT XVI.

‘blwydd oed. Yr ydwyf â'm holl galon yn
‘maddeu i bawb ag sydd yn ceisio fy einioes; ac
‘os bydd fy marwolaeth yn foddion i ddwyn
‘heddwch i eglwys Dduw a'r llywodraeth, llaw-
‘en fyddaf. Bydded i'r frenhines gael llawer
‘o'r fath ddeiliaid; ond na chaffed yr un o hon-
‘ynt y fath wobr! Fy nymuniad difrifol yw, i'r
‘frenhines gael gwybod y pethau hyn cyn fy
‘marw, neu o leiaf gwedi fy ymadawiad. Wedi
‘ei danysgrifo gan galon a llaw, na ddyfeisiodd
‘ac na ysgrifenodd ddim er gwaradwydd neu
‘enllib i fy ngoruchaf frenhines Elizabeth; Yr
‘ydwyf yn dywedyd hyn wrth farw, ac yr ydwyf
‘yn gobeithio cael bywyd yn ol hwn. Ydwyf,

JOHN PENRY.’

Ni wybuwyd erioed cyn hyn, fod gweinidog neu ysgolhaig yn cael ei farnu yn euog o farwolaeth am bapurau dirgel a gaed yn ei lyfr-gell. Ond y mae yn debygol fod yn rhaid i Penry farw, cyfiawn neu anghyfiawn. Yr arch-esgob oedd y cyntaf a osododd ei law wrth y warant i'w osod i farwolaeth. Wedi cael digon o ddwylaw wrth y warant, anfonwyd hi yn union-gyrch at y sirydd. Y sirydd, wedi cael y warant, a gododd grog-bren yr un diwrnod; a thra yr oedd y carcharor yn ciniawa, y swyddogion a ddaethant atto, i orchymmyn iddo i ymbarotoi, oblegid fod yn rhaid iddo farw y prydnhawn hwnw. Yn ganlynol, cafodd

CANT XVI. cafodd Mr. Penry ei ddwyn i le y dihenyddiad; Pan ddaeth yno, ni oddefai y sirydd iddo ddywedyd dim wrth y bobl, na gwneuthur cyffes o'i ffydd yn Nuw, nac o'i ufudd-dod i'r frenhines; ond gorchymmynodd i'w droi ffwrdd ar ffrwst, yn nghylch pump o'r gloch brydnawn, y nawfed ar hugain o fis Mai, y flwyddyn hon; ac yn y bedwerydd flwyddyn ar ddeg ar hugain o'i oed.[a]

Marwolaeth Mr. Penry. O. C. 1593.

William Middleton. O. C. 1593.

William Middleton,* bardd enwog o sir Dinbych, a argraffodd y flwyddyn hon Ramadeg, a Chelfyddyd Barddoniaeth, yn y iaith Gymraeg. Bu William Middleton yn gwasanaethu yn myddinoedd y frenhines Elizabeth, ac wedi hyny yn gadpen llong rhyfel. Y mae yn deilwng o sulw, mai ar y môr y gwnaeth efe ei gyfieithad o'r Salmau, yn y rhyw uchaf o fesurau Cymraeg. Dyma y gwaith penaf a adawodd efe ar ei ol.[b] †

Areithyddeg Cymraeg. O. C. 1595.

Henry Perri, gwedi gorphen y traethawd ar areithyddeg Cymraeg, a ddechreuasid gan William

[a] Neal's Hist. Parit. Vol. I. p. 377—379.

* Yr oedd syr Thomas Middleton, yr hwn a fu yn faer Llundain, syr Hugh Middleton, yr hwn a ddaeth â'r afon newydd i Lundain, a chadpen William Middleton, yn feibion i Richard Middleton o sir Dinbych. Dywedir i syr Hugh Middleton ennill dwy fil o bunnau y mis dros lawer o flynyddoedd, wrth weithio mwyn arian yn sir Aberteifi; ond iddo leihau ei olud i raddau mawr wrth ddyfod â'r afon newydd i Lundain.

[b] Camb. Biog.

† Thomas Salisbury a argraffodd y gwaith hwn yn y flwyddyn 1603.

liam Salisbury, a'i hargraffodd er budd i'r Cymry. Morus Cyffin hefyd, a gyfieithodd i'r Cymraeg, Amddiffyniad o eglwys Loegr, gan esgob Jewel, ac a'i hargraffodd.[a] CANT. XVI.

Ymhlith y beirdd ag oedd yn enwog yn Nghymru yn y cant hwn, y mae hanes am y gwyr canlynol: Bedo Hafesb; Dafydd ab Ifan Llwyd; Dafydd ab Phylip Rhys; Ieuan Brechfa;* Dafydd ab Dafydd Llwyd; Dafydd ab Rhys o'r Feni; Dafydd Benwyn o Forganwg; Lewis Dwn;§ y parchedig Dafydd Jones, offeiriad Llanfair yn sir Dinbych; syr Thomas Jones o Lanfair; y parchedig Morus Dafydd, offeiriad Llanfynydd; Dafydd Pennant; Edward ab Ralff; Thomas ab Ieuan ab Rhys o Forganwg, yr hwn oedd oddiamgylch dau cant oed yn marw; Edmund Prys, arch-diacon Meirionydd, yr hwn a gyfieithodd Salmau Dafydd ar fesur cerdd yn Gymraeg; William Cynwal o Benmachno, yr hwn a fu farw yn ferthyr i lymder un o attebion Edmund Prys, yn y ddadl awenyddol a fu rhyngddynt; Thomas Jones o Dregaron, yr hwn a elwir yn gyffredin, Twm Sion Cati. Yr oedd Twm Sion Cati,† yn ei Beirdd y cant hwn.

[a] Camb. Biog.

* Yr oedd Ieuan Brechfa yn hanesydd hefyd, ac y mae crynodeb o hanes Cymru o'i waith ef yn yr Archaiok of Wales.

§ Bu y gwr hwn yn athraw awenyddol i Richard Davies, esgob Tŷ Ddewi, a Henry Salisbury.

† Dywedir fod Twm Sion Cati yn fab i syr John Wynne

CANT XVI.



ei ieuengctyd, yn yspeiliwr hynod, ac adroddir llawer o chwedlau am dano fel y cyfryw.[a] Ond gwedi iddo briodi etifeddes Ystradffin yn sir Gaerfyrddin, efe a roddodd heibio yr hen arfer bechadurus o yspeilio ei gydwladwyr, ac a ddaeth i fod yn ŵr cymmeradwy yn ei gymmydogaeth, a chafodd ei osod yn sirydd sir Gaerfyrddin.[b]

Dr. W. Morgan, esgob Llandaf. O. C. 1595.

Pan gafodd Gervase Babington, esgob Llandaf, ei symud i Exeter, Dr. William Morgan, offeiriad Llanrhaiadyr Mochnant, yr hwn a argraffodd y Bibl yn Gymraeg, a gafodd, fel gwobr am y gorchwyl ardderchog hwnw, ei gyssegru yn esgob Llandaf. Yr un flwyddyn, hefyd, y cafodd Dr. Richard Vaughan, o sir Gaernarfon, yr hwn a ddygasid i fynu yn Cambridge, ei gyssegru yn esgob Bangor, ar drosglwyddiad Hugh Bellot o'r esgobaeth honno i Chester.[c]

Yr oedd gan y Cymry, ar ddiwedd y cant pwysfawr hwn, oddiamgylch pymtheg o lyfrau gwedi eu hargraffu yn eu hiaith eu hun; ac yr oedd eu breintiau crefyddol yn fawr, mewn cydmariaeth i'r hyn oeddent yn y cant diweddaf, er nad oeddent ddim mewn cymhariaeth i'n breintiau ni yn yr oes hon.

Y

[a] Gwydyr, o'i ordderch Cati, ac mai dyna pa ham y galwyd ef felly.

[a] Camb. Biog.

[b] Meyrick's Hist. Cardigan, p. 248, 249.

[c] Brown Willis.

## Y DEUFED CANT AR BYMTHEG.

CANT XVII.

Lluodd o lindys yn sir Benfro.

O. C. 1601.

MAE doethineb, cyfiawnder, gallu, a daioni Duw, yn cael eu hamlygu yn mhob oes a gwlad. Yr haf cyntaf o'r cant hwn, dywedir i luodd anneirif o lindys gwyrdd eu lliw, a chanddynt lawer o draed, ond heb ddim blew, ymddangos yn ddisymmwyth ar y mynydd oddiar Ffynon Dewi, yn mhlwyf Maenclochog, yn sir Benfro. Yr oeddent yn toi oddiamgylch dau can erw o dir, ac mor lluosog, fel nad allasai neb osod ei droed i lawr heb sathru mwy nag ugain o honynt. Nid oeddent yn aros yn yr un man, ond yn myned oll tua phen y mynydd, nes iddynt fyned ynghylch y pedwerydd rhan o filltir drosto. Yr oeddent yn difa yr holl laswellt fel ag yr oeddent yn myned yn mlaen, ac yr oedd y ddaear yn ymddangos yn noeth ac yn goch ar eu hol hwynt. Gwedi iddynt fod yno dair wythnos, daeth lluodd o wylanod a brain i'r fan lle yr oeddent, ac a'u difethasant oll.[a]

Bu farw Dr. William Hughes, esgob St.

 Asaph,

[a] Cam. Reg. Vol. II. p. 217.

CANT XVII.


Asaph, yn nechreuad y cant hwn, a gadawodd diroedd ac arian at sefydlu ysgol rydd yn y lle hwnw. Ar farwolaeth esgob Hughes, Dr. William Morgan, a gafodd ei symud o Landaf i St. Asaph; a chyssegrwyd Dr. Francis Godwin, o sir Northampton, yn esgob Llandaf. Mae y gof-restr o esgobion Cymru a Lloegr, a gyfansoddwyd gan Dr. Godwin, yn waith teilwng o sulw pob hynafiaethwr.[a]

Dr. Morgan, esgob St. Asaph. O. C. 1601.

Marwolaeth Elizabeth. O. C. 1603.

Gwedi i'r frenhines Elizabeth fod yn offerynol i sefydlu y diwygiad yn y deyrnas hon, a dyrchafu ei deiliaid i radd uwch o ddedwyddwch nag yr oeddynt o'r blaen, hi a orphenodd ei gyrfa, yn y ddegfed flwyddyn a thriugain o'i hoed, a'r bedwerydd a deugain o'i theyrnasiad; a Iago † y chwechfed o Scotland, ond y cyntaf o Loegr, a deyrnasodd yn ei lle hi.[b] Yr oedd Iago y cyntaf yn un ar bymtheg ar hugain oed pan ddaeth i orsedd Lloegr; a chan ei fod gwedi ei ddwyn fynu yn egwyddorion eglwys Scotland, gwedi gosod ei law wrth eu cyfammod, a dywedyd yn gyhoeddus y byddai iddo trwy ei fywyd i amddiffyn y drefn eglwysig ag oedd gwedi ei gosod fynu yn y wlad hono, yr oedd dysgwyliadau y puritaniaid yn uchel iawn pan

[a] Brown Willis.

† Yr oedd y brenin Iago I. yn orwyr i Iago IV. brenin Scotland, o'r frenhines Margaret, merch Harry VII. Gwel tu dalen 383.

[b] Rapin.

pan glywsant ei fod yn dyfod i orsedd Lloegr. Pan oedd Iago ar ei daith i Lundain, y puritaniaid a anfonasant ddeisyfiad atto, gwedi ei arwyddo gan fwy nag wyth cant, i ddymuno arno ef i ddiwygio rhai defodau, a'r camdriniaethau ag oedd yn eglwys Loegr. Dysgedigion athrofa Rhydychen a ysgrifenasant atteb i'r deisyfiad hwn, yn mha un y maent yn achwyn ar y Puritaniaid fel dynion pleidgar, ac yn barnu y diwygiad yn Scotland ag oedd y brenin gwedi ganmol yn gyhoeddus cyn iddo ddyfod o'r wlad hono. Gwedi hyny y maent yn amddiffyn yr holl bethau hyny yn eglwys Loegr, ag oedd y puritaniaid yn achwyn o'u plegid; ac yn diweddu trwy ddeisyf ar y brenin i beidio aflonyddu heddwch yr eglwys trwy wrando ar y puritaniaid.[a]

CANT XVII.

Deisyfiad y Puritaniaid.

Deisyfiad athrofa Rhydychen.

Mewn canlyniad i'r pethau hyn, y brenin a roddodd orchymyn i'r esgobion, a blaenoriaid y puritaniaid, i'w gyfarfod ef yn Hampton Court, i benderfynu y dadleuon ag oedd rhyngddynt. Parhaodd y cyfarfod hwnw dri diwrnod; ond ni ddiwygiwyd ond ychydig bethau yn y llyfr gweddi cyffredin, ac ni chafodd y puritaniaid yr hyn ag oeddent yn ddymuno. Dangosodd y brenin ei fod mor gadarn dros lywodraeth esgobawl yn Lloegr, ag oedd gwedi bod dros lywodraeth

Cyfarfod Hampton Court.



[a] Neal's Hist. Parit. Vol. I. p. 406—409.

CANT XVII.

Cyhoeddiad y brenin ynghylch unffurfiad.

raeth bresbyteraidd yn Scotland. Ac ychydig o amser gwedi hyn, efe a osododd allan gyhoeddiad, yn yr hwn y mae yn dywedyd, 'Er 'fod athrawiaeth a dysgyblaeth yr eglwys sefydledig yn anwrthodadwy, ac yn gyfatebol i'r 'prif-hynafiaeth, etto iddo ef roddi cenad i'r 'ddwy blaid i gyfarfod ger ei fron, fel y gallasai glywed gwrthddadleuon y puritaniaid, 'a'i fod yn awr yn dyall mai gwan ydynt; ond 'bod ychydig o esponiadau gwedi cael eu rhoddi ar rai pethau, er boddlonrwydd i'r puritaniaid; gan hyny ei fod ef yn awr yn gorchymyn 'i'w holl ddeiliaid i gyd-ffurfio â'r drefn ag oedd 'gwedi ei sefydlu yn eglwys Loegr, ac yn rhybuddio pawb i beidio a dysgwyl ychwaneg o 'gyfnewidiadau, gan fod ei ymroiadau ef gwedi 'eu hollol sefydlu.' Yn ganlynol cafodd y llyfr gweddi cyffredin ei argraffu gydâ'r ychydig ddiwygiadau a gytunwyd arnynt yn nghyfarfod Hampton Court, a'r cyhoeddiad gwedi ei osod o'i flaen.[a]

Cymmanfa yr offeiriaid. O. C. 1604.

Er i'r brenin trwy y cyhoeddiad hwn gadarnhau y sefydliad o addoliad cyhoeddus ag oedd yn y deyrnas hon, etto yr oedd llawer o'r offeiriaid am ddiddymu rhai o'r defodau a arferid ganddynt; a bu dadl mawr y flwyddyn ganlynol, yn nghymmanfa yr offeiriaid yn nghylch

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 410—420.

nghylch arwydd y groes yn y bedydd. Bancroft, esgob Llundain, a ddadleuodd yn angherddol dros y ddefod hono; ond Dr. Rudd, esgob Tŷ Ddewi, a safodd fynu, ac a wnaeth yr araith ganlynol o blaid i gariad a chymhedroldeb. CANT XVII.

Araith Dr. Rudd.

'Yr ydwyf yn cydnabod hynafiaeth arwydd y 'groes yn y bedydd, megis y crybwyllir gan 'Tertullian, Cyprian, Chrysostom, Austin, ac 'ereill. Yr ydwyf hefyd yn cyfaddef i ddech'reuad y ddefod hon gyfodi o achos y paganiaid, 'y rhai a waradwyddent yr hen gristianogion 'am eu bod yn credu yn Nghrist croeshoeliedig; 'ac i'r ddefod hon gael ei chamarfer gan y 'pabyddion, ond ei bod hi gwedi ei hadferu 'genym ni yn eglwys Loegr i'w phrif burdeb 'heb ddim coel-grefydd ynglyn â hi. Mi ddy'munwn hefyd os parhâ y brenin i'w harddodi, 'fod pawb yn ymostwng i'w harferyd yn hytrach 'nag ymwrthod â'r weinidogaeth o'i phlegid. 'Ond y mae ofn arnaf, yn ol yr hanes yr wyf yn 'gael, fod llawer o bregethwyr dysgedig, cyd'wybodau pa rai nid ydynt dan ein hawdurdod 'ni, na ymostyngant i arferyd y ddefod hon. Ac 'mi ddymunwn pe cyfarfyddwn â neb o'r cyf'ryw, fy mod wedi fy nghynysgaeddu yn mlaen 'llaw gan rai o honoch chwi, â rhesymau digo'nol i'w boddloni hwynt yn nghylch rhai 'pethau a ddywedwyd yma yn bresennol.'

1. 'Gan

CANT XVII.

1. 'Gan i lawer o ysgrythyrau gael eu haeru 'dros yr arferiad o arwydd y groes; megis, Na 'atto Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein 'Harglwydd Iesu Grist; ac ereill o'r un syl-'wedd. Os dygwydd i neb o'r farn wahanol 'ddyfod attaf a dywedyd fod yr ysgrythyrau 'hyn yn gyffelybiaethol, ac yn arwyddo dyo-'ddefiadau a marwolaeth ein Iachawdwr Crist, 'a bod tynu rheswm oddiwrthynt i gyfiawnhau 'arwydd y groes yn y bedydd, yn fath o resym-'iad tywyll ac annigonol; pa atteb a roddaf 'iddynt?

2. 'Yn gymmaint ag i wrthwynebwyr y 'ddefod hon ddywedyd yn y gymdeithas a fu yn 'Hampton Court, y dylasid diddymu arwydd y 'groes yn y bedydd oblegid iddi gael ei cham-'arferyd gan y pabyddion, megis y maluriodd 'Hezeciah y sarph bres, oblegid fod y bobl yn 'arogl-darthu iddi hi; a'r atteb hwn gael ei 'roddi iddynt. Y gallasai Hezeciah, pe buasai 'yn ewyllysio, gadw y sarph bres heb ei malurio, 'gwedi iddo beri y bobl i adael heibio arogl-'darthu iddi. Yn ganlynol fod awdurdod gan 'y brenin i ddiddymu, neu gadw arwydd y 'groes mewn ymarferiad, er iddi gael ei cham-'arferyd gan y pabyddion gynt. Ond os daw 'rhyw un attaf fi, a dywedyd nad yw yr atteb 'hwn yn ei foddloni ef, oblegid fod gan y 'puritaniaid yn awr gymmaint o achos i ddeisyf

'ar

'ar y brenin i ddiddymu arwydd y groes yn y 'bedydd, ag oedd gan yr Israeliaid duwiol i 'ddeisyf ar Hezeciah i falurio y sarph bres; 'oblegid fod y pabyddion yn ein plith ni yn 'camarferyd y naill i goel-grefydd, fel ag yr 'oedd yr Israeliaid 'eilun-addolgar yn cam-'arferyd y llall. Pa atteb cadarn a roddaf 'iddynt i'w boddloni?

3. 'Yn gymmaint ag i chwi ddywedyd he-'ddyw, fod yn addas ac yn anghenrheidiol i 'gadw coffadwriaeth o groes Crist, trwy y 'moddion hyn; os daw rhyw un o'r blaid 'wrthwynebol attaf fi, a dywedyd y gall coffad-'wriaeth o groes Crist gael ei chadw yn fwy 'sicr trwy bregethu athrawiaethau yr efeng-'yl, sylwedd pa rai yw Crist croeshoel-'iedig; ac iddo gael ei bregethu mor fyw-'iog i'r Galatiaid a phe buasai ei gorph gwedi 'cael ei groeshoelio yn eu plith; ac etto nad 'oedd croes weledig yn yr eglwys y pryd hyny: 'mi ddymunaf gael gwybod pa atteb i roddi 'iddynt?

'Yn mhellach yr wyf yn haeru fod y cyfan ag 'wyf yn ddywedyd yma heddyw, yn cael ei ddy-'wedyd mewn ffordd o gynhygiad, ac nid mewn 'ffordd o wrthwynebiad, a bod y cyfan yn tueddu 'at heddwch yr eglwys; oblegid yr ydwyf yn 'ystyried fod llawer o wahaniaeth rhwng yr

'hyn

CANT XVII.



'hyn sydd yn gyfreithlon, a'r hyn sydd yn gyf-'addas; a rhwng y rhai hyny ag sydd yn eglwys-'rwygiedyddion, a rhai hyny ag sydd yn am-'heugar yn unig ynghylch rhai defodau, ond yn 'ddynion dysgedig, myfyrgar, pwyllog, ac 'onest.

'Gadewch fod yn well gan y gwyr hyn ym-'adael â'u bywioliaethau, a'r weinidogaeth he-'fyd, na chyd-ffurfio â'r defodau, er nad ydwyf 'yn eu cyfiawnhau hwynt yn hyn, fe welir 'eisiau eu gwasanaeth hwynt ar y fath amser a 'hwn, ag sydd yn galw arnom ni a hwyntau i 'roddi dwylaw cymdeithas y naill i'r llall, a 'myned law yn llaw yn erbyn y gelyn cyffredin. 'Heblaw hyn, ystyriwch, pwy fydd yn gorfod 'eu difuddio hwynt, ond nyni yr esgobion; a 'bydd hyny yn peri iddynt hwy a'u cyfeillion i 'godi y fath ddadwrdd yn ein herbyn, fel ag y 'byddwn mewn perygl i gael ein casau i'r 'eithaf.'

'Cofiwch hefyd pa fodd y bu pan ddinystr-'wyd yr holl Benjaminiaid ond chwe' can ŵr; 'ac y tyngodd gwyr Israel yn eu llidiawgrwydd, 'na roddai un o honynt ei ferch yn wraig i 'Benjamin. Er iddynt hwy ddyoddef yn gyf-'iawn, etto edifarhaodd eu brodyr drachefn, 'a dywedasant, Torrwyd ymaith heddyw un 'llwyth o Israel; ac arferasant eu holl ddyfais i

'adferu

CANT XVII.

'adferu y llwyth hwnw drachefn. Yn yr un modd 'os bydd i'r brodyr rhag-ddywededig gael eu 'difuddio o'u lleodd am y peth hyn, mae yn 'sier genyf, y dylem ddyfeisio hyd eithaf ein 'gallu iddynt gael lleodd i arferyd eu doniau.

'Yn mhellach, os bydd i gynnifer cant o 'buritaniaid i ymadael â'u gofalon, pwy a ddaw 'yn eu lle? Ni wn i, pa le i gael cynnifer o 'bregethwyr awdurdodol o fewn yr holl deyr-'nas heb leodd. Ond gadewch fod nifer ddi-'gonol yn y deyrnas, gwell fyddai i sefydlu y 'rhai hyny yn lleodd yr offeiriaid nad ydynt yn 'pregethu, nag yn lleodd y cyfryw ag a droir 'allan. Oblegid os sefydlir hwynt yn lleodd y 'rhai a droir allan, fe ganlyn yn gyntaf, na bydd 'nifer y gweinidogion ag sydd yn pregethu, ddim 'yn fwy lluosog. Yn ail, nad ellir dywallu yr 'eglwys â gweinidogion mor gymmwys yn 'union-gyrch; oblegid er y gall y cynhorthwy 'newydd fod o ddynion dysgedig o'r athrofaäu, 'etto nid allant dros ryw amser fod mor gyflym 'eu doniau, nac mor brofiadol mewn dyled-'swyddau gweinidogaethol, nac mor bwyllog 'yn eu hymddygiad, a rhai hyny ag sydd gwedi 'treulio blynyddoedd yn y weinidogaeth.

'Heblaw hyny, yn gymmaint na chymhell-'wyd y pethau hyn mor ddirfawr yn amser y 'diweddar archesgob Canterbury, ond i lawer o

CANT XVII. 'bregethwyr dysgedig gael mwynhau eu rhydd-'did ar yr ammod na byddent ar air na gweith-'red i aflonyddu y sefydliad eglwysig; dymun-'wn wybod pa ham y gelwir arnynt mor 'gyffredin yn awr, pan y mae mwy o babyddion 'yn ein plith nag oedd ychydig o amser yn ol.

'Yn ddiweddaf, mi ddymunwn os na ellir 'trwy anfon deisyfiad at y brenin, symud ymaith 'y rhwystr yn hollol, na chael goddefiad i'r 'cyfryw ag sydd yn fwyaf diysgog a chym-'hedrol yn eu hymddygiad, etto o leiaf i gael 'lleihad o'u cosp.'

Esgobion Llundain, Winchester, Ely, a Lincoln, a attebasant esgob Tŷ Ddewi; ond pan oedd ef yn myned i'w hatteb hwynt drachefn, cafodd ei rwystro gan flaenor y gymmanfa. Yna esgob Tŷ Ddewi a ymostyngodd gan ddywedyd, megis nad oedd dim ganddo yn fwy anwyl nâ heddwch yr eglwys, ei fod gwedi penderfynu i ymarferyd y moddion goreu a allasai, i ddwyn pawb i undeb a chydffurfiad âg ef ei hun yn nghyd âg ereill o'i frodyr parchedig. Ac felly y diweddodd y ddadl.[a]

Marwolaeth Dr. Morgan. O. C. 604. Ar farwolaeth Dr. William Morgan, esgob St. Asaph, Dr. Richard Parry, o Ruthyn, yn sir Dinbych, yr hwn a ddygasid i fynu yn Rhyd-ychen,

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 424—427.

ychen, a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef. Yr oedd Dr. Parry yn ŵr duwiol a dysgedig, ac a wnaeth lawer o ddaioni yn ei ddydd.[a] CANT XVII.

Gwedi Bancroft, esgob Llundain, gael ei wneuthur yn archesgob Canterbury, efe a adfywiodd yr erledigaeth yn erbyn y puritaniaid, ac a berodd i'r offeiriaid gyd-agweddu â'r holl osodiadau eglwysig. Mewn canlyniad i'r mesurau creulon hyn, cafodd dros dri chant o weinidogion puritanaidd eu dystewi, a'u difyddio o'u bywiolaethau. Cafodd rhai o honynt eu hysgymuno a'u bwrw i garchar; a gorfu ar ereill adael gwlad eu genedigaeth, a myned i alltudiaeth i'r dyben i gadw eu cydwybodau yn ddihalog.[b] Bancroft yn erlid y puritaniaid.

Y flwyddyn hon y datguddiwyd brad y powdr gwn, yr hwn oedd ddyfais o eiddo y pabyddion i chwythu fynu y brenin a'r holl deulu brenhinol, yn nghyd a blaenoriaid yr uchel-fonedd a'r boneddigion protestanaidd ar y pummed dydd o fis Tachwedd, sef y dydd ar ba un yr oeddynt oll i gyfarfod yn y Senedd. I'r dyben hyn cymmerasant seler o dan dŷ'r arglwyddi, ac a osodasant ynthi un baril ar bymtheg ar hugain o bowdr, ac a'u gorchguddiasant â glo a ffagodeni. Ond cafodd y brad ei ddatguddio Brad y powdr gwn. O. C. 1605.



[a] Brown Willis.

[b] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 432.

CANT XVII.

guddio y nos o flaen y dydd gosodedig, trwy lythyr a anfonwyd i arglwydd Monteagle, i'w gynghori i absennu ei hun o dŷ yr arglwyddi ar y pummed o fis Tachwedd, oblegid fod yr arglwyddi i gael ergyd dychrynllyd ar y dydd hwnw, heb wybod pwy a wnaeth niwed iddynt. Monteagle wedi derbyn y llythyr a aeth âg ef i'r llys, a'r brenin a orchymynodd i chwilio yr ystafellodd ynghylch y senedd-dŷ. Cafwyd y powdr dan dŷ yr arglwyddi, a Guy Vaux, â llusern dywyll, yn y seler, yn barod i osod tân yn y rhes pan deuai y brenin dranoeth i'r senedd-dŷ. Guy Vaux, gwedi ei ddal, a gyfaddefodd y frad, ac a gyhuddodd lawer o'i gyfrinachwyr, a chafodd wyth o honynt eu gosod i farwolaeth. Bu datguddiad y frad hon yn achlysur i'r senedd i wneuthur y llw o ffyddlondeb i'r llywodraeth, neu o ymostyngiad ac ufudd-dod i'r brenin, fel penaeth dymhorol, anymddibynol ar un awdurdod ddaearol arall. Sefydlwyd diolchgarwch blynyddol ar y pummed dydd o fis Tachwedd am y waredigaeth fawr hon; a gwnaethpwyd cyfraith hefyd i beri pawb fyned i'r eglwys bob Sabbath, neu dalu swllt am bob Sabbath y byddent yn absenol, os nad allent roddi y fath reswm am eu habsennoldeb ag a foddlonai y swyddog gwladol.[a]

Yn

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. I. p. 439—441.

Yn nghylch yr amser hyn y bu farw Dr. Thomas Lleision, o Gastell Nedd. Yr oedd Dr. Lleision yn brydydd enwog; ac efe a wnaeth gywydd Lladin i Syr Edward Stradling, o Gæstell Donats', yn sir Forganwg, yr hwn a gyfieithwyd i'r Cymraeg gan Dr. John David Rhys. Yn fuan yn ol hyn bu farw Syr Edward Stradling hefyd. Yr oedd Syr E. Stradling yn ŵr dysgedig, ac yn rhoddi pob annogaeth i ddysgedigion; ac hefyd yn ddiflino yn ei ddiwydrwydd i gasglu yn nghyd hen ysgrifenadau dysgedig.[a]

CANT XVII.

Dr. T. Lleision.

Syr E. Stradling

Dr. Anthony Rudd gwedi bod dros ugain mlynedd yn esgob Tŷ Ddewi, a fu farw, ac a gladdwyd yn eglwys Llangathen,† yn sir Gaerfyrddin. Yr oedd ef yn ŵr o dduwioldeb a challineb mawr, ac yn cael ei gyfrif yn bregethwr da. Mae rhai o'i bregethau ef gwedi eu hargraffu. Ar farwolaeth Dr. Rudd, Dr. Richard Milbourne a wnaethpwyd yn esgob Tŷ Ddewi. Dr. Milbourne, ychydig o amser gwedi dyfod i Dŷ Ddewi, a gafodd genad gan yr archesgob, i ddinystrio Castell Lawhaden, yn sir Benfro, yn nghyd a neuadd, capel, seler, a phobdŷ y llys yn Nhŷ Ddewi. Ond nid ymddengys iddo gyflawnu ei holl fwriad yn Nhŷ Ddewi,

Marwolaeth Dr. Rudd.

O. C. 1614.

a Camb. Biog.

† Dr. Rudd a bwrcasodd etifeddiaeth yn y plwyf hwnw, a'i hiliogaeth a'i mwynhaodd hyd yn ddiweddar, pan gafodd eu gwerthu gan Syr Rice Rudd.

CANT XVII.

Mr. Jacob yn sefydlu yr eglwys independiaidd gyntaf yn Lloegr.

O. C. 1616.

o hyny allan yn anymddibynrwydd, neu independiaeth. Mr. Jacob gwedi bod yn Holland dros rai blynyddoedd, a ddychwelodd i Loegr, a phan amlygodd ei fwriad i osod fynu gynnulleidfa neilltuol yn Lloegr, cyffelyb i'r rhai ag oedd yn Holland, ni farnodd y puritaniaid dysgedig fod hyny yn anghyfreithlon, gan nad oedd un gobaith o ddiwygiad teyrnasol yn y wlad hon. Mr. Henry Jacob, gan hyny, gwedi galw llawer o'i gyfeillion yn nghyd, a chael eu cydsyniad hwynt i uno yn nghyd mewn cymdeithas eglwysig, i fwynhau ordinhadau Crist yn y dull mwyaf pur, a osododd sylfaen yr eglwys independiad, neu gynnulleidfaol gyntaf yn Lloegr, yn y dull canlynol. Gwedi cadw dydd o ympryd difrif, a gweddi am fendith ar eu gorchwyl pwysfawr, gwnaeth pob un o honynt gyfaddefiad o'i ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist; ac wedi hyny hwy a safasant i fynu, ac a unasant eu dwylaw, ac yn y modd mwyaf difrif, a wnaethant gyfammod y naill â'r llall yn mhresennoldeb yr Hollalluog Dduw, i rodio yn nghyd, yn boll ffyrdd ac ordinhadau yr Arglwydd, yn ol yr hyn ag oedd ef eisoes gwedi ddatguddio, neu a eglurai efe iddynt yn mhellach. Dewiswyd Mr. Jacob yn weinidog trwy lais y frawdoliaeth, a neilltuwyd ereill i swydd diaconiaid trwy ympryd a gweddi, ac arddodiad dwylaw. Yn yr un flwyddyn, Mr. Jacob

Jacob a argraffodd gyfaddefiad yn enw rhai Cristianogion i ddangos yn mha bethau yr oeddent yn cytuno âg eglwys Loegr, ac yn mha bethau yr oeddent yn amrywio oddi wrthi, yn nghyd â rhesymau ysgrythyrol dros eu anghyffurfiad, a deisyfiad at y brenin am oddefiad i'r cyfryw Gristianogion. Gwedi i Mr. Jacob fod gydâ ei bobl oddiamgylch wyth mlynedd, efe a aeth trwy eu cydsyniad hwynt i Virginia, yn America, gydâ golwg ar helaethu ei ddefnyddioldeb; ond bu farw mewn ychydig o amser gwedi myned yno. Yn ol tystiolaeth llawer o haneswyr, Mr. Jacob oedd y gweinidog independiad * cyntaf yn Lloegr, a hon oedd yr eglwys gynnulleidfaol gyntaf.*

CANT XVII.

Yr oedd dadl mawr y pryd hyn yn Holand rhwng y Calfiniaid a'r Arminiaid, yn nghylch etholedigaeth, prynedigaeth, pechod gwreiddiol, gras effeithiol, a pharhad mewn gras. Cyn nyddodd y ddadl hon i'r fath raddau fel y galwodd y llywodraeth gymmanfa yn nhref Dort,

Cymmanfa Dort. O. C. 1618.



* Independiaid yn ein dyddiau ni, yw y Cristianogion hyny ag sydd yn dal nad oes un israddoliaeth yn mhlith gweinidogion Crist; ac fod pob gweinidog yn esgob neu olygwr dros ei eglwys ei hun, ac nad oes gan un dyn na chorph o ddynion un math o awdurdod trwy osodiad dwyfol i arferyd swydd uwch ynddi. Hefyd, fod gan bob eglwys ynddi ei hun, yr hyn ag sydd yn angenrheidol i ei llywodraeth, ac nad ydyw yn ddarostyngedig i eglwysi ereill, nac i'w cenhadau, nac ychwaith i'r cymmanfaoedd.

* Neal's Hist. Vol. I. p. 476.

CANT XVII i ymdrechu dwyn pethau i well trefn. Yr oedd yn bresennol yn y gymmanfa hono lawer o'r gweinidogion mwyaf enwog ar y cyfandir, a phump o'r deyrnas hon. Dr. Carlton, esgob Llandaf, oedd yr unig un a aeth o Gymru i gymmynfa Dort. Gwedi ymresymu dros rai misoedd ar y pump pwnc mewn dadl, penderfynodd y gweinidogion yn ffafr y Calfiniaid; a chytunasant i alltudio yr Arminiaid, oni ymostyngent i'r gyffes newydd a gyfansoddasid gan y gymmanfa y pryd hyny.[a] Yn fuan gwedi Dr. Carlton ddychwelyd o Dort, efe a gafodd ei symud i esgobaeth Chichester, a Theophilus Field, o Lundain, a gyssegrwyd yn esgob Llandaf yn ei le ef. T. Field, gwedi hyny, a drosgwyddwyd i Dy Ddewi.[b]

Llyfr y chwareyddiaethau. O. C. 1618. I'r dyben i attal cynnydd y Puritaniaid, ac i ddystewi gwrthddadleuon y Pabyddion yn erbyn caethder y grefydd ddiwygiedig, y brenin y flwyddyn hon a gyhoeddodd draethiad i annog difyrwch a chwareyddiaethau ar ddydd yr Arglwydd. Yn ol y traethiad hwnw yr oedd rhydd-did i'r bobl yn ol yr addoliad ar y sabbath, i ddawnsio, neidio, saethu, a'r cyfryw; ac ni feiddiai neb i'w rhwystro neu aflonyddu hwynt. Ond nid oedd i un Pabydd, nac i neb nad oedd yn bresennol ar wasanaeth yr eglwys, na neb nad oedd yn arferol i fyned i eglwys ei blwyf, gael mwynhau y rhydd-did annuwiol hwn.[c]

Yn

[a] Neal's Hist. Vol. I. p. 479. [b] Brown Willis.
[c] Neal's Hist. Vol. I. p. 486.

Yn nghylch yr amser hyn bu farw Mr. William Jones, o Dre' Fynwy, yr hwn oedd wedi bod yn fasnachwr llwyddiannus yn Hamburg. Pan ddychwelodd i wlad ei enedigaeth, efe a adeiladodd ugain o elusen-dai, ac ysgol-dy yn nhref Fynwy; ac a drefnodd yno bregethwr, a dau ysgolfeistr. Rhoddodd gan gini y flwyddyn i'r pregethwr, pedwar ugain punt a deg i'r prif-ysgolfeistr, a phum punt a deugain y flwyddyn i'r is-feistr. Mae y pregethwr yn pregethu pob prydnawn sabbath yn eglwys Tre' Fynwy, ac y mae yr ysgol yn rhydd i'r cyfryw a anwyd yn y dref a'r sir hono. Rhoddir i'r tlodion ag sydd yn yr elusen-dai, ddillad, tan, a thri swllt a chwe' cheiniog yr wythnos. Mae hefyd ddeg o elusen-dai yn Newland, a phob un ag sydd ynddynt yn cael hanner coron yr wythnos.[a]

CANT XVII.

Haelioni Mr. W. Jones, o Dre' Fynwy.

Yr oedd y biblau yn y rhan fwyaf o'r eglwysi y pryd hyn, naill ai yn anmherffaith, neu gwedi treulio yn fawr. Esgob Parry, gan hyny yn gydwybodol o'r angenrheidrwydd ag oedd i argraffu biblau Cymraeg, ac yn gwybod nad allasai efe y pryd hyny wneuthur un peth ag oedd yn fwy teilwng ynddo ei hun, a chymmeradwy gydâ Duw, a adchwyliodd y bibl Cymraeg trwy gynnorthwy Dr. John Davies, o Fallwyd; ac a'i hargraffodd y flwyddyn hon yn Llundain, yn llyfr un plyg.[b]

Argraffu bibl Cymraeg. O. C. 1620.



[a] Thomas's Eccles. Hist. in MSS. [b] Ibid. Camb. Biog.

CANT XVII.


Yn nghylch yr amser hyn, bu farw Dr. Thomas Williams, physygwr enwog o Drefriw, yn agos i Lanrwst. Efe oedd y gwr a gyfansoddodd y geirlyfr Lladin a Chymraeg a adchiwliwyd ac a argraffwyd gan Dr. J. Davies Mae tri neu bedwar o lyfrau ereill, o gyfansoddiad y gwr hwn, gwedi eu cadw mewn ysgrifenlaw. Ffurfiodd hefyd gasgliad gwerthfawr o ysgrifenadau Cymraeg.[a]

Dr. Laud, esgob Ty Ddewi. O. C. 1621.

Ar symudiad Dr. Richard Milbourne i Carlisle, Dr. William Laud a gafodd ei gyssegru yn esgob Ty Ddewi yn ei le ef. Tra fu Dr. Laud yn esgob Ty Ddewi, efe a ail-adeiladodd y capel yn Abergwilly, ac a'i cyssegrodd i Ioan Fedyddiwr. Efe a adgyweiriodd hefyd y llys esgobaethol yn Abergwilly, ac a wnaeth lawer o bethau ereill.[b]

Bywyd a marwolaeth Edmund Prys.

Edmund Prys a anwyd yn y Gerddi Bluog, yn mhlwyf Llandecwyn, yn sir Feirionydd, yn y flwyddyn 1541. Gwedi ei ddwyn i fynu yn Cambridge, efe a gafodd ei wneuthur yn berson plwyf Maentwrog, ac yn arch-diacon Meirionydd; ac wedi gwasanaethu Duw, a'i genedlaeth, dros lawer o flynyddoedd, efe a hunodd gydâ'i dadau yn nghylch yr amser hyn, ac a gladdwyd yn eglwys Maentwrog. Yr oedd Edmund Prys yn un o'r prydyddion mwyaf enwog yn ei amser. Mae llawer o'i waith awenyddol mewn bod hyd heddyw;

[a] Camb. Biog. [b] Brown Willis.

heddyw; a dywedir mai y ddadl awenyddol a fu rhyngddo ef a William Cynwal, yr hon sydd yn cynnwys pedair can ar bymtheg a deugain, yw y mwyaf hynod o'i waith. Efe hefyd a gyfieithodd Salmau Dafydd ar fesur cerdd. Dywedir iddo gyfieithu un Salm yn rheolaidd at bob gwasanaeth a fyddai yn yr eglwys, nes iddynt oll gael eu canu yno cyn iddynt gael eu cyhoeddi.[a] CANT XVII.

Dr. Richard Parry gwedi bod bedair blynedd ar bymtheg yn esgob St. Asaph, a fu farw, ac a gladdwyd yn eglwys gadeiriol St. Asaph; a Dr. John Hanmer o sir y Mwythig, yr hwn a ddygasid i fynu yn Rhydychen, a gyssegrwyd yn esgob yn ei le ef. Dr. Parry, y flwyddyn cyn iddo farw, a adawodd chwech punt y flwyddyn at gynnal ysgolaig anghenus o dref Ruthin, neu o esgobaeth St. Asaph, yn Athrofa Rhydychen, i gael eu talu gan ei fab Richard a'i etifeddion dros byth.[b] Marwolaeth Dr. Parry esgob St. Asaph. O. C. 1624.

Ar farwolaeth y brenin Iago, ei unig fab Charles, tywysog Cymry, a goronwyd yn frenin yn ei le ef. Yr oedd Charles y cyntaf wedi ei eni yn Scotland, a'i fedyddio gan weinidog presbyteraidd yn y wlad hono. Ond panddaeth ei dad i orsedd Lloegr, cafodd ei gymmeryd oddiwrth ei hyfforddwyr Presbyteraidd, a'i osod dan olygwyr esgobawl, a'i ddwyn i fynu yn egwyddorion eglwys Loegr. Charles y cyntaf wedi dyfod i'r orsedd a briododd Marwolaeth Iago I. O. C. 1625.

[a] Cam. Biog. [b] Athenæ Oxon.

CANT XVII.



briododd Henrietta Maria, merch Henry IV. o Ffraingc. Gan mai pabyddes oedd y frenines, hi a ddygodd lawer o offeiriaid a gwasanaethwyr pabaidd gydâ hi o Ffraingc, a rhoddwyd capel iddynt yn nhŷ y brenin i addoli yn ol defod eglwys Rhufain. Yr oedd Charles yn dwyn mawr sel dros ddefodau eglwys Loegr, ac yn llawn o ragfarn yn erbyn y rhan hyny o'i ddeiliaid ag oedd wedi cofleidio egwyddorion y Puritaniaid. Yr oedd Arminiaeth wedi cynnyddu i raddau helaeth y pryd hyn yn Lloegr, a Dr. Laud, yr hwn oedd wedi cael ei drosglwyddo o Dy Ddewi i esgobaeth Llundain, a wnaeth ei oreu na chai un offeiriad nad oedd yn dal yr athrawiaeth hono fod yn agos i'r brenin. Ond gan fod y rhan fwyaf o wyr y senedd yn Galfiniaid, methodd Dr. Laud gyflawnu ei holl amcanion. Mae yn debygol fod Pabyddiaeth hefyd yn cynhyddu yn y deyrnas, ac yn myned law yn llaw âg Arminiaeth, yr hyn fu yn achos o'r dadl cyntaf rhwng y brenin a'r senedd.[a] Canys pan welodd y senedd yr annogaeth ag oedd yn cael ei roddi gan y brenin ac esgob Llundain i Babyddiaeth ac Arminiaeth, a bod llawer o ddefodau newyddion wedi cael eu dwyn i mewn i'r eglwys, hwy a dystiolaethasant eu bod hwy yn arddel fel gwirionedd yr erthyglau a syfydlwyd yn eglwys Loegr yn amser y frenines Elizabeth; a'u bod yn ymwrthod yn hollol â barn y Pabyddion a'r Arminiaid. Yn fuan yn ol hyn, y brenin a benderfynodd i ollwng y senedd, ac i lywodraethu ei hun.[b]

Dr. Laud yn ffafrio Arminiaeth.

Er

[a] Neal's Hist. Vol. I. p. 510, 517. [b] Ibid. p. 532, 533.

CANT XVII.

Y Puritaniaid yn Galfiniaid.

Er mai Calfiniaid oedd y Puritaniaid y pryd hyn, nid oeddent yn cymmeryd gofal eglwysi arnynt, oblegid nad allent yn gydwybodol gydffurfio â holl ddefodau eglwys Loegr. Ond gan eu bod yn ddynion duwiol, a chymmeradwy gan y bobl, yr oedd llawer o honynt wedi cael eu dewis i fod yn bregethwyr prydnawnol mewn amryw eglwysi. Pan welodd esgob Laud fod y pregethwyr prydnawnol hyn yn gwrthwynebu pabyddiaeth, a'r defodau newyddion ag oedd ef am ddwyn i mewn, efe a lwyddodd gydâ y brenin i orchymyn egwyddori plant a dynion anwybodus, yn mhob plwyf ar brydnawn y sabbath, yn lle pregethu; oddieithr fod rhyw reswm pwysfawr yn erbyn hyny; ac na byddai i un pregethwr ddarllen y gwasanaeth heb yr offeren-grys; ac na dderbynid neb yn bregethwr prydnawnol, ond a fyddai yn foddlon i gymmeryd gofal eglwys plwyf arno.[a]

Rhwystro y Puritaniaid fod yn bregethwyr prydnawnol.

Mewn canlyniad i hyn, cafodd y gweinidogion Puritanaidd eu dystewi a'u gyru i gyfyngder mawr. A chan nad oedd un gobaith i bethau ddyfod yn well, penderfynodd llawer o honynt i fyned i America, lle y caent fwynhau llawn rydd-did cydwybod. Hyn fu yr achos o'r ail drefedigion yn America Ogleddol, yr hwn a elwir yn gyffredin Massachuset's Bay. Aeth tri chant a hanner o'r Puritaniaid o Loegr i America y flwyddyn hon; a'r haf canlynol aeth dau cant

[a] Neal's Hist. Vol. I. p. 540, 541.

CANT XVII. 

cant drachefn. Ac yn yspaid y deuddeg mlynedd canlynol y bu Dr Laud yn llywodraethu yr eglwys, dywedir i bedair mil fyned o'r deyrnas hon i America.[a]

Dr. Owen esgob St. Asaph. O. C. 1629.

Ar farwolaeth Dr. Hanmer, esgob St. Asaph, Dr. John Owen, mab John Owen, o Sir Fon, a gysegrwyd yn esgob yn ei le ef. Er fod Dr. Owen wedi cael ei eni yn Lloegr, a'i ddwyn i fynu yn Cambridge, yr oedd yn wybodus yn y iaith Gymraeg; a phan gafodd esgobaeth St. Asaph, efe a wnaeth i'r offeiriaid bregethu yn Gymraeg er budd i'r Cymry ag oedd mewn mesur mawr yn amddifad o'r efengyl yn eu iaith eu hun.[b] Y flwyddyn ganlynol i hyn, Syr Thomas Middleton, a Mr. Rowland Heilyn, † dau wr enwog o welygordd Cymru, oedd yn byw yn Llundain, a argraffasant y bibl Cymraeg yn llyfr wyth plyg, er budd i deuluoedd Cymru yn gyffredinol. Mewn canlyniad i hyn cynhyddodd gwybodaeth o Dduw i raddau helaeth yn mhlith y Cymry.[c] Ychydig o amser wedi hyn, Dr. John Davies a argraffodd eir-lyfr Cymraeg a Lladin, yr hwn fu o fawr les i bregethwyr Cymry. Efe a argraffodd

Bibl Cymraeg wyth plyg.

[a] Neal's Hist. Vol. I. p. 541—546. [b] Brown Willis

† Yr oedd Syr T. Middleton o'r un tylwyth a'r Middletons o Dinbych. Ac yr oedd Mr. R. Heylin yn un o dylwyth Pentre Heylin, yn sir Drefaldwyn. Ystyr yr enw yw Trulliad; ac yr oedd tylwyth Pentre Heylin yn drulliaid etifeddol i dywysogion Powis.

[c] Hanes y ffydd. p. 233, 234.

odd hefyd gyfieithad o ymroadau y Cristion o waith Parsons.[a] CANT XVII.

Er fod amryw Fedyddwyr yn Lloegr er amser y diwygiad, y flwyddyn hon y cafodd y gynnulleidfa reolaidd gyntaf o Fedyddwyr ei ffurfio yn Llundain.[b] O. C. 1633.

Yr oedd llyfr y chwareyddiaethau yr hwn a gyhoeddwyd gan y brenin Iago yn ffiaidd iawn gan ddynion difrifol yn mhob man; a phan oedd y Barnwyr yn myned yn eu cylch yn y rhan orllewinol o Loegr, achwynwyd wrthynt yn nghylch yr anghyfleustra a'r canlyniadau drwg ag oedd yn tarddu oddiwrth y chwareyddiaethau ar ddydd yr Arglwydd. Y Barnwyr, mewn canlyniad i hyn, a ysgrifenasant orchymyn yn y frawdle i'r dyben i luddias y pethau gwaradwyddus hyn; ac a anfonasant ad-ysgrifen o'r gorchymyn at yr offeiriaid, i'w ddarllen dair gwaith bob blwyddyn yn eu heglwysi. Pan ddychwelodd y Barnwyr i'w cylch, mynasant gyfrif o'r modd y cyflawnwyd eu gorchymyn, ac a gospasant rai am ei droseddu. Esgob Laud, wedi clywed y pethau hyn, a ffromodd yn aruthr, ac a achwynodd wrth y Brenin, fod y Barnwyr yn rhuthro i mewn i'w awdurdod esgobaethol ef; a gorfu ar y Barnwyr dynu eu gorchymyn canmoladwy O. C. 1633.



[a] Cam. Biog. [b] Crosby's English Bap. Vol. I. p. 148.

CANT XVII.

moladwy yn ol. Llawer o foneddigion y wlad y pryd hyn a anfonasant ddeisyfiad at y Brenin, i ddymuno arno er mwyn anrhydedd crefydd, a daioni y wladwriaeth, i beidio rhoddi annogaeth i'r chwareyddiaethau ar y sabbath. Ond gan fod Dr. Laud, yr hwn oedd yn awr yn Arch-esgob Canterbury, a llawer o'r offeiriaid dros y pethau hyn, y Brenin, nid yn unig a gadarnaodd y gorchymyn a roddasai ei dad yn nghylch y chwareyddiaethau ar ddydd yr Arglwydd, ond hefyd a roddodd orchymyn newydd, na byddai i neb o'r swyddogion gwladol i rwystro nac aflonyddu y bobl yn eu difyrwch ar y sabbath wedi dyfod allan o'r eglwys: a bod rhaid i'r offeiriaid gyhoeddi hyn yn eu heglwysi. Yr offeiriaid hyny ag oedd yn ystyried y chwareyddiaethau ar ddydd yr Arglwydd yn anghyfreithlon, a wrthodasant ddarllen cyhoeddiad y Brenin yn eu heglwysi. Ac yn mhlith ereill, Mr. Wrath, offeiriad Llanfaches, yn sir Fynwy, a Mr. William Erbury, Vicar St. Mary, yn Nghaerdydd, a wrthodasant ddarllen cyhoeddiad y Brenin. Pan glybu yr Archesgob hyn, efe a roddodd wys i Mr. Wrath a Mr. Erbury, i ymddangos ger. ei fron ef yn Llundain, i atteb am eu hanufudd-dod i orchymyn y Brenin. Ac oblegid nad allasent yn gydwybodol roddi annogaeth i'r chwareyddiaethau ar ddydd yr Arglwydd, cafodd y ddau eu troi allan o'u heglwysi.* Nid

Dr. Laud, Arch-esgob Canterbury yn annog anfoesoldeb ar y sabbath.

Mr. Wrath a Mr. Edbury yn cael eu troi allan o'u heglwysi.

* Neal's Hist. Vol. I. p. 570—585. Athenæ Oxon.

Nid ymddengys pa le y dygwyd Mr. Wrath i fynu, ond tebygol yw, iddo gael ei urddo gan esgob Llandaf, yn amser y frenines Elizabeth. Angau deisyfyd un o'i gyfeillion fu yn foddion i'w ddychwelyd at yr Arglwydd. O'r amser hyny allan bu yn llafurus iawn yn y weinidogaeth, ac yn offerynol i ddwyn llawer i adnabyddiaeth o'r gwirionedd. Gwedi ei droi allan o eglwys Llanfaches, efe a bregethodd yn ddirgel yn ei hen gymmydogaeth, lle y casglodd efe bobl y rhai a ffufiwyd yn eglwys, ychydig o flynyddoedd wedi hyny.[a] CANT XVII. Mr. Wrath.

Gwr o sir Forganwg oedd Mr. William Erbury. Gwedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, a'i urddo yn offeiriad, cafodd Ficariaeth St. Mary, yn Nghaerdydd, lle y bu yn gweinidogaethu dros lawer o flynyddoedd. Pan gafodd ei ddifuddio o'i eglwys yn Nghaerdydd, efe a aeth oddiamgylch i bregethu pa le bynag y caffai gyfleustra. Dywedir iddo dreulio y rhan fwyaf o'i amser yn Lloegr, a bod ei gyfeillion yn ei ystyried yn wr santaidd a diniwed. Bu fyw lawer o flynyddoedd wedi hyn, ac a ysgrifenodd lawer o lyfrau.[b] Efe hefyd a ddechreuodd achos yr Ymneillduwyr yn Nghaerdydd. Mr. Erbury. O. C. 1634.

Yr oedd Mr. Walter Cradock, o sir Fynwy, yr hwn a ddygasid i fynu yn Rhydychen, yn Gurad Mr. Cradock. O. C. 1634.



[a] Hanes y Bed. p. 22. [b] Athen. Oxon.

CANT XVII. rad i Mr. Erbury, yn Nghaerdydd, y pryd hyn. Ac oblegid iddo yntau wrthod darllen llyfr y chwareyddiaethau, cafodd ei ddifuddio o'i fraint-lythyr gan esgob Llandaf. Mr. Cradock, wedi ei droi allan o Gaerdydd, a dramwyodd trwy siroedd Brycheiniog, Maesyfed, a Trefaldwyn, gan bregethu Crist pa le bynag y caffai gyfleustra; ac mewn ychydig o amser a sefydlodd yn weinidog eglwys Gwrecsam. Yr oedd Mr. Cradock yn bregethwr bywiog a nerthol, a Duw a'i llwyddodd i ddychwelyd llawer i'r ffydd. Bu llwyddiant Mr. Cradock yn nhref Wrecsam, a'r wlad oddiamgylch, yn achlysur i elynion crefydd i'w erlid i raddau mawr; a gelwir proffeswyr prysur a bywiog yn y wlad hono yn Gradociaid hyd heddyw.[a]

Mewn canlyniad i gynnydd y Puritaniaid, a'r annogaeth a roddid gan y Brenin a'r arch-esgob i'r Pabyddion, yr esgobion a gwyr y llys a ddechreuasant ganmol y grefydd Babaidd, a dywedyd y gallasai eglwys Loegr yn ddiberygl dderbyn athrawiaethau neillduol eglwys Rhufain. Yr oedd y Pabyddion mewn cymmeriad mawr yn y llys, a'r Brenin a'u cyfrifai hwynt yn mhlith ei ddeiliaid goreu. Llaesodd hefyd y cyfreithiau cospawl ag oedd mewn grym yn eu herbyn hwynt, dan ffug y buasai hyny yn fodd-

Y Pabyddion mewn parch.

ion

[a] Hanes y Bed. p.27, 144.

ion i dueddu tywysogion Pabaidd mewn gwledydd ereill i ddangos mwy o diriondeb i'w ddeiliaid Protestanaidd. Cydona haneswyr cyfrifol yn eu tystiolaeth, fod y grefydd Brotestanaidd yn nghyd â rhydd-did gwladol y deiliaid mewn perygl mawr y pryd hyn yn y deyrnas hon. Ond ni oddefodd yr Arglwydd i'r goleuni ag oedd yn tywynu yn ein gwlad, i gael ei ymlyd ymaith gan y tywyllwch.*

CANT XVII.

Rhydd-did gwladol a chrefyddol mewn perygl.

Mr. Henry Jessey, wedi ei ddwyn i fynu yn Cambridge a'i urddo yn weinidog eglwys Loegr, a gafodd ei droi allan, oblegid nad allasai gydagweddu yn gydwybodol â holl oddefodau yr eglwys sefydledig. Gwedi ymgynghori llawer â'r Arglwydd ac a'i bobl, efe a sefydlodd gydâg eglwys yr Independiaid yn Llundain, lle yr oedd Mr. Henry Jacob wedi bod yn weinidog. Yr oedd Mr. Jessey yn wr duwiol, dysgedig a llafurus yn y weinidogaeth; a'r flwyddyn hon y cafodd ei anfon gan ei eglwys i Gymru, i gynorthwyo yr hen Mr. Wrath, Mr. Cradock, ac ereill, i ffurfio eglwys o Independiaid yn Llanfaches, yn sir Fynwy, yr hon gwedi hyny a fu yn eglwys flodeuog ac enwog iawn.*b Ychydig

Mr. Jessey yn dyfod i Gymru. O. C. 1639.

O

* Neal's Hist. Pur. Vol. I. p. 602—606.

* Mr. Henry Jessey wedi hyn a gyfnewidiodd ei farn yn nghylch dull a deiliaid bedydd; ac yn y flwyddyn 1645, efe a gafodd ei fedyddio trwy drochiad gan Mr. Hanserd Knollys.

b Palmer's Noncon. Mem. Vol. I.

CANT XVII.



o flynyddoedd yn ol hyn, ffurfiwyd eglwys yn ol dull yr Independiaid hefyd yn Nghaerdydd dan ofal gweinidogaethol Mr. Erbury.[a]

Y senedd hir.

O. C. 1640.

Y flwyddyn hon y dechreuodd y senedd hir i eistedd, yr hon a barhaodd dros ddeunaw mlynedd heb gymmeryd ond ychydig hamdden, ac a ddygodd y fath gyfnewidiadau oddiamgylch yn yr eglwys a'r llywodraeth ag oedd yn syndod i'r byd. Yr oedd holl aelodau y senedd hir yn aelodau o eglwys Loegr, a phawb o honynt yn mron dros lywodraeth esgobol. Er nad oeddent yn ffafriol i'r llys, yr oeddent oll yn ffyddlon i'r Brenin, a thros y llywodraeth; fel ag yr oedd wedi ei sefydlu trwy gyfraith; a'r rhan fwyaf o honynt yn wyr o ddoethineb a phwyll. Wedi cyfarfod, cytunasant nad oedd gan gymmanfa yr offeiriaid un awdurdod i wneuthur rheolau athrawiaeth na dysgyblaeth, i rwymo yr offeiriaid a'r bobl, heb gydsyniad y senedd. Fod llawer o'r rheolau a wnaethwyd gan y ddau arch-esgob yn ngymmanfaoedd yr offeiriaid yn groes i uchelfraint y Brenin, cyfreithiau y wlad, hawl y senedd, ac i ryddid y deiliaid. Mewn canlyniad i'r pethau hyn, cafodd arch-esgob Laud ei gyhuddo, ei ddal, a'i osod yn garcharor yn Nhwr Llundain. Dygwyd achwyniadau hefyd yn erbyn Dr. Owen, esgob Llandaf, a Dr. Manwaring,

Cyhuddo a charcharu Dr. Laud.

O. C. 1640.

[a] Erbury's Tracts.

Manwaring, esgob Ty Ddewi, ac ereill; ond yr oedd gan y senedd ormod o bethau ereill mewn llaw i'w hymlyd hwynt y pryd hyny.[a] CANT XVII.

Yr oedd yr anghydfod ag oedd yn awr rhwng y senedd a'r esgobion yn achos o gynnwrf mawr trwy yr holl wlad; ac yr oedd y gweinidogion hyny ag oedd o gydwybod wedi ymadael âg eglwys Loegr, yn cael eu herlid yn greulon am eu bod fel Crist yn pregethu mewn lleoedd heb eu cyssegru. Ac yn mhlith ereill cafodd Mr. Vavasor Powell, o sir Faesyfed, ei erlid gydâ llawer o ffyrnigrwydd. Yr oedd y gwr duwiol a llafurus hwn wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, ac wedi bod dros ryw amser yn gurad i'w ewythr Erasmus Powell. Ond trwy wrando y duwiol Mr. W. Cradock ac ereill, gwelodd fod egwyddorion ac ymarferiadau y Puritaniaid yn fwy cydsyniol â'r ysgrythyrau, ac mewn canlyniad a unodd â'r blaid hono.[b] Gwedi hyny efe a aeth oddiamgylch i bregethu'r efengyl pa le bynag y byddai annogaeth iddo; ond cyfarfu â llawer o wrthwynebiadau, a bu yn aml mewn perygl o'i fywyd. Pan oedd y flwyddyn hon yn pregethu mewn tŷ yn sir Frycheiniog, yn nghylch deg o'r gloch y nos, cafodd ef a hanner cant o'u wrandaw-wyr eu cymmeryd, a'u sicrâu mewn

V. Powell yn cael ei erlid. O. C. 1640.

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. I. p. 641, 655, 660.

[b] Richard's Life of V. Powell.

CANT XVII.



mewn eglwys plwyf hyd dranoeth. Boreu dranoeth cawsant eu dwyn o flaen Ustus yr Heddwch, yr hwn a'u cyflwynodd i'r hedd-geidwad. Yr Ustus o Heddwch wedi cael dau Ustus ereill, a chwech o offeiriaid ato, a anfonodd y dydd canlynol am Mr. Powell a'i gyfeillion; ac wedi ymddiddan llawer â hwynt a'u bygwth, a'u gollyngodd hwynt ymaith. Yn ol hyn pan oedd Mr. Powell yn pregethu mewn cae, yn sir Faesyfed, cafodd ei ddal gan Mr. Hugh Lloyd, yr uchel sirydd, a'i roddi i ofal unarbymtheg o hedd-geidwaid i'w ddwyn i garchar. Gwrthodasant oll ond un, a hwn oblegid fod y carchar yn mhell, a thy Mr. Powell ar y ffordd, a ganiataodd iddo lettya yn ei dy ei hun y noson hono. Pan glywodd yr hedd-geidwad Mr. Powell yn gweddio mor ddifrifol gydâ ei deulu, cafodd ei gyffroi i'r fath raddau fel ag y ffodd ymaith, gan adael y carcharor yn rhydd yn ei dy ei hun. Pan welodd Mr. Powell ei fod yn wr rhydd, efe a rwymodd ei hun i ymddangos yn y llys nesaf dros sir Faesyfed, fel na chaffai yr hedd-geidwad a'i gollyngodd ef yn rhydd ei gospi am y weithred. Ar yr amser gosodedig, Mr. Powell a roddodd ei hun i fynu; ac wedi ei brofi, cafodd ei ryddhâu yn anrhydeddus a'i wahodd i giniaw gydâ y Barnwyr. Bu hyn yn achos i ledu yr efengyl yn y parthau hyny, ond tramgwyddodd yr

Creulondeb Mr. Hugh Lloyd.

uchel

uchel sirydd i'r fath raddau, fel yr erlidiodd Mr. Powell o'r wlad wedi hyny.[a]

CANT XVII.

Yr oedd amryw o dduwiolion yn Llanafan a Llanwrtyd yr amser hyn, a byddai Mr. V. Powell yn pregethu yn fynych iddynt. Dywedir fod Mr. Walter Cradock hefyd yn ymweled â hwynt ar droion. Yr oedd un Mr. Evan Bowen yn pregethu yn eu plith yr amser hyn, a phan trefnwyd dirprwywyr i ddiwygio yr annhrefn ag oedd yn yr eglwysi, cafodd Mr E. Bowen ei wneuthur yn offeiriad Llanafanfawr.[b]

Dechreuad eglwysi yr Independiaid yn Troedrhywdalar a Llanwrtyd. O. C. 1640.

Er cymmaint o erlid oedd ar weinidogion duwiol a ffyddlon y pryd hyn, nid oedd y llywodraeth yn cymmeradwyo y gwaith cywyliddus hwnw; oblegid yr oedd y senedd wedi rhoddi gorchymyn i weinidogion ffyddlon i fyned i Gymru, a phregethu pa le bynag y byddai angenrheidrwydd.[c] Ymddengys oddiwrth y deisyfiad a anfonwyd y flwyddyn hon o Gymru at y brenin a'r senedd, fod achos crefydd yn isel iawn y pryd hyn yn ein gwlad, ac nad oedd braidd gynnifer o bregethwyr ffyddlon ag oedd o siroedd yn Nghymru, ac nad oedd ond ychydig mewn cydmariaeth yn arddel crefydd.[d]

Ystad crefydd yn Nghymru. O. C. 1641.

Cynnyddodd yr anghydfod rhwng y senedd



[a] Crosby's Eng. Bap. Vol. I. p. 217—219.

[b] Llythyr Williams. [c] Walker's Suff. Cler. part. I. p. 147.

[d] Neal's Hist. Vol. II. p. 456.

CANT XVII.

a'r esgobion fwy-fwy, a chafodd deuddeg o honynt eu cyhuddo o uchel-fradwriaeth, a danfonwyd deg o honynt yn garcharorion i dŵr Llundain; yn mhlith pa rai yr oedd Dr. Morgan Owen, esgob Llandaf, Dr. J. Owen, esgob St. Asaph, a Dr. Roberts, esgob Bangor. Gwedi anfon yr esgobion i dŵr Llundain, cytunodd y senedd na byddai i'r esgobion o hyny allan nac eistedd na rhoi eu llais yn nhy yr arglwyddi. Yn ol gwneuthur y gyfraith hon, rhyddâwyd yr esgobion o dŵr Llundain, ac aethant lle y gwelent fod yn dda, a dyoddefodd rhai o honynt lawer o galedi.[a] Bu y pethau hyn yn achos o lawer o gynnwrf yn Nghymru, oblegid fod rhai yn gyfeillion i'r esgobion, ac ereill yn ffafriol i'r senedd. Ond yr oedd crefydd yn cynnyddu mewn rhai manau. Cyn diwedd y flwyddyn hon cytunodd y senedd i ddiddymu llyfr y chwareyddiaethau, i rwystro pob math o anhrefn ar ddydd yr Arglwydd, ac i orchymyn i'r offeiriaid trwy y deyrnas i bregethu y bore a'r prydnawn bob sabbath.[b]

Carcharu esgobion. O. C. 1641.

Diddymu llyfr y chwareyddiaethau.

Yr oedd y deyrnas y pryd hyn wedi ymranu yn ddwy blaid, un dros y brenin a'r esgobion, a'r llall dros y senedd a'r rhai ag oedd am ddiwygio yr eglwys sefydledig. Y flwyddyn hon, torodd y rhyfel cartrefol allan rhwng y brenin a'r

Rhyfel cartrefol. O. C. 1642.

[a] Fuller's Ch. Hist. B. XI. p. 188, 195, 196.

[b] Neal's Hist. Vol. I. p. 728.

CANT XVII.

a'r senedd, yr hwn a fu o ganlyniadau niweidiol iawn i'r deyrnas yn gyffredinol. Yr oedd plaid y brenin yn lliosog iawn yn Nghymru ar y cyntaf, a gorfu ar y rhan fwyaf o'r gweinidogion teithiol a anfonasid gan y senedd i Gymru, yn nghyd â phroffeswyr crefydd, adael eu gwlad, oblegid yr erlid oedd arnynt. Eu gwrthwynebwyr a gymmerasant feddiannau ac anifeiliaid llawer o honynt, fel y gorfu arnynt hwy, yn nghyd â'u gwragedd a'u plant, fyw mewn peryglon a chaled-fyd hyd ddiwedd y rhyfel.[a]

Dywedir i dywysog Rupert ddyfod â'i fyddin y flwyddyn hon i Gymru, ac iddo yru ymaith yr anifeiliaid, ac yspeilio y tai, a difrodi'r ŷd. Llawer o hen bobl heb arfau a gawsant eu dyosg yn noeth; cafodd ereill eu lladd mewn gwaed oer; ac ereill eu hanner crogi a'u llosgi, ac wedi hyny eu dyoddef i fyw.[b]

Tywysog Rupert yn Nghymru. O. C. 1644.

Rhoddodd y senedd orchymyn y flwyddyn hon i bawb trwy y deyrnas, i roddi heibio yr hen lyfr gweddi cyffredin yn yr addoliad cyhoeddus, ac i ymarferyd yr hyfforddwr i addoliad cyhoeddus,* a gyfansoddasid gan y gymmanfa o ddifynyddion

Gorchymyn i arferydyr hyfforddwr yn lle y llyfr gweddi cyffredin. O. C. 1644.



[a] Powell's Brief Nar.

[b] Neal's Hist. Vol. II. p. 76.

* Yn lle ffurf o weddiau rhag-ysgrifenedig, nid yw yr hyfforddwr ond cyfeirio at bethau ag y gallasai y gweinidog

CANT XVII.



yddion yn Westminster, yn ei le. Parodd hyn lawer o annhrefn trwy yr holl wlad dros ychydig o amser; oblegid nid oedd rhai yn foddlon rhoddi heibio yr hen lyfr gweddi cyffredin; ereill a ddarllenent yr hyfforddwr; ereill a arferent ffurf o'u heiddo eu hunain; ac ereill ni fynent arferyd un ffurf. I'r dyben i osod terfyn ar yr annhrefn hyn, gorchymynodd y senedd i alw i mewn yr hen lyfr gweddi cyffredin, ac i anfon yr hyfforddwr i addoliad cyhoeddus, i bob gweinidog trwy y deyrnas, ac i gospi pwy bynag a wrthodai i'w ddarllen yn eu haddoliad cyhoeddus.*

Marwolaeth Mr. R. Pritchard, o Lanymddyfri. O. C. 1644.

Y flwyddyn hon y bu farw y duwiol a'r enwog Rees Pritchard, M. A. Vicar Llanymddyfri. Mae yn debygol mai yn Llanymddyfri y ganed Mr. Pritchard. Pan oedd oddiamgylch deunaw mlwydd oed, cafodd ei anfon i athrofa Rhydychen, ac wedi bod yno bum mlynedd, cafodd ei urddo yn offeiriad. Dr. Rudd ag oedd y pryd hyny yn esgob Ty Ddewi, a roddodd iddo

ymhelaethu arnynt. Mae yr holl Apocrypha wedi ei adael allan; a bedydd dirgel, yn nghyd â thadau a mamau bedydd, ac arwydd y groes, wedi eu gadael heibio. Nid oes ynddo un gwasanaeth at gladdu y marw, ac mae gwisgoedd yr offeiriaid, a dyddiau y saint, a'r fodrwy yn y briodas, ac amrywiol o bethau ereill, wedi eu gadael heibio.

* Neal's Hist. Vol. II. p. 108, 109.

CANT XVII.

iddo vicariaeth Llanymddyfri, yn sir Gaerfyrddin; ac mewn ychydig o amser wedi hyny, rhoddodd y brenin iddo bersonaeth Llanedi, yn yr un sir. Gwnaethpwyd ef hefyd yn gor-offeiriad eglwys golegog Aberhonddu, ac yn gangellwr Ty Ddewi. Dywedir i Mr. Pritchard i gyfieithu llawer o lyfrau i'r Cymraeg, ac ysgrifenu ar y pedair erthygl ar bymtheg ar hugain eglwys Loegr. Ond ei waith penaf ef yw Canwyll y Cymry. Mae y llyfr hwn yn cynnwys caint ar amrywiol destynau gwledig, moesol, a dwyfol; ac y mae yr athrawiæth, y iaith, a'r brydyddiaeth, mor ysgrythyrol, eglur, llithrig, a melus, fel ag y maent wedi bod o fendith i filoedd o drigolion Cymry; a diau y bydd Canwyll y Cymry yn gymmeradwy yn y wlad hon, tra parâo y iaith Gymraeg. Dywedodd Mr. Pritchard yn ei ragymadrodd i un o'i gaint, mai gogoniant Duw, budd y Cymry, dymuniadau taer ei gyfeillion, a llef y tlodion, a'i hannogodd ef i ysgrifenu Canwyll y Cymry, ac iddo alw y llyfr felly, oblegid ei ddymuniad difrifol i roddi goleuni i'w gydwladwyr ag oedd mewn tywyllwch. Dywed mewn un man fod y Bibl i'w gael yn ei amser ef am bum swllt, ond nad oedd dim un o bob cant yn abl ei ddarllen yn iaith eu mam. Yna y mae yn annog y bobl i brynu y Bibl a dysgu ei ddarllen. Nid ymddengys i Mr. Pritchard argraffu mwy nâ dwy

Canwyll y Cymry.

gaint;

CANT XVII. gaint; ond cafodd yr holl lyfr ei argraffu mewn ychydig o flynyddoedd * wedi marwolaeth yr awdwr, gan yr enwog Mr. Stephen Hughes, offeiriad Mydrim, gerllaw Caerfyrddin.[a]

Marwolaeth Dr. Davies, o Fallwyd. O. C. 1644. Yr un flwyddyn hefyd y bu farw y dysgedig Dr. John Davies, o Fallwyd, yn sir Feirionydd. Yr oedd Dr. Davies yn fab i wr o Llanferes, yn sir Dinbych, ac wedi ei ddwyn i fynu yn gyntaf yn ysgol Ruthin, pan oedd Dr. Parry yn athraw yno. Gwedi hyny efe a aeth i Rydychen. Dr. Davies a briododd ferch i Rhys Gwyn, o Llwyn-Yn, a chwaer i wraig esgob Parry. Y flwyddyn wedi i esgob Parry argraffu y Bibl Cymraeg, Dr. Davies a argraffodd Ramadeg o'r iaith Gymraeg, yn Lladin; ac ychydig o flynyddoedd wedi hyny, efe a argraffodd Eirlyfr Cymraeg a Lladin. Yr oedd Dr. Davies yn gasglwr enwog o waith yr hen Feirdd, ac y mae llawer o'i lyfrau yn ei ysgrifenlaw ei hun wedi eu cadw hyd heddyw.[b] Dr. Davies a adawodd dir a elwir Dol Dyfi, at gynnal tlodion plwyf Mallwyd dros byth. Adeiladodd hefyd ysgoldy y naill ben i'r eglwys, a gorchymynodd i'r ysgolfeistr gael ei gynnal gan bersonau plwyf Mallwyd a ddeuai ar ei ol ef. Ond gan nad oedd

Haelioni Dr. Davies.

* Yn y flwyddyn 1645.

a Athenæ Oxon. Vol. II. p. 54, 55.

b Cam. Biog. Thomas's Hist.

CANT XVII.

oedd ganddo awdurdod digonol i'w rhwymo hwynt i wneuthur felly, gadawsant heibio gynnal yr ysgolfeistr er ys talm.[a]

Marwolaeth arch-esgob Laud O. C. 1645.

Archesgob Laud wedi bod yn garcharor yn nhwr Llundain yn agos i dair blynedd, a gafodd ei brofi gan y senedd, a'i farnu yn euog o ymdrechu i ddymchwelyd y cyfreithiau, a'r grefydd Brotestanaidd, yn nghyd â rhagorfraint y senedd; a rhoddwyd ef i farwolaeth yn y drugeinfed flwyddyn a deuddeg o'i oed, ac wedi bod deuddeg mlynedd yn arch-esgob Canterbury.[b] Pan glybu Dr. Morgan Owen, esgob Llandaf, fod arch-esgob Laud wedi ei osod i farwolaeth, efe a syrthiodd o'i gadair, ac a fu farw yn y Glas-Allt, yn sir Gaerfyrddin, lle yr oedd wedi cilio yn amser y rhyfel cartrefol, a chladdwyd ef yn Myddfey.[c] Yr oedd Dr. Owen yn wr o sir Gaerfyrddin, wedi ei ddwyn i fynu yn gyntaf yn ysgol-rydd Caerfyrddin, ac wedi hyny yn athrofa Rhydychen. Efe a adawodd trwy ewyllys ugain punt y flwyddyn at gynnal ysgol-rydd Caerfyrddin, i'w talu o feddiant eglwysig plwyf St. Ismael.[d]

Gan fod llawer o'r offeiriaid o blaid y Brenin,

ac

[a] Llythyr Mr. H. Jones, o Fallwyd, 1783.

[b] Neal's Hist. Vol. II. p. 118, 166, 168.

[c] Brown Willis. [d] Athen Oxon.

CANT XVII.

Cyfnewid ffurf o lywodraeth eglwys Loegr. O. C. 1645.

ac yn anfodlon i'r ffurf newydd o addoliad ag oedd wedi ei sefydlu gan y senedd, yr oedd llawer o eglwysi heb weinidogion. Ac nid allasai gwyr ieuaingc gael eu hurddo yn ol dull eglwys Loegr, oblegid fod yr esgobion yn groes i'r senedd. Y senedd gan hyny a orchymynodd i gymmanfa y Difynyddion yn Westminster, i gyfansoddi ffurf o urddiad gweinidogion i'r eglwys yn Lloegr, heb bresennoldeb esgob yr esgobaeth. Wedi dadleu llawer ar y pwnc, cytunasant i neillduo gwyr ieuaingc duwiol a dysgedig i holl waith y weinidogaeth yn ol dull y Presbyteriaid. Felly cafodd y ffurf o lywodraeth esgobol ag oedd yn eglwys Loegr ei chyfnewid i ddull y Presbyteriaid; a chytunodd y senedd i gymmeryd ardreth yr eglwysi cadeiriol a'i defnyddio i achosion cyffredin. Y flwyddyn ganlynol cytunasant i ddiddymu arch-esgobion, esgobion, a llawer o swyddwyr ereill ag oedd yn eglwys Loegr, a chymmeryd eu hardrethi hwynt tu ag at dalu dyled y deyrnas.*

Terfyn ar y rhyfel cartrefol cyntaf. O. C. 1646.

Pan welodd y Brenin nad oedd ganddo nag arian na milwyr, i ddwyn y rhyfel yn mlaen, efe a roddodd i fynu, ac a orchymynodd i lywodraethwyr y gwarchadleoedd hefyd i roddi fynu a gwasgaru. Felly y terfynodd y rhyfel cartrefol

cyntaf

* Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 185, 186, 214, 246.

cyntaf, wedi iddo barhau yn agos i bedair blynedd. Ond nid ymheddychodd y Brenin â'r senedd er hyn.[a]

CANT XVII.

Gweinidogion yn dychwelyd i Gymru. O. C. 1646.

Gwedi i bethau ddyfod yn fwy tawel yn Nghymru, Mr. V. Powell a'r gweinidogion ereill ag oedd wedi gorfod ffoi i Loegr yn nechreuad y rhyfel, a ddychwelasant ac a aethant oddiamgylch i bregethu yr efengyl Cymmaint oedd sel a diwydrwydd Mr. V. Powell fel ag yr oedd yn aml yn pregethu dwy a thair gwaith y dydd. Ac anaml y treuliai efe ddau ddiwrnod o'r wythnos trwy y flwyddyn heb bregethu. Rhai troion efe a deithiai gan milldir yr wythnos, ac a bregethai yn mhob man lle y caffai gyfleustra. Nid oedd nemawr o eglwysi trwy holl Gymru nad oedd efe wedi pregethu ynddynt. Pregethai hefyd yn aml mewn ffeiriau a marchnadoedd, ar fynyddoedd ac mewn pentrefydd, a Duw a lwyddodd ei lafur i fesur helaeth, fel y cafodd llawer eu dychwelyd at yr Arglwydd trwy ei weinidogaeth.[b]

Yr ail ryfel cartrefol.

Torodd y rhyfel cartrefol allan drachefn y flwyddyn hon, a bu llawer o gynnyrfiadau a thywallt gwaed yn Nghymru. Laugharn, Powell, a Payer, tri milwriaid yn ngwasanaeth y

 senedd,

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 219.

[b] Crosby's English Bap. Vol. I. p. 376, 377.

CANT XVII.



senedd, a droisant o blaid y Brenin, oblegid fod y senedd yn myned i'w difuddio hwynt. Yr oedd Payer yn llywydd ar dref Penfro, a phan welodd ef Fleming, yr hwn a osodasid gan y senedd yn llywydd Penfro yn ei le ef, yn dyfod i gymmeryd llywodraeth castell Penfro, efe a'i gwrthwynebodd, ac ni roddai efe lywodraeth y lle iddo. Laugharn a Powell a unasant â Payer, a holl ddeheubarth Cymru a gyhoeddasant eu hunain o blaid y Brenin. Yr oedd arglwydd Byron hefyd yn ymdrechu yn galed i ddwyn trigolion Gwynedd a Powys o blaid y Brenin.

Oliver Cromwell a'i fyddin yn Nghymru.

O. C. 1648.

Pan wybu y senedd hyn, anfonasant Oliver Cromwell â byddin luosog i Gymru i ynnill y trigolion yn ol.* Cromwell, wedi gwarchae Chepstow, a aeth yn mlaen trwy Forganwg a Chaerfyrddin, i sir Benfro, gan ddifrodi y wlad â dinystrio y castellydd ag oedd o blaid y Brenin. Ac wedi iddo orchfygu Laugharn, Powell, a Payer, a chymmeryd meddiant o gastell Penfro, efe a ddychwelodd i Loegr.

Tra yr oedd y senedd yn ymdrechu i ymgymmodi â'r Brenin, a sefydlu achosion y deyrnas, y fyddin, gwedi gorchfygu eu holl elynion, a ddychwelodd; a'r milwyr gydâ llawer o ffyrnigrwydd a geisiasant ymddial ar y Brenin. Nid oedd gwiw i'r senedd i wrth-achwyn â hwynt.

Daliasant

* Rapin Vol. II. p. 550.

Daliasant y Brenin, a gwarchaeasant y senedd-dy, fel na chaffai neb fyned i mewn ond y cyfryw ag oedd o'r un daliadau â hwynt eu hunain. Gwedi cael senedd wrth eu bodd, aethant yn mlaen â'u bwriadau echryslon. Enwodd y senedd hon, gant a phump a deugain o wyr i brofi y Brenin am uchel-fradwriaeth. Mewn canlyniad i hyn, cafodd y Brenin ei brofi yn neuadd Westminster, a'i farnu yn euog; ac ar y degfed dydd ar hugain o Ionawr, cafodd ei osod i farwolaeth. Mae amryw feddyliau yn nghylch awdwyr y weithred alarus hon. Ond amlwg yw, oddiwrth dystiolaeth yr haneswyr mwyaf cyfrifol yn y deyrnas, nad oedd un llaw uniongyrch gan un blaid o Gristianogion fel y cyfryw, na chan bobl Lloegr yn gynnulledig mewn senedd rydd, yn marwolaeth y Brenin; ond mai ychydig o'r milwyr ag oedd wedi ffyrnigo mewn canlyniad i ymddygiad anaddas yr amrywiol bleidiau, ag oedd mewn bod y pryd hyny, a fu yn achos o farwolaeth y Brenin.*

CANT XVII.

Charles I. yn cael ei farnu yn euog a'i osod i farwolaeth.

O. C. 1649.

Y flwyddyn hon y bu farw Dr. John Williams, archesgob York. Yr oedd Dr. Williams yn fab i Edmund Williams, o Aberconwy, yn sir Gaernarfon, o'i wraig Mary, merch Owen Wynn, o Eglwysfach. Gwedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, cafodd lawer o ddyrchafiad yn yr

Marwolaeth Dr. Williams Arch-esgob York O. C. 1649.



* Neal's Hist. Purit. Vol. II. p. 376.

CANT XVII.



yr eglwys a'r llywodraeth. Ar drosglwyddiad Dr. Mountaigne i esgobaeth Llundain, cafodd ei gyssegru yn esgob Lincoln; ac yn nghylch wyth mlynedd cyn ei farwolaeth, cafodd ei wneuthur yn arch-esgob York. Yr oedd Dr. Williams yn mhlith yr esgobion a garcharwyd yn nhwr Llundain, trwy orchymyn y senedd. Gwedi ei ryddâu oddiyno, efe a ddychwelodd i Gymru, ac a fu byw yn Penrhyn, yn agos i Aberconwy. Efe a gyhoeddodd lawer o bregethau, a rhai llyfrau ereill.[a] Pan oedd Dr. Williams yn agos i angau, efe a ddywedodd wrth weinidog ag oedd wedi dyfod i'w weled; "Yr wyf gwedi bod mewn llawer mwy o sefyllfaoedd o anrhydedd ac ymddiried yn yr eglwys a'r llywodraeth, nâ neb o'm sefyllfa yn Lloegr er ys tri ugain mlynedd a deg. Ond pe gallwn fod yn sicr fy mod trwy fy mhregethau, wedi bod yn offeryn i ddychwelyd ond un enaid at yr Arglwydd, rhoddai hyny i mi fwy o lawenydd a chysur ysbrydol, nâ yr holl swyddau a'r anrhydedd a gefais trwy fy holl fywyd."[b]

Ymneillduwyr yn amlhau.

Gwedi i'r senedd droi yr esgobion allan o eglwys Loegr, a chyfnewid y ffurf o lywodraeth eglwysig i ddull y Presbyteriaid, cynnyddodd y Puritaniaid i ryw raddau trwy yr holl ynys. Yr oedd

[a] Fasti Oxon. Vol. I. Col. 180—182.

[b] Fuller's Ch. Hist. B. XI. p. 228.

CANT XVII.

oedd llawer o Bresbyteriaid, Independiaid, a Bedyddwyr, mewn amrywiol barthau o Gymru, y pryd hyn; ond gan fod eglwys Loegr yn ei ffurf o lywodraeth yn Bresbyteraidd, a gweinidogion a urddasid gan henuriaid yn gweini ynddi, heb arferyd y llyfr gweddi cyffredin, a'r amrywiol ddefodau a wrthwynebid gan y Puritaniaid, nid oedd dim llawer wedi neillduo etto oddiwrth yr eglwys sefydledig, ond y cyfryw ag oedd yn dŷn dros egwyddorion yr Independiaid a'r Bedyddwyr, yn nghyd â'r cyfryw ag oedd yn byw yn y plwyfau lle y byddai offeiriaid anwybodus ac anfoesol yn gweinidogaethau.

Y senedd yn gorchymyn diwygio yr eglwys yn Nghymru.

Gan fod llawer o offeiriaid Cymru y pryd hyn yn anwybodus, segur, ac anfoesol, a llawer o eisiau Biblau yn y wlad, gwelodd y senedd yn gymmwys i gymmeryd achos y Cymry at eu hystyriaeth; a gwnaethpwyd cyfraith i daenu yr efengyl trwy Gymru, a gosodwyd dirprwywyr* âg awdurdod ganddynt i ddiwygio pob annhrefn yn yr eglwysi, ac i droi allan yr holl offeiriaid ag oedd, oblegid eu drygnaws, annigonolrwydd, meddwdod, neu esgeulustra, yn anghymmwys i'w swydd. Rhoddwyd awdurdod hefyd i'r dirprwywyr i dderbyn yr elw ag oedd yn cyfodi oddiwrth fywioliaethau yr offeiriaid a drowyd allan, a'i drefnu at gynnaliaeth y

* Commissioners.

CANT XVII.



y cyfryw a farnent hwy yn gymmwys i gyflawnu eu lleoedd, ac hefyd at gynnaliaeth hyfforddwyr plant; a bod y gyfraith hon i barâu mewn grym dros dair blynedd.[a] Gannad oedd y dirprwywyr yn ddigon cydnabyddus o holl Gymru, trefnwyd iddynt fyned â'r gorchwyl hwn yn mlaen trwy gymmeradwyaeth, canmoliaeth, a chynnorthwy, y gwyr enwog canlynol, y rhai, oblegid eu duwioldeb, dysgeidiaeth, sel, a'u gwybodaeth o'r wlad, oeddent yn addas i'r gorchwyl. Henry Walter, Walter Cradock, Richard Simonds, Roger Charnock, Jenkin Lloyd, Morris Bidwell, David Walter, William Seaborn, Edmund Ellis, Jenkin Jones, George Robinson, Richard Powell, Robert Powell, Thomas Ewen, John Miles, Oliver Thomas, Dr. John Ellis, Ambrose Mostyn, Stephen Lewis, Morgan Lloyd, William Jones, Richard Edwards, Vavasor Powell, Richard Swain, a Rowland Nevet.[b] Mewn canlyniad i'r gyfraith hon, cafodd oddiamgylch chwech ugain o offeiriaid[*] eu troi allan o'u heglwysi trwy holl Gymru, oblegid eu bod naill ai yn anwybodus o egwyddorion y grefydd Gristianogol, neu yn esgeuluso pregethu, neu yn

Offeiriaid yn cael eu troi allan, oblegid eu hanaddasrwydd i'w swydd.

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 397, 417.

[b] Richard's Life of V. Powell.

[*] Gwel eu henwau hwynt yn Walker's Sufferings of the Clergy.

yn arwain bywydau anfoesol. Ond fel na byddent yn hollol ddiymgeledd, caniatawyd iddynt y bummed ran o'u bywioliaethau at eu cynnaliaeth.* CANT XVII.



Gwedi troi cynnifer o offeiriaid allan o'u heglwysi, yr oedd yn anhawdd i gael digon o Gymry duwiol a dysgedig yn uniongyrch i gyflawnu eu lleoedd. I'r dyben, gan hyny, i ddiwallu y diffyg hyn yn y modd goreu ag y gallasid, y dirprwywyr a osodasant chwech o bregethwyr teithiol yn mhob sir trwy Gymru. Yr oedd y gwyr hyn wedi eu dwyn i fynu yn un o'r ddwy brif athrofa, a phob un yn cael cant punt y flwyddyn at ei gynnaliaeth. Heblaw y rhai hyn, anfonasant allan ddeuddeg gweinidog ar hugain, pedwar ar hugain o ba rai oeddent wedi eu dwyn i fynu yn un o'r ddwy brif athrofa; a rhai o'r lleill yn ysgoleigion da, ond nid oedd y rhai hyn oll, yn ddigon i'r gwaith ag oedd i'w gyflawnu, er eu bod yn ddiorphwys yn eu llafur. I gyflawnu yr hyn oedd etto ynddiffygiol, y dirprwywyr a ddewisasant aelodau eglwysi ag oedd yn wyr duwiol, synwyrol, a doniol, ond heb gael eu dwyn i fynu at y weinidogaeth, i fod yn bregethwyr teithiol yn eu hamrywiol gymmydogaethau, a channiatausant i bob un o honynt oddiamgylch ugain punt y flwyddyn am eu llafur. Yr oedd

Pregethwyr teithiol yn mhob sir.

rhai

* Walker's Suff. Clergy. Part II.

CANT XVII. rhai o aelodau eglwys Llanfaches a Mynyddyslwyn yn mhlith y pregethwyr teithiol hyn. Dywedir i'r Tanwyr † hyn fod yn offerynol i ddychwelyd llawer at yr Arglwydd, ond rhaid cyfaddef nad oedd nifer digonol o honynt y pryd hyn i gyflawnu y gwaith ag oedd i'w wneuthur trwy holl Gymru.[a]

George Fox, arweinydd y crynwyr.

George Fox, arweinydd cyntaf y bobl a elwir Crynwyr, a anwyd yn Dreyton, yn Lancashire, yn y flwyddyn 1624. Cafodd ei osod i ddysgu cryddiaeth, ond gan fod ei feddwl yn rhedeg ar bethau ysbrydol, efe a adawodd ei feistr, ac a grwydrodd o ddeutu y wlad wrtho ei hun; ac yn nghylch y flwyddyn 1647, efe a ddechreuodd bregethu i'r bobl mewn marchnadoedd a lleoedd ereill, ynnghylch goleuni tufewnol Crist ynddynt. Tybiodd yr amser hyny i'r Arglwydd orchymyn iddo beidio tynu ei het i un dyn, na dymuno boreu neu nos dda i neb; ac i gyfarch pawb yn ddiwahan â'r geiriau, di, a thydi. Dechreuodd G. Fox a'i ganlynwyr y pryd hyn i wisgo yn wahanol i ddull yr amseroedd; ac ni wnaent na rhoddi na derbyn enwau o barch ac anrhydedd, na galw neb yn arglwydd ar y ddaear

† Tanwyr y gelwid y gweinidogion a osodwyd y pryd hyny gan y dirprwywyr i gyflawnu lleoedd yr offeiriaid a droisid allan o'u heglwysi.

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 458.

CANT XVII.

ddaear. Gwrthodasant hefyd i wneuthur eu llw ar achosion prysur. Fel ag yr oedd canlynwyr George Fox yn cynnyddu, yr oedd efe yn myned yn fwy hŷ ac aflonydd. Ai i eglwysi ar amser yr addoliad, ac os dywedai y gweinidog ddim yn groes i'w feddwl, gwrthwynebai ef yn gyhoeddus; yr hyn fu yn achos iddo gael ei ddal a'i garcharu. Pan oedd y flwyddyn hon ger bron Mr. Gervas Bennet, un o Ustusiaid Derby, daeth arno un o'i hangau cryndod nes crynu ei holl gorph, ac efe a lefodd â llef uchel, gan orchymyn i'r Ustus a'r gwyr oddiamgylch iddo, i grynu wrth air yr Arglwydd. Pan welodd Mr. Bennet hyn, efe a alwodd George Fox a'i gyfeillion yn Grynwyr; a chan fod yr enw hwn yn cyfatteb i'w dull cyffredin hwynt, daeth i fod yn enw gwahanredol y blaid hon. Yr oedd athrawiaethau y bobl hyn mor ansicr a'r egwyddorion oddiar ba rai yr oeddent yn gweithredu. Yr oeddent yn gwadu fod yr ysgrythyr yn unig reol o'u ffydd, gan ei galw yn llythyren farw, a haeru fod gan bob dyn oleuni oddimewn, yr hwn oedd yn rheol ddigonol. Yr oeddent yn gwadu athrawiaeth y Drindod, a chnawdoliaeth Crist yn y dull yr addefir hwynt yn gyffredin. Gwrthodent hefyd y ddwy ordinhad o fedydd a swper yr Arglwydd.

O. C. 1650.

Tyb y Crynwyr

3 Y Mae

* Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 399—401.

CANT XVII.



Crynwyr yn Nghymru. O. C. 1650.

Mae yn debygol fod rhai Crynwyr y pryd hyn yn Nghymru, yn neillduol yn sir Faesyfed; a chynnyddasant yn Nghymru a Lloegr dros rai blynyddoedd.[a] Y Bedyddwyr a gadwasant gymmanfa flynyddol; mis Tachwedd, y flwyddyn hon, yn Ilston, gerllaw Abertawe; a dyma y gymmanfa flynyddol gyntaf a gynnaliwyd ganddynt yn Nghymru. Cynnaliasant eu hail gymmanfa yn Nghaerfyrddin y Mawrth canlynol, yn mha un y gofynwyd amrywiol o bethau yn nghylch arddodiad dwylaw, a chanu yn yr addoliad; yr hyn sydd yn dangos nad oedd y defodau hyny mewn arferiad y pryd hyn gan yr holl Fedyddwyr.[b]

Cymmanfa flynyddol gyntaf y Bedyddwyr. O. C. 1650.

Diwyd-rwydd rhai offeiriaid. O. C. 1650.

Nid oedd yr holl offeiriaid y pryd hyn yn cyfyngu eu hunain i'w heglwysi, ond yn pregethu oddiamgylch y wlad lle y cawsent annogaeth, ac yn gweini swper yr Arglwydd mewn tai annedd. Mr. Stephen Hughes yr hwn oedd wedi cael ei wneuthur yn Vicar Mydrim, a fu yn offerynol oddiamgylch i'r flwyddyn hon, i gasglu a sefydlu yr eglwysi canlynol, yn sir Gaerfyrddin. Un yn Mydrim, un yn Pencader, un yn mhlwyf Llanfihangel-rhos-y-corn, ac un yn Llanon a Llanedi. Gelwyd Mr. S. Hughes yr apostol sir Gaerfyrddin, ac wedi ei ddidyo o eglwys Mydrim, bu yn gweini swper yr Arglwydd

[a] Thomas's Eccles. Hist.

[b] Richard's Life of V. Powell.

wydd i amryw o eglwysi yr Ymneillduwyr, fel y crybwyllir yn y lle priodol.[a]

CANT XVII.

Oliver Cromwell yn arglwydd amddiffynwr Lloegr. O C. 1653.

Yr oedd Oliver Cromwell yn mwy ffafriol i'r Independiaid nâg i un blaid arall o Gristianogion; a phan gafodd ei gyhoeddi yn arglwydd amddiffynwr Lloegr, cytunwyd ar y pethau canlynol; 'Fod y grefydd Gristianogol megis ag y mae yn gynnwysedig yn yr ysgrythyr, i gael ei dal allan, a'i chanmol fel crefydd deilwng o grediniaeth a phroffes pawb: ac y byddai cynnaliaeth mwy addas i gael ei roddi i weinidogion y gair cyn gynted ag y caffid gyfleustra.' 'Nad oedd neb i gael eu cymhell i gydffurfio â'r grefydd gyhoeddus, yn amgen nâ thrwy athrawiaeth a buchedd dda.' 'Nad oedd y cyfryw ag oedd yn proffesu ffydd yn Nghrist, er eu bod yn amrywio mewn barn oddiwrth yr athrawiaeth, yr addoliad, a'r ddysgybliaeth gyhoeddus, ddim i gael eu rhwystro yn yr ymarferiad o'u crefydd, ond i gael eu diogelu yn eu proffes, tra na byddent yn cam-arferyd eu rhydd-did er niwed i ereill. Ond nid oedd y rhydd-did hwn i gael ei roddi i Babyddiaeth a Phreladiaeth, nac i'r cyfryw ag oedd dan broffes o Gristianogaeth yn byw yn benrydd.'[b]



[a] Llyfr Eglwys Llanedi.

[b] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 427.

CANT XVII.



Marwolaeth Dr. Manwaring. O. C. 1653.

Bu farw Dr. Roger Manwaring y flwyddyn hon, yn Nghaerfyrddin, ac a gladdwyd yn eglwys golegog Aberhonddu. Yr oedd Dr. Manwaring yn wr o sir y Mwythig, ac wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen. Gwedi cael llawer o ddyrchafiad eglwysig, cafodd, ar symudiad Theophilus Field i Henffordd, ei gyssegru yn esgob Ty Ddewi, gan arch-esgob Laud. Yn amser y rhyfel cartrefol cafodd ei ddifuddio o'i holl fywioliaethau eglwysig, ei garcharu, a'i erlid o le i le; ac nid oedd ganddo ond etifeddiaeth bychan i'w gynnal ef a'i deulu. Dywedir fod y Puritaniaid yn ei ystyried ef yn wenieithwr, ond fod gwyr y llys yn barnu ei fod yn wr da. Priododd ei fab Thomas Manwaring âg wyres Rees Pritchard, o Lanymddyfri, sef merch Samuel Pritchard; a bu iddynt fab a'i enw Roger Manwaring. Nid yw Mr. Wood yn rhoddi y gair goreu i Mr. T. Manwaring a'i fab Roger, ynghylch y tir a adawodd y duwiol Rees Pritchard i gynnal ysgol rydd yn Llanymddyfri.[a]

Eglwys Independiaid yn sir Aberteifi. O. C. 1653.

Yr oedd eglwys luosog o Independiaid yr amser hyn yn sir Aberteifi, dan ofal gweinidogaethol Mr. Rees Powell, o Lanbedr. Tebygol yw, mai y gweinidogion a drefnwyd gan y dirprwywyr i daenu yr efengyl yn Nghymru, fu yn offerynol

[a] Athenæ Oxon. Vol. II. col. 54, 55, 1141.

offerynol i gasglu yr eglwys hon. Yr oedd yn cynnwys amrywiol o gangenau, y rhai a gyfarfyddent yn y lleoedd canlynol: Llanbadarnfawr, Llanbadarn-odyn, Garthely, Llanbedr, Bettws, Llanarth, a Llangoedmoer. Ond er fod y cangenau hyn mor wasgaredig, yr oeddent oll yn cael eu hystyried yn un eglwys, ac yn myned dan yr enw cyffredinol o eglwys Crist, yn sir Aberteifi. Mae yn debygol i'r cangenau hyn barhau dan ofal Mr. Rees Powell, hyd arferiad Charles yr ail; a'u bod yn cynnwys dros ddau cant o aelodau pan ymadawodd efe â hwynt.*

CANT XVII.

Deisyfiad trigolion deheubarth Cymru.

Pan oedd y dirprwywyr a osodasid gan y senedd i ddiwygio crefydd yn Nghymru gwedi bod ddwy flynedd yn eu swydd, cafodd deisyfiad yn ffafr yr offeiriaid a droisid allan ei anfon at y senedd gwedi ei arwyddo gan fwy nâ mil o drigolion deheubarth Cymru. Yn y deisyfiad hwnw dangosent pa nifer o offeiriaid a droisid allan o'u heglwysi, y diffyg oedd o nifer digonol o bregethwyr yn eu lle hwynt, a'r cyflwr truenus ag oedd y wlad ynddo mewn canlyniad i hyny. Deisyf, gan hyny, yr oeddent, i'r senedd i gymmeryd ryw ffordd i ddiwallu diffyg y wlad, ac i alw y gwyr hyny i gyfrif, ag oedd gwedi derbyn holl elw y bywiolaethau eglwysig i'w llaw eu hun. Derbyniodd y senedd y deisyfiad, a threfnwyd

* Cilgwyn Church Book.

CANT XVII.

wyd gwyr priodol i holi tystion ar eu llw yn nghylch y pethau a achwynwyd o'u plegid yn y deisyfiad. Rhoddodd y gwyr a osodwyd gan y senedd i chwilio i'r pethau hyn, orchymyn i'r dirprwywyr i roddi mewn eu cyfrif mewn mis o amser; yr hyn a wnaethant yn ganlynol. Gorchymynasant hefyd i'r deisyfwyr i enwi mewn dau ddiwrnod y pethau neillduol, ar ba rai yr oeddent yn ewyllysio i dystion gael eu holi. Ond gan nad oeddent yn barod y pryd hyny, deisyfiasant gael cenad i brofi eu haeriadau yn y wlad, yr hyn a ganiatawyd iddynt. Ond cyn i'r pethau hyn gael eu dwyn oddiamgylch, gollyngwyd ymaith y senedd hir, ac oedwyd y peth dros ychydig o amser.[a]

Cyfrif y dirprwywyr yn cael ei gymmeradwyo. O. C. 1654.

Oliver Cromwell gwedi dyfod i'r llywodraeth, a roddodd orchymyn y flwyddyn hon i alw y Tanwyr i gyfrif; ac i'r dyben hyn efe a osododd syr Hugh Owen, ac yn nghylch deunaw o wyr ereill, i drefnu y pethau hyn yn neheubarth Cymru; a Mathew Morgan, a deuddeg o wyr gydag ef i drefnu yr achos hyn yn Ngwynedd a Phowys. Pan edrychodd y gwyr hyn dros gyfrif y dirprwywyr, cawsant eu boddloni eu bod gwedi ymddwyn yn gyfiawn, a chafodd eu cyfrif hwynt ei gymmeradwyo.[b]

Mae

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 458, 459.

[b] Ibid p. 455, 459.

Mae yr haneswyr hyny ag oedd yn elynol i'r dirprwywyr a thanwyr yr efengyl yn Nghymru, yn eu gwaradwyddo hwynt hyd eithaf eu gallu, fel pe buasent gwedi ymgyfoethogi ar ardreth yr eglwys, heb gymmaint a rhoddi un siampl o hyny. Mae Mr. V. Powell o'r tu arall yn tystio, na dderbyniodd efe erioed am ei holl bregethu yn Nghymru, ddim mwy nâ chwech neu saith cant o bunnau, na chafodd efe ddim erioed oddiwrth y degymau, ac na phwrcasodd efe ond gwerth trugain punt a deg y flwyddyn o dir y llywodraeth, yr hwn a gollodd pan adferwyd y brenin Charles. Ac os nad ymgyfoethogodd Mr. Powell, nid tebygol yw y gallasai neb o'i frodyr. Heblaw hyn, pe buasai y peth yn wir, fe fuasai y gwyr a osodwyd gan O. Cromwell i chwilio y mater hyn, yn cael hyny allan; neu pe buasai y Tanwyr yn diangc y pryd hyn, fe fuasent yn cael eu dinoethu yn amser yr adferiad, pan orchymynodd y brenin Charles i wneuthur manol-ymholiad i'r pethau hyn. Deliodd rhai o offeiriaid Cymru yn greulon â Mr. V. Powell, ond efe a wnaeth gyfiawnder iddo ei hun mewn llyfr bychan a gyhoeddodd efe y flwyddyn cyn hon; yn mha un y mae yn amddiffyn ei ymddygiad yn nhaniad yr efengyl yn Nghymru.[a]

CANT XVII. Tystiolaeth V. Powell.

Y flwyddyn hon y bu farw Mr. W. Erbury, gwedi

Marwolaeth W. Erbury. O. C. 1654.

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 459, 460.

CANT XVII. gwedi bod lawer o flynyddoedd yn llafurus a llwyddiannus yn ngwinllan Crist.[a] Yr un flwyddyn hefyd y sefydlwyd y gymdeithas, a elwir Cymdeithas i feibion yr offeiriaid.[b]



O. C. 1656. Tra yr oedd Mr. V. Powell yn myned oddiamgylch i bregethu yn neheubarth Cymru, daeth i Lanbadarnfawr, lle yr oedd cannoedd o bobl gwedi cyfarfod i'w wrando ef. Pan glybu Mr. Prise, o Gogerddan, yr hwn oedd yn sirydd y flwyddyn hono, fod y fath luaws gwedi dyfod yn nghyd, anfonodd atynt i wybod eu dyben hwynt. Attebasant hwythau, fod rhai o aelodau yr amrywiol eglwysi cynnulleidfaol yn Nghymru yn cyfarfod i addoli a thori bara yn eglwys Llanbadarnfawr y sabbath hwnw. Nid oedd gan Mr. Prise ddim i wneuthur iddynt; ond ysgrifenodd at yr arglwydd Dirprwywr i gael gwybod pa beth i wneuthur os deuent yno drachefn. Mr. Powell yn nghylch yr amser hyn, a adawodd yr Independiaid, ac a unodd â'r Bedyddwyr; ac y mae yn debygol mai efe oedd y cyntaf yn Nghymru a aeth oddiwrth yr Independiaid at y Bedyddwyr. Ond gan i amryw y blynyddoedd canlynol i ddilyn ei siampl ef yn hyn, daeth Bedyddwyr Cymru yn y cant hwn i fod yn ddwy blaid. Un wedi ei ffurfio yn ol trefn

[a] Thomas's Eccles. Hist.

[b] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 470.

trefn gyfyng y Bedyddwyr, heb ddim cymmysg; a'r llall gwedi ei ffurfio ar ddull mwy helaeth, yn cynnwys cymundeb cymmysg o Fedyddwyr ac Independiaid.[a] CANT XVII.

Y flwyddyn hon y bu farw Mr. Hugh Evans, o sir Faesyfed, yr hwn oedd weinidog duwiol a defnyddiol yn ei ddydd. Yr oedd yn gweinidogaethu yn siroedd Maesyfed a Brycheiniog, ac y mae yn debygol mai efe oedd yr unig weinidog ag oedd gan y Bedyddwyr yn Nghymru dros ryw amser.[b] Marwolaeth Mr. Hugh Evans. O.C. 1656.

Ar farwolaeth Oliver Cromwell, ei fab Richard Cromwell a gafodd ei gyhoeddi yn amddiffynwr Lloegr yn ei le ef. Derbyniodd Richard lawer o gyfarchiadau oddiwrth drigolion Cymru a Lloegr ar ei ddyrchafiad i'r sefyllfa bwysfawr hon.[c] Yn y cyfarchiad a anfonodd trigolion sir Gaernarfon ar yr achlysur hyn, maent yn dymuno iddo wneuthur ei oreu i lethu cyfeiliornadau, coel-grefydd, anfoesoldeb, ac anghyfiawnder, ac i amddiffyn awdurdod gwladol, a gweinidogaeth efangylaidd; i fod yn dad i'r rhai ag oedd yn ofni yr Arglwydd, ac i wneuthur ei hun a'i lywodraeth yn barchus yn Marwolaeth Oliver Cromwell. O.C. 1658.



[a] Richard's Life of V. Powell.

[b] Richard's Life of H. Evans.

[c] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 512.

CANT XVII.

nghalonau ei bobl, trwy amddiffyn y gwirioneddau hyny ag sydd yn tueddu i ddyrchafu Crist, a llonyddu y deyrnas.[a] Ond er fod Richard yn wr ieuangc, o dymher dangnefeddus, nid oedd o'r un cymmwysderau a'i dad i lywodraethu y deyrnas ar y fath amser terfysglyd. A phan welodd yr ymryson ag oedd rhwng y gwahanol bleidiau yn y deyrnas, ac nas gallasai efe ei llywodraethu hwynt mewn tangnefedd, efe a roddodd i fynu ei swydd oruchel gwedi ei mwynhau wyth mis.[b]

Marwolaeth M. Llwyd. O. C. 1659.

Y flwyddyn hon y bu farw Mr. Morgan Llwyd, yr hwn oedd yn weinidog eglwys fawr Gwrecsam, er pan ymadawodd Mr. W. Cradock â'r eglwys hono. Yr oedd Mr. M. Llwyd yn bregethwr enwog, ac hefyd yn brydydd, ac yn ysgrifenydd da. Efe a ysgrifenodd lyfr y tri aderyn, ac hefyd, Cyfarwyddyd i'r Cymry. Mr. Ambrose Mostyn a ddaeth yn weinidog eglwys fawr Gwrecsam yn ei le ef.[c]

Adferiad Charles II. O. C. 1660.

Gwedi Richard Cromwell roddi fynu ei swydd o amddiffynwr Lloegr, y Presbyteriaid a unasant â'r blaid esgobol i anfon am Charles, mab Charles y cyntaf, o'r cyfandir, lle yr oedd gwedi ffoi yn amser y rhyfel cartrefol, a'i osod

ar

[a] Cam. Reg. Vol. I. p. 162.

[b] Neal's Hist. Pur. Vol. II.

[c] Richard's Life of M. Llwyd.

ar orsedd y deyrnas. Daeth Charles i Lundain ar y nawfed dydd ar hugain o fis Mai, y flwyddyn hon, a chafodd ei gyhoeddi yn frenin Lloegr. Mawr oedd llawenydd y bobl ar adferiad Charles yr ail, a mawr oedd y penrhydddid a'r ereulondeb a ddilynodd y gorfoledd hwnw. Gwedi sefydlu Charles yr ail ar orsedd Brydain, cyfnewidiwyd y ffurf o lywodraeth eglwysig o fod ynBresbyteraidd i fod yn esgobol. Cafodd yr hen esgobion eu hadferu i'w hesgobaethau, a chyssegrwyd rhai newyddion i gyflawnu lleoedd y cyfryw ag oedd gwedi marw.[a] CANT XVII.

Nid oedd ond Dr. William Roberts yn fyw o esgobion Cymru y pryd hyn. Cafodd ef ei adferu i esgobaeth Bangor; a chafodd Dr. W. Lucy ei gyssegru yn esgob Ty Ddewi; Dr. Hugh Lloyd, o Berth Rees, yn sir Aberteifi, yn esgob Llandaf; a Dr. George Griffiths, ó sir Gaernarfon, yn esgob St. Asaph. Yr oedd yr esgobion hyn gwedi dwyn mawr sel dros y brenin a llywodraeth esgobol, a chwedi dyoddef llawer mewn canlyniad i hyny; ac nid rhyfedd os nad oeddent yn awr yn ffafriol i'r cyfryw ag oedd gwedi bod yn achos o'u dyoddefiadau hwynt.[b] Adferiad yr esgobion. O.C. 1660.

3 Z 2 Cadwyd

a Rapin Vol. II. Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 558—586.

b Brown Willis.

CANT XVII.



Cadwyd pedair neu bump esgobaeth yn Lloegr yn wag dros ryw amser, i gael gweled pa un a fodlonai y gwyr mwyaf enwog yn mhlith y Presbyteriaid i'w llanw hwynt. Cafodd Mr. R. Baxter gynnyg ar esgobaeth Henffordd, a chynnygwyd esgobaeth Litchfield a Choventry i Mr. Calamy. Ond pallodd yr holl Bresbyteriaid gymmeryd eu cyssegru yn esgobion oddieithr Dr. Reynolds, yr hwn a dderbyniodd esgobaeth Norwich. Gorchymynwyd i ddarllen yr hen lyfr gweddi cyffredin yn yr eglwysi fel cynt, ac adferwyd yr holl offeiriaid ag oedd gwedi eu troi allan oblegid eu hanufudddod i lywodraeth y senedd, ac oblegid anfoesoldeb; ac ni chafodd un offeiriad Presbyteraidd nac Independiad aros yn eu lleoedd, ond y cyfryw ag oedd yn gwasanaethu eglwysi, offeiriaid esgobol pa rai oedd gwedi marw.[a]

Erlidigaeth yn Nghymru. O. C. 1660.

Gwedi cyfnewid y ffurf o lywodraeth eglwysig, dechreuwyd ymddial ar yr Independiaid a'r Bedyddwyr mewn amrywiol fanau; a chafodd rhai o honynt eu herlid a'u carcharu. Cafodd Mr. V. Powell ac amryw o'i gyfeillion o ogledd Cymru eu carcharu yn y Mwythig heb un achos cyfreithlon; a'r milwyr heb ddangos un awdurdod a yspeiliasant dai llawer o honynt. Mr. Jenkin Jones hefyd a llawer o'i frodyr a gawsant eu carcharu dros yspaid mis y flwyddyn hon yn Nghaerfyrddin.

[a] Neal's Hist. Purit. Vol. II. p. 558—586.

ddin, oblegid na roddent heibio eu cyfarfodydd crefyddol, ac uno â'r eglwys sefydledig. Dywedir iddynt ddyoddef mor amyneddgar a siriol, a bod eu hymarweddiad mor weddaidd, fel y gorfu ar eu gelynion gyfaddef gydâ dagrau eu bod yn dyoddef yn ffordd cyfiawnder, a'u bod yn ddedwydd yn y weithred.[a] Yr oedd Mr. Jenkin Jones yn-wr o sir Frycheiniog, ac wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen. Mae yn debygol ei fod yn bregethwr, ac yn filwr, yn amser y rhyfel cartrefol, ac iddo gael ei osod yn un o gymmeradwywyr y gweinidogion hyny a osodwyd i daenu yr efengyl yn Nghymru. Gwedi bod dros ychydig amser yn weinidog plwyf Llanddetty, yn sir Frycheiniog, cafodd ei wneuthur yn weinidog plwyf Merthyr Tydfil, yn sir Forganwg; ac wedi hyny yn weinidog plwyf Llangatwg, yn agos i Gastell Nedd, lle yr oedd pan yr adferwyd Charles yr ail. Pan oedd Mr. Jones yn Llangatwg, bu yn offerynol i gasglu cynnulleidfa yn sir Gaerfyrddin. Ac mae yn debygol mai efe oedd yr offeryn mwyaf neillduol i sefydlu achos yr Ymneillduwyr yn Merthyr Tydfil, Castell Nedd, a Thirdyncyn.[b] Rhoddodd y brenin orchymyn cyn diwedd y flwyddyn hon, i ddewis nifer o ddifinyddion i adchwilio y llyfr gweddi cyffredin, ac i wneuthur

CANT XVII.

Jenkin Jones.

[a] Crosby's Eng. Bap. Vol. II. p. 26, 27.

[b] Richard's Life of Jenkin Jones.

CANT XVII.


thur y fath gyfnewidiadau ynddo ag a fernid yn angenrheidiol; ac i beidio â chospi neb ammeugar am wrthod ei ddarllen dros ychydig o amser.[a]

Gwrthryfel Venner. O.C. 1661.

Cyn i wyr addas gael eu dewis i adchwilio y llyfr gweddi cyffredin, y bobl a elwid Gwyr y bummed unbenaeth * a godasant gynnwrf mawr yn Llundain, yr hwn fu o niwed i'r pleidiau ag oedd yn groes i lywodraeth esgobol, er nad oedd ganddynt un llaw yn y gorchwyl hwnw. Un Thomas Venner, ac yn nghylch hanner cant o bobl benboeth fel ei hun, yn tybied fod yr amser gwedi dyfod i Grist deyrnasu ar y ddaear, a aethant allan yn arfog i fonwent St. Paul, yn Llundain, gydâ bwriad i ddymchwelyd y llywodraeth wladol, neu farw yn yr ymdrech; ac a laddasant un dyn oblegid iddo atteb ei fod ef dros Ddüw a'r brenin. Ond pan alwyd allan y milwyr, cafodd llawer o wyr y pummed unbenaeth eu lladd, a daliwyd y rhai ereill; a chwedi eu profi, cawsant eu gosod i farwolaeth oll.[b] Bu y gwrthryfel gwallgofus hwn yn achlysur i'r brenin i wahardd cadw cyfarfodydd crefyddol allan o'r eglwys, ac i orchymmyn

[a] Rapin Vol. II.

* Y rhai oedd yn credu y deuai Crist i deyrnasu yn bersonol ar y ddaear.

[b] Rapin Vol. II.

ymmyn i bawb ag a dybid yn anffyddlon i'r llywodraeth, i gymmeryd y llwon o uchafiaeth y brenin a ffyddlondeb i'r llywodraeth: Y pryd hyn y dechreuwyd galw y Presbyteriaid, Independiaid, Bedyddwyr, a'r Crynwyr, wrth yr enwau cyffredinol o Ymneillduwyr ac Anghydffurfwyr.[a] CANT XVII.

Mewn canlyniad i'r gorchymmyn a roddasai y brenin, enwyd y flwyddyn hon ddeuddeg o esgobion a naw o gynnorthwywyr, o du eglwys Loegr; a deuddeg o weinidogion a naw o gynnorthwywyr, o du y Presbyteriaid, i gyfarfod yn lletty esgob Llundain, i adchwilio a diwygio y llyfr gweddi cyffredin, ac i ymdrechu i'w wneuthur yn gymmeradwy i'r ddwy blaid. Gwedi newid a diwygio amryw bethau yn y llyfr gweddi cyffredin, rhoddwyd ef i'r brenin, a chafodd ei gymmeradwyo ganddo ef a'r senedd.[b]

Ymneilltuwyr

Diwygio y llyfr gweddi cyffredin. O. C. 1661.

Cytunodd y brenin â'r senedd y flwyddyn hon, fod i bawb ag oedd mewn swyddau o elw ac ymddiried yn unrhyw fwrdeis-dref, i gymmeryd y llwon o ffyddlondeb i'r llywodraeth, ac unbenaeth y brenin; ac i fynegu ar eu llw, nad yw yn gyfreithlon i gymmeryd arfau yn erbyn y brenin ar un aches

Y corporasiwn Act. O. C. 1661.

[a] Rapin Vol. II.

[b] Ibid. Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 613.

CANT XVII.



achos pa bynag; ac nad oedd i neb o hyny allan gael eu dewis i unrhyw swydd o elw ac ymddiried mewn un bwrdeis-dref, heb gymmeryd y cymun yn eglwys Loegr o fewn i flwyddyn cyn eu hetholiad. Trwy y gyfraith hon cafodd yr Ymneillduwyr eu troi allan o bob rhan o'r awdurdod gwladol ar unwaith, a'u hanaddasu i wasanaethu eu gwlad mewn un swydd o elw ac ymddiried.[a]

Cynnydd yr Ymneillduwyr. O. C. 1661.

Er cynddrwg oedd ar yr Ymneillduwyr y blynyddoedd hyn, yr oedd eu hachos yn myned ar gynnydd; ac y mae yn debygol fod mwy nâ deugain o gynnulleidfaoedd neillduol yn Nghymru y pryd hyn. Yr oedd rhai o honynt yn Independiaid, ereill yn Fedyddwyr, ereill yn gymmysg o'r ddwy blaid, ac ereill yn Grynwyr.[b]

Act o unffurfiad. O. C. 1662.

Ar y pedwerydd dydd ar bymtheg o fis Mai, y flwyddyn hon, rhoddodd y brenin ei gydsyniad i'r gyfraith o unffurfiad, yr hon fu yn achos o adfyd mawr i amryw o weision ffyddlon Crist dros lawer o flynyddoedd. Yn ol y gyfraith o unffurfiad, yr oedd yn rhaid i bob gweinidog, cyn y pedwerydd dydd ar hugain o fis Awst canlynol,

[a] Rapin Vol. II. Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 599, 600.

[b] Richard's Life of V. Powell, p. 23. Thomas's Eccles. Hist.

ol, i gydffurfio yn mhob peth âg addoliad eglwys Loegr, gosod eu dwylaw wrth erthyglau yr eglwys, a mynegu eu hollol adsyniad a'u cydsyniad â'r holl bethau ag oedd yn yr argraffiad newydd o'r llyfr gweddi cyffredin, er nad oedd amryw o honynt ddim wedi cael cyfle i'w weled a'i ddarllen; ac os na fyddai iddynt wneuthur hyny, fod iddynt ar y pedwerydd dydd ar hugain o fis Awst i gael eu difuddio o'u holl fywioliaethau eglwysig. Pan ddaeth y dydd pwysfawr hwnw oddiamgylch, dwy fil o weinidogion teilwng a chydwybodol, a ymadawsant â'r eglwys sefydledig, ac a gymmerasant eu rhan gydâ'r Ymneillduwyr, gan bwyso ar ragluniaeth Duw yn unig am gynnaliaeth iddynt eu hunain a'u teuluoedd. Er i lawer o honynt ddyoddef caledi, etto gofalodd Duw mor rhyfedd am danynt fel nad oes dim hanes fod un o honynt yn ngharchar am ddyled. A phaham y bwriwyd cynnifer o ddynion enwog o'r eglwys? Nid am ddrygioni, nac anffyddlondeb i'r llywodraeth; ond oblegid nid allent gydsynio â'r hyn nid oeddent yn gredu, nac addunedu yn erbyn yr hyn ag oedd yn ymddangos iddynt yn ddyledswydd. Mewn canlyniad i'r gyfraith hon, cafodd llawer o gynnulleidfaoedd lluosog eu gadael heb weinidogion, a llawer o leoedd eu gorchguddio gan dywyllwch ac anfoesoldeb; ac er fod rhai o'r gweinidogion

Dwy fil o offeiriaid yn ymadael â'r eglwys. O. C. 1662.

CANT XVII. didyol * yn fodlon pregethu am ddim, ni addefid iddynt na phregethu na chadw ysgol yn un man.[a]



Y gweinidogion didyol. 'Nid oes un hanes i neb o offeiriaid sir Fon gael eu bwrw allan o'r eglwys y pryd hyn; ac ni chafodd ond Mr. John Williams ei fwrw allan yn sir Gaernarfon. Yr oedd Mr. John Williams yn wr dysgedig ac yn bregethwr da, ond nid ymddengys fod ganddo eglwys yn y sir hono. Gwedi ei fwrw allan âi oddiamgylch a phregethai yn rhaid pa le bynag y caffai gyfleustra.'

Sir Gaernarfon.

Sir Dinbych. Dywedir i amryw o weinidogion gael eu troi allan o'u heglwysi yn sir Dinbych. Mr. William Jones, o sir Feirionydd, gwedi cael dygiad da i fynu, a ddewiswyd gan y llywodraethwr Twisleton i bregethu yn Nghastell Dinbych, ac yn nghylch y flwyddyn 1648, cafodd eglwys y plwyf. Gwedi ei ddidyo cafodd ddiogelfa gysurus gydâ Mr. Trevor, yn y Plas Teg, yn sir Fflint, yr hwn a roddodd iddo werth ugain punt y flwyddyn o dir at ei gynnaliaeth. Wedi byw yno dros lawer o flynyddoedd, efe asymudodd i Hope, lle y bu efe farw yn llawn o ddyddiau. Yr oedd Mr. Jones yn wr duwiol, dysgedig, call,

Mr. W. Jones.

* Ejected

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 624—627. Palmer's Noncon. Mem. Vol. I.

[b] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

CANT XVII.



call, a chymhedrol, ac o wynebpryd siriol. Dyoddefodd dri mis o garchar am gyflawnu dyledswydd deuluaidd yn nhy gwr boneddig gwedi iddo gael ei ddidyo. Pan ddymunodd ei wraig a'i gyfeillion arno gydffurfio oblegid ei deulu, efe a atebodd iddynt, Duw a ddarpara; ni ddaw un o honoch chwi gydâ fi i'r farn. Mr. Jones a gyfieithodd i'r Cymraeg, Gair i bechaduriaid a saint, o waith Gouge; ac hefyd, Egwyddorion y grefydd gristianogol.[a]

Mr. Taylor.

Mr. Richard Taylor a ddygwyd i fynu yn Rhydychen, ac a wnaethpwyd yn offeiriad Holt, pan oedd ond ieuanc. Gwedi cael ei ddidyo, efe a bregethodd dros flwyddyn yn yr eglwys yn rhad, trwy oddefiad. Gwedi hyny aeth i Lundain, a sefydlodd yn weinidog cynnulleidfaol yn Barking, yn Essex, lle y bu efe farw.

Mr. Roberts.

Yr oedd Jonathan Roberts, M. A. o Lanfair, gwedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen. Dywedir ei fod yn wr dysgedig, ac yn Israeliad yn wir. Gadawodd fywioliaeth dda er mwyn cydwybod, dyoddefodd yn ddystaw, a bu farw yn gysurus.

Mr. Rowlands.

Mr. Ellis Rowlands, yr hwn a ddidywyd o Ruthin, oedd ar amserau yn sir Gaernarfon, lle y cafodd ei lusgo o'r areithfa pan oedd yn pregethu. Yr oedd yn wr llafurus a theilwng, ond dyoddefodd lawer o galedi, a gorfu arno o'r diwedd ffoi i sir Gaerlleon.[b]



[a] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III. [b] Ibid.

CANT XVII.

Mr. Mostyn.

Mr. Ambrose Mostyn, oedd fab i Dr. Mostyn, o sir Fflint, a chwedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, efe a bregethodd dros ryw amser yn y Castell Coch, yn sir Drefaldwyn. Gwedi hyny daeth i sir Dinbych, ac a lafuriodd dros ychydig yn Holt, a symudodd oddiyno i Wrecsam, lle y bu hyd yr adferiad, pan gorfu arno roddi i fynu ei eglwys i'r hen offeiriad. Arglwydd Say a Seal a'i derbyniodd ef a'i wraig i'w dy, yn sir Rhydychen, ac a'i gwnaeth yn gaplan teulu, ac a ddangosodd iddo lawer o barch. Ar farwolaeth arglwydd Say a Seal, Mr. Mostyn a aeth i Lundain, lle y bu efe farw. Cyfrifid ef yn ysgolhaig da, ac yn wr gostyngedig a duwiol iawn. Yr oedd ganddo ddawn neillduol i egluro testunau anhawdd, ac yr oedd yn bregethwr mawr yn nghyfrif pawb ond efe ei hun.*

Sir Fflint

Mr. Fogg

Ar adferiad Charles yr ail, cafodd Mr. Robert Fogg, ei ddidyo o Bangor. Yr oedd efe yn wr cryf, o wynebpryd sarug, ac yspryd hy a bywiog. Yr oedd ganddo rai dychymygion neillduol, ond yr oedd yn wr enwog mewn duwioldeb. Parhaodd i fyned i'r eglwys yn Namptwich neu Acton, a phregethai yn fynych ar brydnawnau y sabbath, ac ar brydiau ereill. Dywedodd lawer ar ei wely angau am ddrwg pechod, gweddiodd yn daer am faddeuant, ac

amlygodd

* Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

amlygodd deimlad neillduol o gariad maddeuol Duw, er mawr lawenydd i'r rhai ag oedd oddiamgylch iddo. Mr. Richard Steel yr hwn a ddidywyd o Hanmere oedd wr defnyddiol, yn ysgolhaig da, ac yn bregethwr rhagorol. Efe a ddyoddefodd lawer oblegid ei anghydffurfiad, ond sefydlodd o'r diwedd yn Llundain, lle y bu hyd ddydd ei farwolaeth.[a] CANT XVII. Mr. Steel.

Mr. Phillip Henry a anwydd yn Llundain, ac a ddygwyd i fynu yn gyntaf yn ysgol Westminster, a chwedi hyny yn Rhydychen. Gan fod ei dad John Henry, § yn un o wyr y llys, treuliodd Mr. P. Henry lawer o'i febyd yn nghyfeillach Charles tywysog Cymru, a'r Duc o Yorc. Gwedi cael ei urddo efe a sefydlodd yn Worthenbury, lle y bu yn weinidog llafurus a llwyddiannus dros wyth mlynedd. Pan wnaethpwyd y gyfraith o unffurfiad, gorfu arno ymadael â Worthenbury, a daeth i Broad Oak, lle yr oedd ganddo etifeddiaeth ddigonol i'w gynnal yn gysurus. Gwedi sefydlu yn Broad Oak, efe a âi â'i deulu bob sabbath i'r eglwys, ac a bregethai yn achlysurol.[b] Mr. Henry.

Mr. Hugh Owen, o sir Feirionydd, a symudodd Sir Feirionydd. Mr. H. Owen.

[a] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

§ Yr oedd John Henry yn fab i Henry Williams, o Britton Ferry, yn sir Forganwg.

[b] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

CANT XVII.



udodd yn nghylch yr amser hyn o Rydychen i Lundain, ac yn fuan gwedi hyny a ddychwelodd i'w wlad ei hun, ac a fu byw ar ei etifeddiaeth, ac yn pregethu yn rhad i'r bobl dlodion ac anwybodus ag oedd yn y parthau hyny. Yr oedd Mr. H. Owen yn oleuni dysclaer yn y gongl dywyll hono. Pregethai mewn pump neu chwech o leoedd yn sir Feirionydd, ac hefyd mewn amrywiol o leoedd yn sir Drefaldwyn a sir Gaernarfon. Ai oddiamgylch ei gylch mewn tri mis, ac yna dechreuai drachefn. Yr oedd yn bregethwr cariadus a chyffrous, a llawer a ddeuent i wrando arno. Byddai yn gymhedrol iawn mewn bwydydd a diodydd; a'i rodiad diargyhoedd a ennillodd barch a chariad boneddigion y wlad, amryw o ba rai oeddent yn agos berthynas iddo. Cafodd lawer o waredigaethau hynod mewn attebiad i'w weddiau. Fel ag yr oedd yn dyfod adref unwaith ar noswaith dywyll iawn, fe gollodd y ffordd, ac a aeth i le peryglus. Yn y cyfyngder hwnw efe a ddisgynodd oddiar ei geffyl, ac a weddiodd ar Dduw i'w gyfarwyddo Cyn iddo orphen gweddio, y nefoedd a oleuodd uwch ei ben fel y canfu efe y ffordd yn eglur, ac y ciliodd oddiwrth y perygl. Dangosodd lawer o geredigrwydd a haelioni i dlodion ei gymmydogaeth; ac os cyfarfyddai ar ei daith â neb yn dyoddef o ddiffyg dillad, diwallai eu heisiau â'r hyn fyddai

ganddo

ganddo ei hun. Pan oedd llawer yn marw o glefyd ag oedd yn y wlad, gweiniai iddynt gydâ diwydrwydd, ac ymostyngai i gyflawnu rhyw wasanaeth angenrheidiol i'r rhai mwyaf gwael. Pan ddaliodd yr is-sirydd ef yn ei dŷ ei hun, efe a gydsyniodd i fyned gydâg ef, ond cael cenad i weddio gydâ ei deulu yn gyntaf; yr hyn a ganiatawyd iddo. Gwedi cyflwyno ei hun a'i deulu i'r Arglwydd, dywedodd y swyddog yn athrist wrtho, nad allasai efe wneuthur dim yn ychwaneg iddo, ac felly gadawodd y carcharor yn rhydd. Bu Mr. H. Owen farw yn y flwyddyn 1669.[a] CANT XVII.

Yn sir Drefaldwyn didywyd Mr. Martin Grandman, o Landyssil, Mr. Hugh Rogers, o'r Dre' Newydd, Mr. Nathaniel Ravens, o'r Trallwng, a Mr. Henry Williams, pregethwr teithiol yn mhlith y Bedyddwyr. Er i Mr. Williams gael ei analluogi i ymarferyd y weinidogaeth yn gyhoeddus, parhaodd i bregethu yn ddirgel mewn amrywiol barthau o'r sir. Yr oedd yn wr cyfiawn, yn bregethwr gwresog, ac yn fywiog dros Dduw. Yr oedd yn byw ar ei etifeddiaeth ei hun, ac yn pregethu yn rhad i bawb a'i gwrandawai. Dyoddefodd lawer o golledion a charchar er mwyn cydwybod dda. Y gelyn unwaith a losgodd dy Mr. Williams, ac a laddodd ei dad.[b] Sir Drefaldwyn.

Cafodd

[a] Palmer's Nonçon. Mem. Vol. III.
[b] Ibid. Thomas's Eccles. Hist.

CANT XVII.

Sir Frycheiniog. Cafodd y gwyr canlynol eu troi allan o'u heglwysi yn sir Frycheiniog. Mr John Edwards, o Llanfihangel Gythedin, Mr. Elias Hervey, o Partrisw, Mr. David William Propert, a Mr. Thomas Evans, o Maesmynys, Bedyddiwr, a hendadcu yr enwog Dr. Caleb Evans, yr hwn fu gynt yn athro athrofa y Bedyddwyr yn Mrysto.*

Sir Aberteifi. Trowyd allan yn sir Aberteifi y gwyr canlynol: Mr. John Evans, o Bangor, Mr. Charles Price, o Aberteifi, Mr. David Jones, o Llanbadarnfawr, Mr. Evan Hughes, o Llandyfriog, Mr. Lewis Price, o Llangunllo, Mr. Richard Davies, o Benbryn, a Mr. John Harries, o Dregaron. Yr oedd Mr. John Evans, o Bangor, yn wr ieuanc gwyllt, ac wedi bod yn halogi y sabbath yn y bore, efe a aeth i wrando pregeth yn y prydnawn, ac a gafodd ei ddychwelyd at yr Arglwydd. Mewn amser gwedi hyn cafodd ei alw i'r weinidogaeth, a'i urddo gan Bresbyteriaid. Yr oedd yn bregethwr bywiog a diwyd, a bu yn offeryn i wneuthur daioni i lawer. Efe a wasanaethodd gynnulleidfa Cellan dros lawer o flynyddoedd. David Llwyd Gwyn a gynnygodd iddo bersonaeth werthfawr os cydymffurfiai, ond nis beiddiodd gan ei gydwybod. Mr. David Jones, o Lanbadarnfawr, gwedi

* Palmer's Noncon. Mem. Vol. III. Thomas's Eccles. Hist.

gwedi colli ei eglwys a gynnaliodd ei hun a'i deulu trwy gadw ysgol, a phregethu pan gaffai gyfleustra. Dywedir ei fod yn ysgolhaig da, ac yn bregethwr llwyddiannus. Mr. Rees Powell, o Lambedr, Mr. Roderick Davies, o Lanllwchaiarn, a Mr. Thomas Evans, o'r Ystrad, gwedi eu troi allan o'u heglwysi, a gydffurfiasant drachefn.[a] CANT XVII.

Didywyd y gwyr enwog canlynol o'u heglwysi yn sir Gaerfyrddin. Mr. Stephen Hughes, o Fydrim, Mr. Wm. Jones, o Gilymaenllwyd, Mr. David Jones, o Landyssilio, Mr. James Davies, o Ferthyr, Mr. David Price, o Langunnwr, Mr. John Powell, o Langendeirn, a Mr. Meredyth Davies, o Lanon. Yr oedd Mr. Stephen Hughes, yr hwn a drowyd allan o eglwys Mydrim, yn wr o dref Caerfyrddin. Gwedi ei ddidyo, efe a briododd ddynes dduwiol o Abertawe, gwaddol, cynnildeb, a diwydrwydd pa un a'i cynnorthwyodd i fyw yn gysurus, a bod yn ddefnyddiol. Dywedir fod Mr. Hughes yn bregethwr goleu, trefnus, a serchiadol, a'i fod yn gosod llawer o bwys ar bethau mawrion a sylweddol crefydd. Anaml y pregethai heb dywallt dagrau. Dewisai fyned i'r conglau mwyaf tywyll, ac i'r lleoedd lle yr oedd offeiriaid anwybodus na fedrent bregethu. Yr oedd Sir Gaerfyrddin.



[a] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

CANT XVII.



gwyr mawrion y wlad yn ei hoffi oblegid ei gymhedroldeb, a'i ddull bywiog, a thrwy ei goddefiad hwynt, yr oedd yn pregethu yn aml yn yr eglwysi, y rhai a lanwyd o wrandaw-wyr o'r plwyfau cymmydogaethol. Pregethai yn gyffredin ddwy waith bob sabbath, a thrafaelai wyth neu ddeng milldir rhwng pob pregeth. Er nad oedd ei ardreth ond bach, yr oedd yn haelionus, ac efe a argraffodd lawer o lyfrau Cymraeg, er budd i'r Cymry. Er ei fod yn ddidramgwydd yn ei fuchedd, anfodlonodd yr offeiriaid ei fod yn myned oddiamgylch i bregethu, a thraddodasant ef i'r awdurdod gwladol, a chafodd ei osod yn ngharchar Caerfyrddin. Ond gwelodd Duw fod yn dda i'w ddwyn i rydd-did mewn ffordd annysgwyliadwy. Cymmaint oedd ei gariad at eneidiau, fel yr arferai lefaru wrth ddynion a gyfarfyddai âg ef yn ddamweiniol, yn nghylch eu cyflwr tragywyddol, a Duw a'i gwnaeth yn offeryn i ddychwelyd llawer. Efe, mae yn debygol, fu yn offeryn i ddechreu y rhan fwyaf o'r hen gynnulleidfaoedd yr Ymneillduwyr oddiamgylch i Gaerfyrddin ac Abertawe. Mr. Wm. Jones, o Gilymaenllwyd, gwedi ei ddidyo, a gafodd ei garcharu bedair blynedd yn ngbastell Caerfyrddin, lle y cyfnewidiodd ei farn yn nghylch bedydd. Gwedi ei ryddhau o garchar, efe a gafodd ei fedyddio trwy drochiad; ac efe oedd yr hwn a ddechreuodd eglwys y

Carcharu Mr. S. Hughes.

Mr. W. Jones.

Bedyddwyr

Bedyddwyr yn Rhydwylim, yn y flwyddyn 1668. Yr oedd Mr. David Jones, o Landysilio, yn wr Llafurus, ac efe a gymmerodd boen mawr i argraffu a thaenu Biblau Cymraeg, a llyfrau ereill trwy y wlad; ond cyfarfu â llawer o wrthwynebiadau wrth ymdrechu gwneuthur daioni. Dywedir fod Mr. James Davies, o Ferthyr, yn wr gostyngedig a diwair, yn ysgolhaig da, ac wedi ei urddo yn rheolaidd. Bu Mr. D. Jones, o Landysilio, Mr. J. Davies, o Ferthyr, a Mr. Meredyth Davies, o Lanon, yn gynnorthwywyr i Mr. S. Hughes, dros rai blynyddoedd, yn neillduol yn eglwys Llanedi. Gwedi hyny symudodd Mr. M. Davies i Frowyr, a Mr. J. Davies a wnaethpwyd yn weinidog i eglwysi yr Independiaid, yn y parthau isaf o sir Aberteifi, a'r parthau uchaf o sir Benfro. Yr oedd Mr. J. Davies yn ei bregethau yn sylweddol, eglur, a serchiadol, ac o fendith fawr i lawer. Dyoddefodd gystuddiau yn amyneddgar, a bu farw yn gysurus.[a] CANT XVII.

Bwriwyd allan yr offeiriaid canlynol yn sir Forganwg. Mr. Joshua Miller, o St. Andras, Mr. Jenkin Jones, o Langatwg, Mr. Thomas Proud, o Cheriton, Mr. Edmund Ellis, o St. Ffagan, Mr. Howell Thomas, o Glyncorrwg, Mr. Sir Forganwg.



[a] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III. Llyfr eglwys Lanedi.

CANT XVII.



Mr. John Miles, * o Ilston, Mr. Morgan Jones, o Lanmadog, Mr. Henry Williams, o Lantrisaint, Mr. William Thomas, o Lanfair, Samuel Jones, M. A. o Langunnwyd, John Powell, M. A. o Landathan, Daniel Higgs, M. A. o Rosily. Mr. Marmeduke Mathews, o eglwys Ieuan, yn Abertawe, a Mr. John French, o Gwenvo. Gwr o sir Dinbych oedd yr enwog Samuel Jones, M. A. a drowyd allan o Langunnwyd. Yr oedd gwedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, ac wedi bod yn athraw yno dros lawer o flynyddoedd. Yr oedd yn Philosophydd da, yn ddysgedig iawn yn y ieithoedd, ac yn bregethwr defnyddiol rhagorol. Dywedir ei fod hefyd yn gristion llariaidd, gostyngedig, cariadus, a heddychol. Dr. Loyd, esgob Llandaf, a wnaeth lawer o gynnygiadau iddo, pe buasai yn cydffurfio. Mr. Jones a osododd athrofa † i fynu yn Brynllwarch, lle y dygwyd i fynu lawer o wyr enwog. Gwedi i John Powell, M. A. gael ei droi allan o Landathan, cafodd gynnyg ar un o ddau le gan Dr. Loyd, esgob Llandaf, pe buasai yn cydffurfio, ond nis gwnaeth. Parhaodd i bregethu yn y Casnewydd ar Wysg, a'r wlad oddiamgylch, lle

Mr. S. Jones, Llangunnwyd.

* Bedyddiwr oedd Mr. Miles, ac wedi ei ddidyo efe a aeth i Loegr Newydd, yn America, ac a sefydlodd yn Boston.

† Dyma yr athrofa gyntaf a fu gan yr Ymneillduwyr yn Nghymru.

lle y caffai gyfleustra, ac a ddyoddefodd lawer. CANT XVII.
Gan fod Independiaid yn Nghasnewydd ar Wysg y pryd hyn, tebygol yw, mai yn eu plith hwynt yr oedd Mr. Powell yn llafurio. Yr oedd Mr. Powell yn wr llariaidd, hunan-ymwadol, ac yn bregethwr serchiadol. Independiaid yn Nghasnewydd.
Daniel Higgs, M. A. oedd wr o Gaerwrangon, a phan gafodd ei droi allan o Rosili, gorfu arno, oblegid ffyrnigrwydd y werin, adael ei dy, a'i wraig, a saith o blant, a ffoi at ei dad i sir Gaerwrangon. Dywedodd ei dad wrtho nas gallasai ddim dysgwyl na chynnorthwy nac annogaeth oddiwrtho ef, oddieithr iddo gydffurfio. Attebodd yntau mai gwell oedd ganddo ymddiried ei hun a'i deulu i ragluniaeth na chydffurfio yn groes i'w gydwybod. Gwedi myned o'r ystorm heibio, a chladdu Mr. Stephen Hughes, cafodd Mr. Higgs ei ddewis yn weinidog cynnulleidfa yr Ymneillduwyr yn Abertawe a'r Frowyr, lle y bu dros lawer o flynyddoedd. Dywedir fod Mr. Higgs yn ysgolhaig da, yn bregethwr call, ac yn athraw gwyliadwrus. Mr. Higgs.
Mr. Marmaduke Mathews, yr hwn a ddidywyd o eglwys Ieuan, yn Abertawe, a adawodd fywioliaeth dda er mwyn cydwybod, er nad oedd ganddo ddim arall i fyw arno. Yr oedd yn wr duwiol a selog iawn, ac yn myned i hyfforddi y bobl o dŷ i dŷ; ac yr oedd yn hynod o ysbrydol yn ei holl ymddiddanion, yn byw uwchlaw y byd, ac yn ymddibenu Mr. Mathews.

CANT XVII. yn hollol ar ragluniaeth am ei gynnaliaeth ei hun a'i deulu, Mr. French, yr hwn a'drowyd allan o Gwenvo, oedd wr o Gaerdydd, ac wedi ei ddirdyo, ymarferodd physygwriaeth yn y dref hono gydâ llawer o lwyddiant. Dywedir ei fod yn ysgolhaig da, ac yn bregethwr pwysfawr, ond yn ddiffygiol yn ei barabl. Yr oedd Mr. George Seal yn bregethwr yn y sir hon, ac yn ysgolfeistr yn Nghaerdydd cyn i'r gyfraith o unffurfiaid gael ei gwneuthur. Wedi hyny sefydlodd yn weinidog yn Marsfield, yn sir Gaerloyw. Mr. Robert Thomas, o Lanfaglan, Mr. Jacob Christopher, o Lanfawdlen, a Mr. David Davies, o Gastell Nedd, oeddent yn bregethwyr cyhoeddus, fel rhai yn sefyll am urddau cyn i'r gyfraith o unffurfiad gymmeryd lle; ac a barâusant yn anghydffurfwyr.[a]

Mr. Seal.

Sir Fynwy. Didywyd y gweinidogion canlynol yn sir Fynwy. Mr. Abbot, o'r Fenni, Mr. Robinson, o Gaerlleon, Mr. Rogers, o Gaerwent, Mr. Owen Morgan, o Lanferin, Mr. Robins, o Langattwg, Mr. Williams, o Lanfaplu, a Mr Thomas Barnes, o Magwyr. Cafodd Mr. Barnes ei anfon o Lundain i bregethu yr efengyl yn Nghymru; ac wedi ei ddystewi, bu fyw yn Nghaerlleon, ac yn gweinidogaethu i eglwys ag oedd yn cyfarfod mewn amryw fanau yn y gymmydogaeth. Mr. Nicholas

[a] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

CANT XVII.

Nicholas Cary, gwedi ei ddidyo o Dre' Fynwy, a aeth i Lundain, lle y bu efe byw wrth ymarferyd physygwriaeth. Yr oedd Mr. Henry Walter, yr hwn a ddidywyd o Gasnewydd ar Wysg, yn un o'r pregethwyr teithiol yn Nghymru. Gwedi troi Mr. Walter Prosser, yr hwn oedd Fedyddiwr, allan o eglwys tref Rhedynog, efe a bregethodd yn Lantrisaint, Llangwm, Tredynog, ac Olchon. Yr oedd Mr. Watkin Jones yn gynnorthwywr i Mr. Henry Walter, a chafodd ei ddewis yn weinidog i gynnulleidfa o Ymneillduwyr yn y parthau hyny ar farwolaeth Mr. Henry Walter.[a]

Sir Benfro. Mr. Peregrine Phillips.

Mr. Peregrine Phillips, o sir Benfro, oedd fab i hen weinidog duwiol yn mhlith y Puritaniaid. Cafodd ei ddwyn i fynu yn gyntaf yn ysgol Hwlffordd, gwedi hyny yn Brampton Bryan, yn sir Henffordd. Oddiyno aeth at Dr. Thomas, a fu gwedi hyny yn esgob Ty Ddewi; ac oddiwrtho ef aeth i athrofa Rhydychen. Arosodd yn Rhydychen nes iddo gael ei yru ymaith gan y rhyfel cartrefol. Gwedi ymadael â Rhydychen, efe a wasanaethodd eglwys Cydweli, yn sir Gaerfyrddin, dros ryw amser fel curad i'w ewythr Dr. Collins. Pan wybu Syr Hugh Owen, Syr Roger Lort, a Syr John Meyrick, fod Mr. P. Phillips yn wr ieuanc o alluoedd da, rhoddasant iddo eglwys Mounton, yn

[a] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

CANT XVII.



yn agos i Benfro; a chwedi hyny St. Mary's a Chosheston, y rhai a gyfrifid y bywioliaethau goreu yn y sir. Yr oedd Mr. Phillips yn pregethu dair gwaith bob sabbath, sef unwaith yn mhob un o'i eglwysi, ac efe a wnaeth lawer o ddaioni. Cyfrifid ef y pregethwr goreu yn y cymmydogaethau hyny. Pan oedd Oliver Cromwell yn gwarchae tref Penfro, yr oedd Mr. Phillips yn agored i lawer o beryglon, ond parhaodd i lafurio yn mhlith ei bobl, a chafodd ei waredu yn rhyfedd. Pan glybu Cromwell ei glod, anfonodd am dano i bregethu yn un o'i eglwysi ger bron swyddogion ei lu, yr hyn a wnaeth gydâ llawer o fodlonrwydd iddynt oll. Pan oedd llynges yn gorwedd yn Aberdaugleddau mewn bwriad i fyned i ddarostwng yr Iwerddon, Cromwell a wnaeth i Mr. Phillips i weddio yn mhob un o'r llongau cyn iddynt hwylio. Gwedi hyny efe a bregethodd yn Saesneg a Chymraeg yn mron yn mhob eglwys yn y sir, ac hefyd o flaen y barnwyr pan ddeuent i Aberteifi, Caerfyrddin, a Hwlffordd. Fel ag yr oedd yn un o'r dirprwywyr, bu yn offeryn i gadw llawer o weinidogion teilwng yn eu lleoedd. Ond pan adferwyd y brenin Charles, cafodd Mr. Phillips ei droi allan o'i eglwysi, ac a aeth i fyw i le a elwid Dredgmanhill, yn ddeiliad i Syr Herbert Perrot, yr hwn a fu yn gyfaill mawr iddo yn y trallodau a gyfarfu efe wedi hyny â hwynt.*

Poblogrwydd Mr. Phillips.

Cafodd

* Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

CANT XVII.

Cafodd Mr. John Luntley ei droi allan o Lanystudwal a Nolston, ac wedi ei ddidyo, bu yn gynhorthwywr cymmeradwy i Mr. P. Phillips yn nghynnulleidfa Hwlffordd Didywyd Mr. Morgan Thomas, o Marthri, Mr. John Bywater, o Benfro, a Mr. John Carver, o Dinbych, ond nid oes dim hanes beth a ddaeth o honynt gwedi hyny.[a]

Sir Fynwy. Mr. Weaver.

Yr oedd John Weaver gwedi cael ei eni yn agos i Ludlow, a'i ddwyn i fynu yn Rhydychen, neu Gambridge. Gwedi ei holi a'i gymmeradwyo gan y dirprwywyr yn y flwyddyn 1653, anfonasant ef i Dre' Fynwy, o ba le y didywyd ef yn y flwyddyn 1660. O Dre' Fynwy efe a symudodd i Kell, lle yr arosodd dros ddwy flynedd. Gwedi pregethu dros ychydig amser yn y parthau hyny, efe a sefydlodd yn Henffordd, lle y bu hyd ddydd ei farwoloeth. Yr oedd yn wr cyfrifol, ond yn cael ei ystyried yn rhy lym gan rai. Cyfarfu â chynnifer o anhawsderau fel y gorfu arno werthu rhan o'i etifeddiaeth i gynnal ei deulu. Ond Duw a wnaeth ei holl golled ef i fynu, trwy i'w ferch briodi un Mr. Jones, yr hwn oedd wr cyfoethog, ac yn ewyllysio trosglwyddo ei gyfoeth i deulu Mr. Weaver yn y ffordd mwyaf anrhydeddus. Yr oedd gan Mr. Weaver ddwy ferch, a phriododd un o honynt ei ysgolhaig Mr. Jones, yr



[a] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

CANT XVII.



hwn fu yn athraw enwog yn Tewkesbury,* a than ba un y cafodd esgob Benson, archesgob Secker, Dr. Chandler, a difynyddion enwog ereill, eu dwyn i fynu.*

Presbyteriaid ac Independiad oedd y rhan fwyaf o'r gweinidogion didyol, ond yr oedd rhai Bedyddwyr yn eu plith. Mae yn debygol i rai o weinidogion y Bedyddwyr yn amser y Tanwyr ddewis aros gydâ eu cymmulleidfaoedd, yn hytrach nâ chymmeryd gofal plwyfau arnynt. Ni ddidywyd mo'r rhai hyny yn ganlynol, pan gwnaethpwyd y gyfraith o unffurfiad. Yn mhlith y cyfryw, yr oedd y gwyr canlynol: Mr. Robert Morgan, yr hwn fu yn byw dros lawer o flynyddoedd yn Llandilo-tal y-bont, yn sir Forganwg; Mr. Lewis Thomas, o'r Moor, yn mhlwys Tref Newydd yn Notais; Mr. Thomas Jones; gweinidog Hengoed; a Mr. William Prichard, Dr. Christopher Price, a Mr. Francis Gibs, y rhai oedd yn byw yn, neu yn agos i'r Fenni. Yr oedd Mr. Richard Davis, o'r Trallwng, Mr John ab John, a Mr. Thomas Ellis, yn lefarwyr enwog yn mhlith y Crynwyr yr amser hyn, ac a ddyoddefasant lawer er mwyn cydwybod. Cynnyddodd eu hachos hefyd

Crynwyr

mewn

* Ar farwolaeth Mr. Jones symmudwyd yr athrofa o Tewkesbury i Gaerfyrddin, lle y mae yn bresennol.

* Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

CANT XVII.

mewn amrywiol barthau o Gymru yn y blynyddoedd erledigaethus hyn.*

Gwedi didyo cynnifer o weinidogion ffyddlon o eglwys Loegr, oblegid nas gallasent gydagweddu yn gydwybodol â'i holl ddefodau, yn lle goddef iddynt bregethu lle y rhoddid annogaeth iddynt, cawsant eu caethiwo fwy-fwy. Gwnaethpwyd cyfraith y flwyddyn hon, fod i bob un uwchlaw unarbymtheg oed, ag a fyddai yn bresennol mewn unrhyw gyfarfod crefyddol lle y byddai pump o ddynion heblaw y teulu, am y trosedd cyntaf, gael dyoddef tri mis o garchar, neu dalu pum punt; am yr ail, chwech mis o garchar, neu dalu deg punt; am y trydydd trosedd, saith mlynedd o alltudiaeth, neu dalu cant punt; ac os dychwelai neu ddianc, fod iddo ddyoddef marwolaeth. Y flwyddyn ganlynol gwnaethpwyd cyfraith i beri i holl weinidogion yr Ymneillduwyr i wneuthur eu llw, na fyddai iddynt byth gymmyg unrhyw gyfnewidiad yn yr eglwys na'r wladwriaeth. Ac os na chymmerent y cyfryw lw, nad oeddent i ddyfod o fewn i bum milldir i unrhyw ddinas na fwrdreisdref, nac i un man lle y buasent o'r blaen yn gweinidogaethu ynddo, na chwaith i gadw ysgol, dan berygl o dalu deugain punt. Dyoddefodd yr Ymneillduwyr lawer o galedi mewn canlyniad i'r

O. C. 1664. Conventicle Act.

Cyfraith y pum milldir.



* Thomas's Eccles. Hist.

CANT XVII. 

i'r cyfreithiau hyn. Gwrthododd y corph o weinidogion gymmeryd y llw, gan ddewis yn hytrach i fadael â'u hnneddau, a'u perthynasau, a'u cyfeillion, yn nghyd â phob cynnorthwy gwledig, nâ chlwyfo eu cydwybodau.[a]

Marwolaeth Dr. Mansel. O.C. 1665.

Y flwyddyn hon y bu farw Dr. Francis Mansel, trydydd mab Syr Francis Mansel, o Muddlescomb, yn sir Gaerfyrddin. Dr. Mansel, gwedi bod dros rai blynyddoedd yn ysgol Henffordd, a aeth i athrofa Rhydychen; ac ar farwolaeth Mr. Griffin Powell, penog Cymdeithas Iesu, yn Rhydychen, cafodd ei ddewis yn benog yn ei le ef. Bu Dr. Mansel yn ddefnyddiol iawn yn y sefyllfa hono. Yn amser y rhyfel cartrefol efe a giliodd i Gymru, ac a gartrefodd yn Llantrythyd, tŷ ei berthynas Syr John Aubrey. Gwedi dyoddef llawer o anmharch gan ei elynion, efe a ddychwelodd i Rydychen, ac ar adferiad Charles yr ail cafodd yntau ei adferu i'w sefyllfa yn yr athrofa, lle y bu yn ddefnyddiol hyd ddydd ei farwolaeth.[b]

Dr. Morgan esgob Bangor. O. C. 1666.

Ar farwolaeth Dr. William Roberts, esgob Bangor, Dr. Robert Morgan, o sir Drefaldwyn, yr hwn a ddygasid i fynu yn Rhydychen, a gysegrwyd yn esgob yn ei le ef.[c] Y flwyddyn ar ol

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 649—654.

[b] Cam. Reg. Vol. II. p. 252—262. [c] Brown Willis.

ol hon y bu farw Robert Vaughan, Yawain, o Hengwrt, yn sir Feirionydd. Yr oedd y gwr hwn yn hynafiaethydd enwog; ond ni chyhoeddodd efe ond un llyfr bychan dan yr enw Hynafiaethau Brytanaidd gwedi eu hadfywio. Efe a ffurfiodd gasgliad ardderchog o hen ysgrifenadau Brytanaidd, llawer o ba rai sydd etto yn Hengwrt.[a] Yr un flwyddyn hefyd y bu farw y duwiol a'r dysgedig Dr. Lloyd esgob Llandaf, a Dr. G. Griffith, esgob St. Asaph. Dr. Francis Davies a gyssegrwyd yn esgob Llandaf yn lle Dr. Lloyd, a Dr. Henry Glemham a gyssegrwyd yn esgob St. Asaph yn lle Dr. Griffith.[b]

CANT XVII.

O. C. 1667.

Amlwg yw fod Ymneillduwyr cymmysgedig o Independiaid a Bedyddwyr yn y Mynyddyslwyn, yn sir Fynwy, oyn amser y Tanwys; oblegid trefnwyd rhai o aelodau eglwysi Llanfaches a Mynyddyslwyn i fod yn bregethwyr teithiol, pan drowyd offeiriaid anghymmwys i'r weinidogaeth, allan o'u heglwysi. Yr oedd eglwys Mynyddyslwyn y pryd hyn dan ofal gweinidogaethol Mr. Watkin Jones, ac yn cyfarfod yn y Gelli'r Crug, yn mhlwyf Blaenau Gwent. Dywedir fod yno ddeg ar hugain o aelodau y pryd hyn, ond na chynnyddodd yr eglwys ond ychydig yn amser Mr. Jones.[c] Gwedi Mr. Mostyn ymadael â Gwrecsam, yr Ymneillduwyr yn

Eglwys Mynyddyslwyn. O. C. 1668.

[a] Cam. Biog. [b] Brown Willis. [c] Llythyr Mr. Thomas.

CANT XVII. yn y dref hono a ymranasant, ac a ffurfiasant eu hunain yn ddwy eglwys; un yn Bresbyteriaid, a'r llall yn Independiaid a Bedyddwyr. Y flwyddyn hon Mr. John Evans, o Great Sutton, yn agos i Ludlow, yr hwn a ddygasid i fynu yn Rhydychen, ac a gawsai ei ddidyo o Groesyswallt, a sefydlodd yn weinidog yr Independiaid a'r Bedyddwyr yn Wrecsam, lle y bu hyd ddydd ei farwolaeth. Dyoddefodd lawer o erledigaeth a chaledi, ond yr oedd mor wyliadwrus fel na chafodd ei ddal ond unwaith, a'r pryd hyny cafodd ei ryddhau yn fuan trwy gyfrwng gwr anrhydeddus a gymmerodd ei blaid ef. Efe oedd tad Dr. J. Evans, awdwr y pregethau ardderchog hyny ar dymher gristianogol.[*]

Mr. Evans, o Wrecsam

Dr. Barrow. O. C. 1669.

Ar farwolaeth Dr. Glemham, cafodd Dr. Isaac Barrow ei drosglwyddo o esgobaeth Isle of Man i St. Asaph. Yr oedd Dr. Barrow yn wr duwiol a dysgedig, ac yn ysgrifenydd da. Efe a adgyweiriodd yr eglwys gadeiriol, a'r palas esgobaethol yn St. Asaph, ac a adeiladodd elusen-dŷ i wyth o wragedd gweddwon tlodion, ac a'i cynnysgaeddodd â deuddeg punt yn y flwyddyn.

Er mor derfysglyd oedd yr amseroedd hyn, ac er cymmaint yr erlidid ar yr Ymneillduwyr, yr oedd eu hachos yn myned ar gynnydd yn y rhan amlaf o siroedd Cymru. Yr oedd llawer



[*] Richard's Life of J. Evans.

o honynt y pryd hyn oddiamgylch i Dinbych, ac ar gyffiniau sir Fflint, dan ofal gweinidogaethol Mr. William Jones. Yr oedd cynnulleidfa yr Independiaid a'r Bedyddwyr yn Wrecsam, dan ofal gweinidogaethol Mr. John Evans ac ereill; ac yn Nghroesyswallt, ac ar gyffiniau sir Dinbych, dan ofal Mr. Nevet, yr hwn oedd wr duwiol, diwyd, a diargywedd, wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, a'i ddidyo o eglwys Croesyswallt. Dywedir fod Mr. Henry Williams yn weinidog eglwys Mr. V. Powell yn y Dre' newydd; a bod llawer o Ymneillduwyr oddiamgylch i Llanfylling, Tre' newydd, Llanbrynmair, a lleoedd ereill, yn sir Drefaldwyn, dan ei ofal ef yn benaf. Yn sir Feirionydd ac ar gyffiniau sir Drefaldwyn, a sir Gaernarfon, yr oedd llawer o Ymneillduwyr dan ofal Mr. Hugh Owen. Yr oedd llawer o gynnulleidfaoedd yn sir Aberteifi y pryd hyn dan ofal amrywiol o weinidogion. Mae yn debygol fod Mr. James Davies a ddidywyd o Ferthyr, yn sir Gaerfyrddin, yn gwasanaethu cynnulleidfa Tirllwyd yn mhlwyf Llangoedmoer y pryd hyn; a bod Mr. John Evans a ddidywyd o Bangor, yn weinidog cynnulleidfa Cellan. Yr oedd Mr. D. Jones, o Lanbadarnfawr, Mr. E. Hughes, o Landyfriog, Mr. John Hanmer, a Mr. Roderick Thomas, hefyd yn llafurus iawn yn y sir hon, er cynddrwg oedd yr amseroedd. Bernir fod amryw o Ymneillduwyr y pryd

CANT XVII.

Ymneillduwyr trwy Gymru.

Sir Dinbych.

Sir Fflint.

Sir Drefaldwyn.

Sir Feirionydd.

Sir Aberteifi.

CANT XVII.

Sir Benfro.

pryd hyn oddiamgylch i Benfro, Hwlffordd, a Threfgarn, yn sir Benfro, dan ofal Mr. Peregrine Phillips, a'i gynnorthwywyr Mr. James Davies, Mr. John Luntley, ac eraill. Bu dadl rhwng Mr. P. Phillips a Dr. Reynolds, yn Nghaerfyrddin, yn nghylch defodau a dysgyblaeth yr eglwys; ac un arall rhyngddo ef a'i hen athraw, esgob Thomas, yr hyn a gafodd ei argraffu gan yr esgob yn groes i feddwl Mr. Phillips. Pan gwnaethpwyd cyfraith y pum milldir, cafodd Mr. Phillips ei erlid, a chymmerwyd llawer o'i anifeiliaid ef ymaith trwy orchymyn Mr. Howard yr uchel sirydd, yr hwn ar ei wely angau a geisiodd faddeuant gan Mr. Phillips, ac a'i cafodd yn hawdd iawn; ond ni ddychwelwyd yr anifeiliaid. Cafodd ei gymmeryd i fynu drachefn a'i wneuthur yn garcharor, yn nghanol y cynhauaf, heb neb ganddo i drefnu ei dyddyn, ond ei wraig, a chanddi bump o blant bychain, ac ychydig iawn o weision. Gwedi bod yn garcharor ddau fis, efe a aeth yn glaf, a chafodd ei ryddhau gan y dirprwywyr. Anfonodd Syr H. Perrot ei gerbyd i'w ddwyn ef i'w dy ei hun, lle y bu yn glaf yn hir mewn twymyn, a'i physygwyr a'i rhoddasant ef i fynu. Ond y cristianogion yn y parthau hyny a gadwasant ddydd o ympryd a gweddi o'i achos ef: a gwelodd Duw fod yn dda i wrando arnynt, a'i adferu ef mewn ffordd rhyfeddol. Cafodd ei garcharu yr

Trallod Mr. P. Phillips.

ail

nail waith am gadw cyfarfod yn ei dŷ. Pan ddaeth y Barnwyr, ac esgob Thomas i Hwlffordd, gwnaethant lawer o gynnygiadau iddo os cydymffurfiai; ond pan na allent lwyddo, hwy a'u rhyddhausant ef. Er hyny cafodd ei drallodi trwy ddirwyon a herwriaeth, canys ni adawai efe heibio bregethu yn ei dŷ, na llafurio yn mhlith ei bobl gwedi nos. Cymmaint oedd ei gariad ef at Dduw, ac eneidiau dynion, fel ag yr oedd yn pregethu i'r bobl ag oedd yn dyfod ato hyd y nod pan oedd yn y carchar.* CANT XVII.

Yr oedd llawer o Ymneillduwyr yn sir Gaerfyrddin dan ofal Mr. S. Hughes, Mr. D. Jones, Mr. W. Jones, Mr. Meredyth Davies, a Mr. Rees Prydderch, ac ereill. Mr. Stephen Hughes oedd yn gweini yr ordinhadau y pryd hyn y'nghynnulleidfa Llanedi, || a byddai Mr. D. Jones, Mr. Meredyth Davies, a Mr. J. Davies yn ei gynnorthwyo ef. Pan oedd Mr. S. Hughes yn pregethu yn y Wern-whith ar ddydd gwyl, Mr. David Penry, o Blas Llanedi, yr hwn

Sir Gaerfyrddin.

Llanedi.



* Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

|| Yr oedd eglwys Llanedi yn cyfarfod y pryd hyny yn y Wern-whith, yn mhlwyf Llanon; ac ar brydiau yn Cribyn Walter, yn mhlwyf Llanelli; byddid yn pregethu hefyd yn Llwydgoedfawr, ac yn Penderi March, ac yn y Pandybach dan allt Troserch, ac yn y coedydd oddiamgylch liw nos, oblegid yr erledigaeth.

CANT XVII.



hwn a ddygasid i fynu gydâ bwriad i fod yn offeiriad, a aeth i'w wrando ef. Yr oedd Mr. Penry yn wr tàl, ac o ymddangosiad boneddigaidd a hardd, ond yn anadnabyddus i Mr. Hughes. Pan welodd Mr. S. Hughes ef yn dyfod i mewn tybiodd mai swyddog gwladol oedd yn dyfod i'w ddal a'i gymmeryd i garchar. Gwedi gorphen yr addoliad, aeth Mr. Penry yn mlaen at Mr. Hughes, ac a ymaflodd yn ei law. Syr, ebe Mr. Hughes, yr wyf yn gobeithio nad ydych yn fy nal i'm gwneuthur yn garcharor. Nac wyf, fy anwyl Syr, ebe Mr. Penry, ond chwi a'm daliasoch i. O hyny allan glynodd Mr. Penry wrth wrando, ac a unodd â'r gynnulleidfa yn y Wern-whith, a bu yn weinidog enwog gwedi hyny. Yr oedd Mr. S. Hughes yn pregethu ac yn gweini yr ordinhadau yn Penbwch, i'r eglwys ag sydd yn awr yn y Panteg; ac hefyd yn ogof Cwmhwplin, i'r eglwys sydd yn awr yn cyfarfod yn Pencader. Fel ag yr oedd yn myned ar ddydd Llun y Pasg o Abertawe i ogof Cwmhwplin i bregethu, gwelodd lawer o bobl yn dawnsio yn agos i Bantyblawd yn mhlwyf Llanegwad. Gwedi edrych ychydig arnynt, efe a alwodd ar eu blaenor, ac a ddywedodd wrtho, Deuwch gyda fi dros y mynydd a chwi gewch amgen camp nag sydd genych chwi yna. Pan glybu hyny, gadawodd ei gyfeillion a dilynodd Mr. Hughes. Gwedi dyfod i ogof Cwmhwplin, synodd

Panteg.

Cwmhwplin.

synedd wrth weled cynnifer o bobl gwedi dyfod yn nghyd; a chyn diwedd y bregeth cafodd ei argyhoeddi a'i ddychwelyd at yr Arglwydd, a bu yn gristion enwog o hyny allan. Mr. Owen Davies a Mr. John James oeddent gynnorthwywyr i Mr. Hughes, yn eglwys Pencader, tra bu efe byw. Yr oedd Mr. S. Hughes, yn pregethu hefyd yn Nghaerfyrddin, ac yn Llanybri; ac yr oedd Mr. David Owen, a Mr. William Lloyd o Ddolwlff, yn gynnorthwywyr idde yn eglwys Llanybri. Byddai Mr. S. Hughes yn pregethu a gweini yr ordinhadau i ychydig o gristianogion ag oedd y pryd hyny yn cyfarfod yn Cefenfarchen a'r Pâl; y rhai a symudasant gwedi marwolaeth Mr. Hughes i Henllan.[a] CANT XVII. Henllan.

Yr oedd rhai o aelodau eglwys Cefenfarchen a'r Pâl, yn byw yn mhlwyf Trelech ar Bettws, a chydâ golwg ar eu budd eu hunain a'r gymmydogaeth, gosodasant addoliad i fynu mewn tŷ bychan gerllaw y Dinas, lle y bu llawer o wyr enwog yn pregethu, ac yn mhlith ereill Mr. S. Hughes. Dyma ddechreuad yr eglwys luosog ag sydd yn awr yn cyfarfod yn Nghapel y graig, yn mhlwyf Trelech ar Bettws.[b] Trelech.

Yn ol dyddiau Mr. Evan Bowen, o Lanafanfawr, cyfododd Mr. David Williams,* o Gefengwaelod,



[a] Llyfr eglwys Llanedi. [b] Llythyr Mr. Jones.

* Yr oedd Mr. D. Williams yn hen-dadcu i'r diwedd

CANT XVII.

Troedrhywdalar. Llanwrtyd.

engwaelod, Mr. Evan Thomas, o Danybwlch, a'i frawd Mr. James Thomas, yn bregethwyr defnyddiol yn y cynnulleidfaoedd ag sydd yn awr yn cyfarfod yn Troedrhywdalar a Llanwrtyd. Yr oedd Mr. D. Williams a Mr. E. Thomas yn cadw cyfarfodydd yn eu tai eu hunain; a thalodd Mr. D. Williams bum pump o ddirwy unwaith am hyny. Gorfu arnynt hefyd gladdu llawer o'u meirw yn agos i Danybwlch yn yr amser gofidus hyn, oblegid na ddyoddefid iddynt i'w claddu yn eglwys y plwyf. Yr oedd yr enwog Mr. Rees Prydderch, † o Ystradwalter, gerllaw Llanymddyfri, yn pregethu yn fynych y dyddiau hyny yn Nghastellcraigwyddon i'r eglwys ag sydd yn awr yn cyfarfod yn Cefenarthen, ac ereill a ddeuai i'w wrando. A chymmaint oedd syched y bobl am y gwirionedd, fel ag yr oedd llawer yn myned gwedi nos o Lanwrtyd i wrando Mr. Prydderch yn Nghastellcraigwyddon. Yr oedd Mr Prydderch hefyd yn ymweled â Throedrhywdalar a Llanwrtyd, ac yn pregethu yn aml yn Llwyncys, tŷ o'i eiddo ei hun rhwng y ddau le uchod; a chyfododd Mr. D. Jones, o'r Cribart,

Cefenarthen.

Cwmhwplin.

Mr. Thomas Jones, o Danyrallt, yr hwn oedd wr deallus mewn pethau gwladol a chrefyddol, ac yn aelod defnyddiol iawn yn Troedrhywdalar.

† Mae Mr. Rees Prydderch, Llaw-feddyg, o Gaerfyrddin, yn fab i orwyr Mr. Rees Prydderch, o Ystradwalter.

art, § Mr. John Jones, o Cwmcamarch, a Mr. Rees James, o Lety'refel, yn bregethwyr defnyddiol yn yr eglwysi hyny yn nyddiau Mr. R. Prydderch.[a] Dywedir fod llawer o dduwiolion yr amser hyn oddiamgylch Aberhonddu, Talgarth, a'r Gelly, y rhai nid oeddent yn cydymffurfio âg eglwys Loegr, a bod Mr. Rees Prydderch, a Mr. Henry Maurice, yn gweinidogaethu iddynt. Yr oedd y bobl hyn yn gymmysgedig o Bresbyteriaid a Bedyddwyr, ond yn cydwrando ac yn cydgymuno â'u gilydd. Ychydig o amser gwedi i'r erledigaeth fyned heibio, ymranasant, er mwyn eu cyfleustra, i Faesyronen, Tredustan, Gwenddwr, Trosgoed, a lleoedd ereill.[b] Yr oedd llawer o Ymneillduwyr mewn lleoedd ereill yn sir Frycheiniog, dan ofal Mr. T. Watkins, Mr. T. Parry, Mr. T. Evans ac ereill.[c] Eglwysi yr Ymneillduwyr yn sir Forganwg oeddent dan ofal gweinidogaethol Mr. Samuel Jones, Mr. Daniel Higgs, Mr. Marmaduke Mathews, Mr. W. Thomas, Mr. L. Thomas, Mr. Robert Morgan, Mr. Thomas

CANT XVII.

Aberhonddu.

Maesyronen. Tredustan. Gwenddwr. Trosgoed

§ Mae D. Thomas, Yswain, o Welfield, yn orwyr i Mr. D. Jones, o'r Cribart; a John Llwyd, Yswain, o Aberhonddu, yn orwyr i Mr. J. Jones, Cwmcamarch; a'r Parchedig M. Evans, gweinidog Pantycelyn, yn ŵyr i Mr. Rees Jones, o Shimailwyd, brawd Mr. D. Jones, o Cribart.

[a] Llythyr Mr. D. Williams. [b] Hanes y Bed. p. 92, 93.

[c] Thomas's Eccles. Hist.

CANT XVII. Thomas Jones, ac ereill. Yn sir Fynwy yr oedd yr Ymneillduwyr dan ofal Mr. T. Barnes, Mr. H. Walter, Mr. Watkin Jones, Mr. T. Quarnel, Mr. W. Prosser, Dr. C. Price, Mr. W. Prichard, ac ereill: Yr oedd llawer o Ymneillduwyr yn sir Faesyfed, dan ofal Mr. Henry Gregory, Mr. Henry Maurice, ac ereill. Mae yn debygol fod Ymneillduwyr yn yr amser trallodus hyn, yn mhob sir o Gymru, ond sir Fon.[a]

Marwolaeth V. Powell. O. C. 1670. Yn y flwyddyn hon y bu farw Mr. Vavasor Powell, yn y drydedd flynedd ar ddeg a deugain o'i oedran, a'r unfed ar ddeg o'i garchar. Yr oedd efe yn wr o'r uniondeb manolaf, o'r duwioldeb gwresocaf, ac o'r dewrder gwrolaf. Efe a orphenodd ei yrfa mewn gorfoledd, ac a gladdwyd yn Mynwent yr Ymneillduwyr ‡ yn Llundain.[b] Cafodd y cyfreithiau yn erbyn yr Ymneillduwyr eu gwneuthur yn fwy caeth y flwyddyn hon, yr hyn fu yn achos i lawer o weinidogion ffyddlon gael eu carcharu, a llawer o deuluoedd eu dwyn i'r tlodi mwyaf. Ond pan welodd y brenin nad oedd dim yn llwyddo i beri i'r Ymneillduwyr i gydffurfio, efe a roddodd i'w gweinidogion hwynt fraint-lythyrau i bregethu yr efengyl yn mhob ty ag a fyddai gwedi cael rhydd-did. Er melused yw rhydd-

Braintlythyrau i'r Ymneillduwyr. O. C. 1672. did,

[a] Thomas's Eccles. Hist. ‡ Bunhill Fields.

[b] Richard's Life of V. Powell.

did, nid oedd yr Ymneillduwyr yn eofn i'w dderbyn yn y dull hyn, oblegid eu bod yn gwybod nad oedd yn cael ei roddi o gariad, ac na pharhaid mo hono yn hwy nag y buasai yn wasanaethgar i achos Pabyddiaeth.[a] CANT XVII.

Yr oedd Mr. Stephen Hughes yn parhau yn llafurus iawn yn y weinidogaeth, a'r flwyddyn hon efe a gyhoeddodd ail argraffiad o Lyfr Ficar Llanymddyfri, ac efe a ysgrifenodd lythyr yn y rhagymadrodd at Mr. W. Thomas, Deon Caerwrangon, Mr. Hugh Edwards, o Langadog, yn sir Gaerfyrddin, Mr. David Thomas, o Margam, Mr. Samuel Jones, o Langunnwyd, a Mr. William Lloyd, o St. Petrog, yn sir Benfro; yn mha un y mae yn cydnabod y cynnorthwy a roddasant iddo y flwyddyn hono i argraffu y Testament Newydd yn Gymraeg, ynghyd â'r Salmau, a Chatecism Mr. Perkins. Ac fel rhai ag oedd yn ofni Duw ac yn ewyllysio yn dda i eneidiau eu cydwladwyr, y mae efe yn deisyf arnynt i roddi pob annogaeth i argraffu yr holl Fibl yn Gymraeg, gan fod cymmaint o'i eisiau yn y wlad.[b]

Yr oedd y Pabyddion y pryd hyn mewn llawer o barch gan y brenin a'r llys, ac yr oedd llawer Y Test Act. O.C. 1673.

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 672, 673, 684.

[b] Thomas's Eccles. Hist.

CANT XVII. llawer o honynt mewn lleoedd o elw ac ymddiried yn y deyrnas. Y senedd, yn ofni y buasai hyn yn foddion i gynnyddu awdurdod y Pabyddion, a gytunasant yn y senedd-dŷ y flwyddyn hon, na chai neb o hyny allan wasanaethu un swydd o elw ac ymddiried yn y llywodraeth heb gymuno yn eglwys Loegr; a'r brenin, i'r dyben i gael arian i ddwyn yn mlaen y rhyfel, a gydsyniodd â'r senedd i wneuthur y gyfraith hon, er nad oedd yn ei hoffi. Yr Ymneillduwyr hefyd, i'r dyben i ddarostwng y Pabyddion, a unasant â'r eglwyswyr i wneuthur y gyfraith hon, gan obeithio y buasai y llywodraeth mewn ychydig o amser, i wneuthur rhagoriaeth rhyngddynt hwy a'r Pabyddion. Ond mae y gyfraith hono yn parhau mewn grym yn eu herbyn hwy a'r Pabyddion, hyd heddyw. Mae yn debygol fod y brenin a'r llys mewn gobaith y buasai yr Ymneillduwyr yn uno â'r Pabyddion i wrthwynebu y gyfraith hon; a phan welsant fod yr Ymneillduwyr drosti, hwy a lidiasant, ac a erlidiasant yr Ymneillduwyr â chreulondeb mawr; a chafodd eu braint-lythyrau eu galw yn ol.[a]

Bu Mr. Stephen Hughes, Mr. Henry Maurice, a Mr. Gouge, o Lundain, o'r gwasanaeth mwyaf i drigolion Cymru y blynyddoedd hyn, trwy eu diwydrwydd i daenu gwybodaeth o bethau

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 693—698.

bethau ysbrydol yn y parthau mwyaf tywyll o'r wlad. A'r Arglwydd a gyfododd gyfeillion iddynt yn Lloegr, y rhai a gyfranasant yn helaeth o'u meddiannau i'w cynnorthwyo i fyned â'u gorchwyl canmoladwy yn mlaen. Cafodd cymdeithas || ei ffurfio yn Lloegr dan olygiad Dr. Tillotson, Deon Canterbury, i'r dyben i gyfranu cyhyd ag y gwelent yn dda, tuag at argraffu a phrynu llyfrau defnyddiol; ac hefyd tuag at addysgu plant tlodion y Cymry i ddarllen Saesneg, ysgrifenu, a bwrw cyfrifon. Cyn diwedd y flwyddyn hon, dywedir fod deuddeg ar hugain o Fiblau Cymraeg, yr hyn oll ag oedd i'w cael yn Nghymru a Llundain, dau cant a deugain o Destamentau Cymraeg, a phum cant o Holl Ddyledswydd Dyn, gwedi cael eu rhoddi i dlodion Cymru a fedrai ddarllen Cymraeg; a bod oddiamgylch mil, wyth cant, a deg a deugain, o blant tlodion y Cymry gwedi eu gosod mewn ysgolion i ddysgu darllain Saesneg [a]

CANT XVII.

O. C. 1675.



|| Aelodau y gymdeithas hon oeddent

| | | |
|---|---|---|
| John Tillotson | Ed. Stillingfleet | Wm. Turner |
| Benjamin Witchcot | John Meriton | Rich. Newman |
| Simon Ford | Hezekiah Burton | James Reading |
| Wm. Bates | Richard Baxter | Thos. Griffith |
| Wm. Outram | Thos. Gouge | John Short |
| Simon Patrick | Matthew Poole | Wm. Gape |
| Wm. Durham | Edward Fowler | Thomas Firmin. |

[a] James Owen's Life, p. 10, 11, 12.

CANT XVII.

Mr. T. Gouge.

Yr oedd Mr. Thomas Gouge yn fab i Mr. Wm. Gouge, o Lundain, gwedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, a chwedi bod bedair blynedd ar hugain yn weinidog ffyddlon yn Llundain. Nid oedd ganddo wedi claddu ei wraig a sefydlu ei blant, ond cant a hanner o bunnau yn y flwyddyn gwedi eu gadael; ac efe a roddai gant punt bob blwyddyn allan o hyny at weithredoedd o gariad ac elusen. Dywedir iddo gyfyngu ei elusen dros y naw neu ddeng mlynedd diweddaf o'i fywyd, yn mron yn hollol i Gymru.

Ei garedigrwydd i'r Cymry.

Pan oedd Mr. Gouge rhwng trugain a thrugain a deg oed, yr oedd yn arferol i deithio i Gymrû, i ddosparthu yr arian a allasai efe hebcor ei hun, neu gasglu oddiwrth ereill, rhwng gweinidogion llafurus, trallodedig, ac anghenus. Efe a sefydlodd yn nhrefydd penaf Cymru rhwng tri a phedwar cant o ysgolion i ddysgu plant i ddarllen, ac a ymrwymodd i dalu am ddysgeidiaeth cant o blant ei hun. Mynodd argraffu hefyd wyth mil o Fiblau Cymraeg, mil o ba rai a roddodd i'r tlodion; ac anfonodd y saith mil ereill i'r trefydd penaf yn Nghymru, i'w gwerthu am bris rhesymol. Er fod gan Mr. Gouge fraint-lythyr i bregethu yn achlysurol yn Nghymru, cafodd ei erlid o le i le. Ac er ei fod yn myned yn ddyfal i'r eglwys, ac yn cymuno yno ar droion, cafodd ei ysgymuno, tra yr oedd yn gwneuthur yr holl ddaioni hyn i'r Cymry.

Ond

Oedd o gariad at Dduw ac eneidiau dynion, efe a ddyoddefodd yr holl bethau hyn gydâ llawer o amynedd, ac ni ddiffygiodd yn gwneuthur daioni, nes iddo orphen ei yrfa mewn llawenydd a gorfoledd.[a] CANT XVII.

Gyn gynted ag y gwnaeth y brenin heddwch â'r Dutch, torodd cydfrad erchyll allan gartref, yr hwn a elwid y Cydfrad Pabaidd. Bwriad y cydfradwyr oedd lladd y brenin, dymchwelyd y llywodraeth, a diwreiddio y grefydd Brotestanaidd wreiddyn a changen; ond yr Arglwydd a ddiogelodd y deyrnas rhag eu drwg-fwriad hwynt.[b] Cydfrad Pabaidd. O. C. 1678.

Yr oedd llawer o gynnyrfiadau yn y deyrnas y flwyddyn hon, a chafodd y blaid ag oedd yn elynol i Babyddiaeth, yn gadarn dros lywodraeth a rhydd-did y wlad, ac am oddefiad yr Ymneillduwyr, eu galw yn Whigs. † A'r blaid hono, ag oedd dros ddyrchafu y brenin uwchlaw y gyfraith, a thros ufudd-dod-goddefgar a diwrthrynedd, ac yn tueddu yn fwy at y Pabyddion nâg at y Presbyteriaid, a gawsant eu galw yn Tories. ‡ O. C. 1680. Whigs a Thories.



[a] Palmer's Noncon. Mem. Vol. I. p. 184—188.

[b] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 711.

† Ystyr y gair yw Llaeth sur.

‡ Enw a roddwyd gyntaf i Yspeilwyr Gwyddelig.

CANT XVII.

Dadl rhwng esgob St. Asaph a Mr. J. Owen yn Croesyswallt. O. C. 1681.

Er bod Dr. William Lloyd, esgob St. Asaph, yn groes i erledigaeth, gwnai ei oreu trwy foddion dengar i ddwyn yr Ymneillduwyr yn ei esgobaeth i gydffurfio. Gwedi ymddyddan yn aml â Mr. James Owen, gweinidog Croesyswallt, efe a orchymynodd iddo i ddyfod i ddadleudy Croesyswallt i gael dadleu âg ef yn gyhoeddus yn nghylch ei hawl i bregethu heb urddiad esgobol, ac i ddewis y neb a fynai i'w gynnorthwyo. Ar yr amser gosodedig cymmerodd yr esgob ei gyfaill Mr. Henry Dodwell gyd âg ef, a chymmerodd Mr. Owen ei gyfeillion Mr. Phillip Henry a Mr. Jonathan Roberts; a chwedi dadleu dros chwech awr, hwy a ymadawsant. Dywedir fod effeithiau y cyfarfod hwn yn amrywiol, ond na wnaethpwyd un dychwelwr.[a] Yr esgob a ddadleuodd yn gyhoeddus hefyd â'r Crynwyr yn Llanfyllin.[b]

O. C. 1681.

Y brenin y flwyddyn hon a roddodd orchymyn i rwystro cyfarfodydd crefyddol, a chospi pawb a gyfarfyddent i addoli Duw mewn dull gwahanol i ddefod eglwys Loegr. Yr Ymneillduwyr, mewn canlyniad i'r gorchymyn hwn, a gawsant eu herlid a'u carcharu gydâ y creulondeb mwyaf. Cafodd Mr. Phillip Henry ei ddal y pryd hyn, a'i ddirwyo o ddeugain punt;

[a] James Owen's Life, p. 29—35.

[b] Calamy's Noncon. Mem. p. 706.

punt; ac oblegid na thalai efe y dirwy, dygasant ymaith dri llwyth ar ddeg ar hugain o'i lafur ag oedd newydd ei fedi, yn nghyd â gwair, glo, a phethau ereill. Gorfu ar wr y ty lle yr oedd Mr. Henry yn pregethu dalu ugain punt, a phob un o'r gwrandaw-wyr bum swllt. Rhoddwyd gwarant i ddal Mr. James Owen hefyd, ond trwy gyfyngu ei hun yn ei dŷ, efe a gadwodd ei hun rhag ei ddal. Tra yr oedd yr erledigaeth hon yn rhuo trwy yr holl wlad, bu farw yr enwog Mr. T. Gouge yn ddystaw yn ei gwsg, yn y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg a thrugain o'i oed.[a] CANT XVII.

Y flwyddyn hon y bu farw Mr. Henry Maurice, yr hwn oedd wr o sir Gaernarfon, a chwedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen. Bu yn offeiriad dros ychydig yn Stratton, yn sir y Mwythig. Pan oedd yn y lle hwnw, cafodd llawer o'i blwyfolion eu tori ymaith gan dwymyn, yr hyn fu yn foddion yn llaw yr Arglwydd i'w ddychwelyd ef ato ei hun. Yn fuan yn ol hyn, dechreuodd fod yn anesmwyth yn nghylch ei gydffurfiad, ac o gydwybod a ymadawodd âg eglwys Loegr, ac a aeth i fyw i'r Fenni. Mewn ychydig o amser gwedi hyny, cafodd ei ddewis yn weinidog gan gorph o Gristianogion ag oedd yn cyfarfod yn Llanigon a Merthyr-Cynog. Ond Bywyd a Marwolaeth Mr. H. Maurice. O. C. 1682.

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 727, 729, 730.

CANT XVII. Ond nid oedd yn cyfyngu ei weinidogaeth i'r lleoedd hyny yn unig. Teithiai trwy holl Gymru, a phregethai yr efengyl yn y lleoedd mwyaf tywyll; a Duw a fendithiodd ei lafur er dychweliad i lawer o eneidiau. Efe a ddyoddefodd lawer o galedi, a'i elynion oeddent yn aml gynllwyn iddo; ond yr Arglwydd a'i cuddiodd yn ngheudod ei law. Pan oedd yn pregethu un waith mewn tŷ, y swyddog gwladol a ddaeth i mewn ac a orchymynodd iddo roddi fynu. Mr. Maurice gydâ gwroldeb a'i tyngedodd yn enw y Duw mawr, gair pa un yr oedd ef yn bregethu, i beidio a'i aflonyddu, fel yr attebai am hyny yn nydd mawr y farn. Y swyddog, pan glybu ei eiriau, a eisteddodd dan grynu, ac a'i gwrandawodd yn amyneddgar hyd ddiwedd y bregeth, yna efe a aeth ymaith yn llonydd. Daliwyd Mr. Maurice un waith, ond cafodd ei ryddhau yn fuan. Pan oedd ar un amser mewn eisiau mawr, ac yn gweddio gydâ ei deulu yn gyfattebol i'w ddiffyg, rhyw wr a gurodd wrth y drws, a chwedi galw am Mr. Maurice a roddodd iddo lonaid llaw o arian heb eu rhifo, fel rhodd oddiwrth ryw gyfeillion, ond ni ddywedodd efe pwy. Amlygodd Mr. Maurice yn y rhan olaf o'i fywyd lawer o ostyngeiddrwydd, llarieidd-dra, amynedd, ymostyngiad i ewyllys Duw, yn nghyd â thosturi tuag at ei elynion. Yn ei bregethau yr oedd yn gyffredin yn am-

cann

CANT XVII.

canu gosod y sylfaen o iechydwriaeth trwy Grist. Yn y rhan gyntaf o'i bregeth yr oedd yn gyffredin yn agor rhyw bwnc sylfaenol, ac yn dwyn i mewn bethau ymarferol yn y cymmwysiad. Pan byddai ei gyfeillion yn dymuno arno i arbed ychydig arno ei hun, yntau a attebai, "Pan b'o dyn wedi segura y rhan oreu o'i ddydd, a'r prydnawn yn nesau, angenrhaid yw iddo ddyblu ei ergydion." Bu farw yn ddeugain oed, ac yr oedd ei ymddygiad ar ei wely angeu yn attebol i'w fywyd duwiol.[a]

Marwolaeth Charles yr ail. O. C. 1685.

Charles yr ail, gwedi teyrnasu pum mlynedd ar hugain, a fu farw, a'i frawd Iago yr ail a deyrnasodd yn ei le ef. Iago yr ail a ddechreuodd ei deyrnasiad trwy arddeliad cyhoeddus o'r grefydd Babaidd, canys y sabbath cyntaf gwedi iddo gael ei goroni, efe a aeth yn gyhoeddus i gapel y Pabyddion i addoli. Cafodd yr erlidigaeth ag oedd wedi llonyddu ychydig ar farwolaeth Charles, ei hadfywio drachefn. Rhoddwyd rhydd-did i'r Tories i flino yr Ymneillduwyr; a chafodd Mr. Richard Baxter, ac ereill, eu dirwyo a'u carcharu. Yr oedd yr amser hyn mor drallodus, fel ag yr oedd yn beryglus i Ymneillduwyr i rodio y ffordd yn gyhoeddus, a llawer o honynt oblegid hyn a aethant i America.[b] Gwedi

[a] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III. p. 159—162.

[b] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 747—753.

CANT XVII. O. C. 1686. Gwedi i bethau fyned yn mlaen fel hyn dros ychydig o amser, gwelodd rhai offeiriaid fod eu hymddygiad hwy a'r llys tuag at yr Ymneillduwyr, yn tueddu i gynnyddu Pabyddiaeth yn y deyrnas a dechreuasant bregethu yn ei erbyn. Rhoddodd hyn dramgwydd mawr i'r brenin, a gorchymynodd na byddai i neb bregethu yn erbyn Pabyddiaeth o hyny allan. Pan nad oedd rhydd-did i'r offeiriaid bregethu yn erbyn Pabyddiaeth, dechreuasant ysgrifenu yn ei erbyn, yr hyn fu yn achos o anghydfod rhwng y brenin ac eglwys Loegr; ac yn achlysur i'r ddwy blaid i garu yr Ymneillduwyr, y rhai oedd gwedi cael eu herlid ganddynt dros gynnifer o flynyddoedd.[a]

Rhydd-did yr Ymneillduwyr. O. C. 1687. Y brenin, i'r dyben fel y tybia rhai, i roddi rhydd-did i'r Pabyddion, a throi yr Ymneillduwyr yn erbyn yr eglwyswyr, a gyhoeddodd rydd-did cyffredinol i Ymneillduwyr o bob plaid i addoli Duw yn ol goleuni eu cydwybodau. Mewn canlyniad i hyn cafodd yr Ymneillduwyr o bob enw nid yn unig eu rhyddhau, ond hefyd eu derbyn i wasanaethu swyddau o elw ac ymddiried; ac anfonasant gyfarchiadau at y brenin, yn mha rai yr oeddent yn cydnabod ei hynawsedd, ac yn deisyf arno i gadarnhau eu breintiau iddynt.[b] Yr oedd yr Ymneillduwyr

y

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 754. [b] Ibid. p. 767, 768.

y pryd hyn, ac yn hir gwedi hyn, yn priodi yn eu lleoedd eu hunain, ger bron yr eglwys. Byddai y gweinidog yn eu cynnorthwyo, a thystiolaeth o'r briodas yn cael ei ysgrifenu mewn llyfr, a dwylaw tystion wrthi.[a] CANT XVII.

Mr. Stephen Hughes, gwedi bod yn llafurus a llwyddiannus yn ngwinllan Duw, a fu farw yn drugain a phump oed, ac a gladdwyd yn eglwys Ieuan, yn Abertawe. Efe a argraffodd gyfieithadau o Ymarferiad Duwioldeb, Galwad i'r annychweledig, 'Nawr neu Byth, Alleine ar ddychweliad, a llyfrau ereill; a dywedir i'w lafur helaeth i waethygu ei iechyd. Yr oedd yn ofni llawer rhag i'w synwyrau ddyrysu ar wely angau, ac iddo trwy hyny ddywedyd rhyw beth yn ddianrhydeddus am grefydd; a dywedai yn aml yn ei weddiau, "Arglwydd, cofia ni yn ngwasgfa marwolaeth, ac na ddyoddef i ni dy ddianrhydeddu di yn ein munudau diweddaf." Rhyngodd bodd i Dduw i wrando ei weddiau, a chafodd orphen ei yrfa mewn tawelwch meddwl a llawenydd tufewnol mawr. Gwedi gosod ei dŷ mewn trefn, rhoddi cyfarwyddiadau i'r eglwys ag oedd efe yn weinidog iddi, a chyflwyno ei deulu i Dduw, efe a drodd ei wyneb at y pared, ac a fu farw yn uniongyrch.[b] Marwolaeth Mr. S.Hughes O.C. 1688.



[a] Hanes y Bed. p. 338.

[b] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III. p. 499.

CANT XVII.



Y flwyddyn y bu farw Mr. Stephen Hughes, cafodd y gwyr canlynol eu hurddo yn mhlith yr Ymneillduwyr: Mr. David Penry, yn weinidog i eglwys Llanedi; Mr. Rees Prydderch, i eglwys Cefenarthen; Mr. Owen Davies,* i eglwys Cefenfarchen a'r Pâl, yr hon sydd yn cyfarfod yn bresennol yn Henllan; Mr. William Evans, ‡ i eglwys Pencader; Mr. John James,† i eglwys Lanybre; a Mr. David Edwards, i eglwys Caronen. Yr un flwyddyn hefyd yr urddwyd Mr. Daniel Philips, Mr. David Richards, Mr. John Higgs, Mr. Thomas Beynon, Mr. John Thomas, a Mr. Jenkin Thomas, ond nid ymddengys i ba eglwysi yr urddwyd hwynt.[a]

Urddo 12 o weinidogion yr Ymneillduwyr. O. C. 1688.

Gan fod yr anghydfod rhwng y brenin a'i ddeiliaid Protestanaidd yn myned yn fwy-fwy helaeth, tybiodd y blaid eglwysig yn addas i anfon at William tywysog Orange, yr hwn oedd yn briod â Mary merch Iago yr ail, i ddeisif arno

* Symudodd Mr. O. Davies gwedi hyny i Abertawe a Browyr.

‡ Symudodd Mr. W. Evans o Pencader i Gaerfyrddin. Yr oedd yr eglwys y pryd hyny yn cyfarfod yn y Priordy: Mr. W. Evans fu yn offerynol i gasglu eglwys Capel-Sion, ac yn ei amser ef yr adeiladwyd y tŷ cyfarfod yno.

† Bu Mr. James farw yn y flwyddyn 1705.

[a] Llanedi Church Book.

arno ddyfod i Loegr i'w cynnorthwyo hwynt i amddiffyn y grefydd Brotestanaidd a'r llywodraeth gwladol. William, gwedi gwneuthur y darpariadau angenrheidiol, a diriodd yn Lloegr ar y pummed dydd o fis Tachwedd y flwyddyn hon. Pan wybu y brenin Iago fod William gwedi dyfod i Loegr, a'i fod ar y ffordd i Lundain, efe a ffodd i Ffraingc, lle yr oedd gwedi anfon y frenines ychydig cyn hyny. Gan i'r brenin ffoi o'r deyrnas, a thori y cytundeb a wnaethai â'i bobl, barnodd y senedd a gyfarfu y pryd hyny, fod gorsedd Lloegr yn wag; ac yn ganlynol gwnaethant ddewisiad o William a Mary i deyrnasu yn lle Iago yr ail; a chawsant eu coroni yn frenin a brenines Lloegr y mis Ebrill canlynol.[a]

CANT XVII.

Dyfodiad William tywysog Orange i Loegr. O. C. 1688.

Y flwyddyn hon cytunodd y brenin a'r senedd i roddi goddefiad i Ymneillduwyr Protestanaidd i addoli Duw yn ol goleuni eu cydwybodau, yr hon gyfraith sydd mewn grym hyd heddyw, ac yn fwy helaeth nag oedd ar y cyntaf.

Toleration Act. O. C. 1689.

Yr oedd y brenin yn ewyllysio yn fawr i ddwyn oddiamgylch heddwch parhaus rhwng eglwys Loegr a'r Ymneillduwyr, a'r flwyddyn hon efe a roddodd awdurdod i ddeg o esgobion ac ugain o offeiriaid i gymmeryd y peth mewn

Y brenin yn chwenych cymmodi eglwys Loegr a'r Ymneillduwyr. O. C. 1689.

4 F 2 llaw

[a] Neal's Hist. Pur. Vol. II. p. 787—794.

CANT XVII.  llaw. Yr oedd Dr. W. Loyd, esgob St. Asaph, a Dr. H. Humphreys, esgob Bangor, yn mblith yr esgobion. Er i'r gofal mwyaf gael ei gymmeryd i ddewis y rhai mwyaf diduedd, gan eu bod oll o eglwys Loegr, nid allasid dysgwyl iddynt wneuthur llawer.[a] Pan ddaeth rhydd-did cydwybod i'r Ymneillduwyr, danfonodd gweinidogion y Bedyddwyr yn Llundain at eu brodyr yn Lloegr a Chymru, i'w gwahodd i gyfarfod mewn cymmanfa yn Llundain, i'r dyben i ystyried eu hamgylchiadau, a chynnorthwyo eu gilydd. Cynnaliwyd y gymmanfa mis Medi y flwyddyn hon, ac aeth chwech o Gymru iddi.[b]

Bu yr ysgolion a sefydlwyd gan Mr. Gouge ac ereill trwy Gymru yn foddion i ddwyn cynnifer i ddarllen yr ysgrythyrau, fel ag yr oedd y Biblau Cymraeg gwedi myned yn awr yn brin. Mr. David Jones, yr hwn a ddidywyd o Landissilio, yn sir Gaerfyrddin, yn gwybod am y diffyg oedd o Fiblau, a argraffodd Fiblau Cymraeg wyth-plyg y flwyddyn hon, ac a ddosparthodd ddeng mil o honynt.[c] Daeth Bibl Cymraeg un-plyg allan y flwyddyn hon hefyd, yr hwn a elwid yn gyffredin, Bibl esgob Llwyd; ond Mr. Pierce Lewis, o sir Fon, ag oedd y pryd

Bibl wythplyg O. C. 1690.

[a] Rapin. [b] Hanes y Bed. p. 333.

[c] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III. p. 497.

pryd hyn yn Rhydychen, a gymmerodd ofal ei argraffiad.[a] CANT XVII.

Bu eglwys yr Independiaid * yn sir Aberteifi, yn cael ei gwasanaethu gan amryw weinidogion yn amser yr erledigaeth, o adferiad Charles yr ail, hyd oni chafodd yr Ymneillduwyr oddefiad gan y brenin William. Yr oedd y gangen hono o honi ag sydd yn awr yn cyfarfod yn Llechryd, yn cyfarfod y pryd hyny, mae yn debygol, yn y Tirllwyd, yn mhlwyf Llangoedmoer. Bu Mr. John Thomas, o Lwynygrawys, yr hwn oedd wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, yn weinidog i'r eglwys hon yn y Tirllwyd yn ol Mr. Rees Powell, o Lambedr. Symudodd yr eglwys, yn amser Mr. Thomas, o'r Tirllwyd i Rhosygilwen, yn agos i Gilgerran, ac oddiyno drachefn, mewn ychydig o amser i Gastellmaelgwyn, yn agos i Lechryd. Pan oedd yr eglwys yn cyfarfod yn Nghastellmaelgwyn, yr aelodau ag oedd yn byw yn agos i Trefdraeth, oblegid yr anhawsdra i deithio mor bell, a dybiasant yn addas oddiamgylch i'r flwyddyn hon, i osod i fynu addoliad yn Brynberian, a chawsant eu cynorthwyo dros lawer o flynyddoedd gan weinidogion Llechryd.[b] Yn nghylch

Llechryd

[a] Thomas's Eccles. Hist. p. 458.

* Yr oedd rhai Bedyddwyr hefyd yn eu plith y pryd hyn.

[b] Mr. Griffiths's Letter.

CANT XVII.

J. Owen yn pregethu yn Llanfyllin.

nghylch diwedd y flwyddyn hon Mr. James Owen a ddechreuodd bregethu yn Llanfyllin, yn sir Drefaldwyn, yn nhy Mr. John Griffiths, gwr cyfrifol o'r dref hono. Y tro cyntaf yr aeth yno, amgylchynodd y werinos y tŷ, torasant y ffenestri, taflasant gerig i blith y bobl, ac aflonyddasant y gynnulleidfa yn y dull mwyaf ffyrnig; a bu gwr y tŷ yn mron colli ei fywyd trwy fyned i'r drws i ostegu y terfysg. Un o'r dynion hyn yn edifeiriol am ei fai, a gyfaddefodd gwedi hyny, na lwyddodd efe byth gwedi iddo godi ei law yn erbyn yr efengyl.[a]

Marwolaeth Mr. P. Philips O. C. 1691.

Y flwyddyn hon y bu farw Mr. Peregrine Phillips, o sir Benfro, yn drugain ac wyth mlwydd oed; ac hefyd Mr. John Powell, yr hwn oedd yn pregethu oddiamgylch i Gasnewydd ar Wysg, yn sir Fynwy.[b] Fel ag yr oedd y Bedyddwyr yn cynnyddu y pryd hyn yn y rhan orllewinol o Gymru, bu llawer o ddadleuon rhyngddynt â Bedyddwyr plant. Oddiamgylch i'r flwyddyn hon cytunodd y ddwy blaid i brgethu ar y pwngc o fedydd yn Mhenylan, yn agos i Freni fawr. Mr. John Thomas o Lwynygrawys, a bregethodd gyntaf dros fedydd plant, a phregethodd Mr. John Jenkins, [*] gweinidog

Dadl rhwng yr Independiaid a'r Bedyddwyr yn nghylch bedydd plant. O. C. 1691.

[a] Monthly Repos. Vol. I. p. 399.

[b] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III. Thomas's Eccles. Hist. p. 470.

[*] Mr. J. Jenkins oedd dadcu i Dr. Jen kins, o Walworth

gweinidog Rhydwilym, ddiwrnod ar ol hyny dros fedydd crediniol. Mewn canlyniad i'r cyfarfod hwn, llawer o aelodau eglwys Mr. Thomas a unasant â'r Bedyddwyr: yr hyn fu yn achos i'r Independiaid yn y parthau hyny, ddymuno ar Mr. Samuel Jones, o Brynllwarch, i ysgrifenu llyfr mewn amddiffyniad i fedydd babanod. Ond pan ballodd Mr. Jones, Mr. James Owen a gymmerodd y gorchwyl yn llaw; a dywedir nad oedd neb yn fwy cymmwys i'r gwaith nâg efe. Cyhoeddodd Mr. Owen ei lyfr, dan yr enw 'Bedydd Plant o'r Nef,' a bu yn achos o gymmaint o gynnwrf trwy yr holl wlad, fel y barnodd y Bedyddwyr fod yn angenrheidiol iddynt amddiffyn eu hunain yn yr un dull. Ond mae yn debygol nad oedd ganddynt neb yn eu plith eu hunain yn Nghymru, yn abl dadleu â Mr. Owen. Dymunasant gan hyny ar Mr. Benjamin Keach, o Loegr, gymmeryd y gorchwyl yn llaw. Daeth ei lyfr ef allan, dan yr enw 'Goleuni gwedi tori allan yn Nghymru.' Yr oedd y Bedyddwyr yn llafurio dan beth anfantais yn y dadl hwn, oblegid gorfu iddynt gyfieithu llyfr Mr. Owen i'r Saesneg i'r dyben i Mr. Keach i'w ddeall; ac wedi hyny cyfieithu llyfr Mr. Keach i'r Cymraeg er budd i'r Cymry. Dywedir hefyd fod y cyfieithad yn ddrwg.*

CANT XVII.

Yn

* Monthly Repos. Vol. I. p. 399—401.

CANT XVII. O. C. 1692.

Yn y rhyfel ag oedd y pryd hyn rhwng y brenin William a Iago, yr oedd y rhan fwyaf o'r Cymry dros y brenin William. Esgobion Bangor a St. Asaph oeddent yn gadarn dros William, ac felly yr oedd pob plaid o Ymneillduwyr hefyd. Ond mae yn debygol fod Dr. Watson, esgob Tŷ Ddewi, er iddo gymmeryd y llw o ffyddlondeb i'r brenin William, yn fwy ffafriol i Iago. Felly yr oedd Dr. Beau, esgob Llandaf hefyd. Yr oedd crefydd y pryd hyn yn go ansefydlog; ond nid oedd un erledigaeth gyhoedd yn y wlad. Rhai Ymneillduwyr a ddechreuasant adeiladu tai cyfarfod y pryd hyn, gan fod y gyfraith o oddefiad yn caniatau cyflawn rydd-did iddynt wneuthur felly.

Cynnydd yr Ymneillduwyr. O. C. 1693.

Yr oedd achos yr Ymneillduwyr yn myned ar gynnydd y blynyddoedd hyn yn Nghymru. Amlwg yw fod eglwys luosog o Ymneillduwyr y pryd hyn yn cyfarfod yn Caronen, Crygymain, Llwynrhys, a'r Cilgwyn, dan ofal gweinidogaethol Mr. David Jones, Mr. David Edwards, a Mr. Jenkin Jones. Yr oedd Mr. Morgan Howell, a Mr. David John Rees, yn athrawon yr yr eglwys hono y pryd hyn, a Mr. John Johnes, a Mr. Griffith Hugh yn henuriaid llywodraethol; a Mr. David Evan, Mr. David Lewis, a Mr. Evan John, yn ddiaconiaid.* Dr. Jonathan Edwards, o Wrecsam, a gyhoeddodd

lyfr

* Cilgwyn Church Book.

lyfr yn erbyn Sociniaeth y flwyddyn hon, ac un arall ar yr un testun y flwyddyn ganlynol.[a] Ar farwolaeth Mr. Robert Thomas, o Bagland, yr hwn a fu dros ugain mlynedd yn weinidog i'r gangen hono o eglwys Castell Nedd, ag oedd yn cyfarfod yn Tirdyncyn, yn mhlwyf Llangyfelach, cafodd Mr. Lewis Davies, o Lanedi, ei urddo yn weinidog Tirdyncyn; a bu Mr. John Thomas, o Aberfan, a Mr. Llewelyn Bevan, o Gwmllynallt, yn ei gynnorthwyo dros ychydig o amser.[b] CANT XVII.

Mr. Phillip Henry, gwedi gwasanethu ei genhedlaeth yn ol ewyllys Duw, a fu farw yn gysurus y flwyddyn hon, yn chwech mlwydd a thrugain oed. Y flwyddyn ganlynol y bu farw yr enwog Mr. S. Jones, o Brynllwarch, yn ddeg a thrugain oed.[c] Y flwyddyn y bu farw Mr. S. Jones, yr aeth cynnulleidfa Cefenfarchen a'r Pal i addoli i Henllan. Yr oedd Mr. Owen Davies gwedi symud y pryd hyn i Abertawe, a Mr. David Owen, o Bwllyhwyaid, gwedi ei urddo yn weinidog yn ei le ef. Mr. David Owen oedd gweinidog yr eglwys hono pan y symudodd i Henllan.[d] Marwolaeth Mr. P. Henry. O. C. 1696.

4 G Mr.

[a] Thomas's Eccles. Hist. p. 466. [b] Llanedi Church Book.

[c] Palmer's Noncon. Mem. Vol. III.

[d] Llythyr Mr. Loyd. Llanedi Church Book.

CANT XVII.

Marwolaeth Mr. R. Prydderch. O. C. 1698.

Mr. Rees Prydderch, gwedi bod dros lawer o flynyddoedd yn athraw defnyddiol, ac yn weinidog llwyddiannus, a fu farw yn gysurus y flwyddyn hon. Dywedir iddo gael ei eni, a'i urddo, a'i alw o'r byd, ar wyl St. Paul. Yr oedd yn wr duwiol a dysgedig, ac efe a hyfforddodd lawer o wyr ieuainc yn y ieithoedd a'r celfyddydau, y rhai a fuont yn ddefnyddiol yn y weinidogaeth a galwedigaethau ereill yn eu dydd. Bu athrofa Mr. Rees Prydderch yn Ystradwalter, ac athrofa Mr. Samuel Jones yn Brynllwarch, yn fendith fawr i achos Crist yn mhlith yr Ymneillduwyr dros hir flynyddoedd. Dangosodd Dr. Thomas, esgob Tŷ Ddewi, lawer o barch i Mr. Rees Prydderch, ac a wnaeth lawer o gynnygion iddo pe buasai yn cydffurfio.

Er fod marwolaeth Mr. Prydderch yn golled cyffredinol y pryd hyny, nid adawodd Duw yr eglwysi yn mhlith pa rai yr oedd yn llafurio yn hir heb fugeiliaid. Y flwyddyn gwedi marw Mr. Prydderch, Mr. Morgan Williams a ddewiswyd yn weinidog yn Aberhonddu a Tredustan, lle y bu hyd ddydd ei farwolaeth; a daeth Mr. James Davies i Lanwrtyd a Throedrhywdalar. Yr oedd Mr. J. Davies yn bregethwr poblogaidd, a chynnyddodd yr achos i raddau helaeth yn y lleoedd hyny yn ei amser ef. Symudodd Mr. J. Davies i Forganwg cyn ei farw.[a] Yr

[a] Llythyrau Mr. W. Lewis a Mr. Williams.

Yr oedd y gwyr canlynol yn feirdd enwog yn y cant hwn: Dafydd y Nant; Vicar Penllin; Gruffydd Owain; Gruffydd Rhys; Gruffydd Peilyn; Guttyn ab Ifan Llydan; Gwilym ab Hywel; Huw Morus; a Rowland Vychan.[a]

CANT XVII.

Beirdd.

[a] Cam. Biog.

Y DEUNAW-

## Y DEUNAWFED CANT.

CANT XVIII.



NID oedd ond ychydig o'r gweinidogion didyol yn fyw yn nechreuad y cant hwn. Gwedi dyoddef llawer o galedi, a bod yn offerynol i blanu llawer o eglwysi yn mhlith y Presbyteriaid, Independiaid, a'r Bedyddwyr, gorphenasant eu gyrfa mewn llawenydd a gorfoledd.

Mr. W. Evans.

Yn nechreuad y cant hwn, Mr. William Evans, yr hwn oedd gwedi cael rhan o'i ddygiad i fynu yn athrofa Mr. R. Prydderch, yn Ystradwalter,[a] ac wedi ei urddo yn weinidog Pencader, a symudodd i Gaerfyrddin. A chan nad oedd gan yr Ymneillduwyr un athrofa yn y parthau hyny yn ol marwolaeth Mr. R. Prydderch, llwyddwyd gydâ Mr. W. Evans i osod athrofa i fynu yn Nhref Caerfyrddin lle yr oedd efe yn awr yn weinidog; a dyna ddechreuad yr athrofa ag sydd yno yn bresennol. Cyfrifid Mr. W. Evans yn wr duwiol dysgedig, a bu yn offerynol i ddwyn i fynu lawer o wyr ieuaingc a fu yn enwog yn eu dydd.

Dechreuad athrofa Caerfyrddin.

Marwolaeth Mr. T. D. Rees.

Oddiamgylch i'r amser hyn y bu farw Mr. Thomas

[a] Rhagymadrodd Gemau Doethineb.

Thomas David Rees, o Foyddyn, yn mhlwyf Llanarth. Bu y gwr hwn dros ychydig o amser yn aelod o eglwys yr Independiaid yn sir Aberteifi, ac yn gynnorthwywr i Mr. Stephen Hughes. Ond oblegid i Mr. Hughes unwaith, pan aeth i Landyssil i bregethu yn amser yr erledigaeth, fyned i eglwys y plwyf, i wrando yr offeiriad cyn pregethu ei hun; ac oblegid na chyfaddefai Mr. Hughes fod hyny yn feius ynddo, nac addaw ychwaith i beidio gwneuthur felly o hyny allan, Mr. T. D. Rees, ac ereill, a ymadawsant â'r Independiaid, ac a unasant âg eglwys y Bedyddwyr, ag sydd yn awr yn cyfarfod yn Rhydwylim, y flwyddyn y corpholodd yr eglwys hono. Yn fuan gwedi i Mr. T. D. Rees uno â'r Bedyddwyr, cafodd ei urddo yn weinidog, a bu yn cyd-weinidogaethu â Mr. W. Jones, a Mr. Griffith Howells, dros lawer o flynyddoedd. Gan fod yr eglwys hono mor wasgaredig, dywedir fod Mr. G. Howells yn blaenori yn y gangen hono ag oedd yn cyfarfod yn Rushacre, yn mhlwyf Arberth; Mr. T. D. Rees, yn y gangen ag oedd yn cyfarfod yn Glandwr, gerllaw ei dŷ ei hun; a bod Mr. W. Jones yn blaenori trwy yr holl eglwys. Dywedir i Mr. T. D. Rees, a Mr. G. Howells, gael eu dirwyo lawer gwaith am beidio myned i wrando i eglwys y plwyf, ac iddynt hefyd gael ei carcharu. Gwedi marwolaeth Mr. T. D. Rees, symudwyd yr addoliad o Glandwr

CANT XVIII.

CANT XVIII.

Beddrod y Bedyddwyr yn sir Aberteifi a sir Gaerfyrddin.

Glandwr i Rosgoch, yn mhlwyf Llanarth. Yr oedd eglwys y Bedyddwyr ag oedd yn cyfarfod yn Rhosgoch, yn claddu eu meirw mewn lle a elwir Penylannoeth, gerllaw Moyddyn. Ac yr oedd yr eglwys ag oedd yn cyfarfod yn y Felindref, ymhlwyf Llanllwni, yn claddu eu meirw gerllaw y Bwlchog, yn mhlwyf Llanfihangel-yeroth.

Marwolaeth Mr. Gregory.

Yn nghylch yr amser hyn y bu farw Mr. Henry Gregory, gweinidog enwog yn mhlith y Bedyddwyr. Cafodd Mr. Gregory ei ddychwelyd at yr Arglwydd yn ieuangc, ac unodd âg eglwys Mr. Hugh Evans. Ychydig o amser yn ol marwolaeth y gwr enwog hwnw, cafodd Mr. Gregory ei ddewis yn weinidog yn ei le. Gan fod yr eglwys yn lluosog a gwasgaredig, yr oedd Mr. Thomas Evans, Mr. Peter Davies, Mr. John Price, o Maesygelli, a gwyr enwog ereill, yn gynnorthwywyr i Mr. Gregory, dros lawer o flynyddoedd. Nid ymddengys iddo erioed sefydlu yn weinidog eglwys plwyf, ac oblegid hyny nid yw yn cael ei enwi yn mhlith y gweinidogion didwol, er iddo ddyoddef llawer o erledigaeth. Yr oedd yr eglwys yn ei amser ef yn cyfarfod yn Llanddewi Ystradenu, yn sir Faesyfed. Yr erlidwyr unwaith a ruthrasant ar dy Mr. Gregory, ac a gymmerasant ei holl anifeil-

iaid

a Hanes y Bedyddwyr.

iaid ond un fuwch, yr hon a adawsant fel ag y gallasai ei blant gael ychydig o laeth. Dangosasant gwedi hyny nad oedd tosturi y drygionus ond creulon; canys pan oedd Mr. Gregory oddi cartref, dygasant ymaith y fuwch hefyd. Pan ddychwelodd Mr. Gregory a gweled ei wraig mewn galar, efe a ddywedodd wrthi, "Na ofidiwch, fy anwylyd, Rhagluniaeth yn ddiau a ddarpar i ni fuwch etto." Yn fuan gwedi hyn boddodd un o'r bobl a ddygasai ymaith anifeiliaid Mr. Gregory mewn rhyd yn agos i'w dŷ ef; a chafodd un arall ei ysu gan bryfed, a bu farw yn druenus. Parhaodd Mr. Gregory yn ffyddlon hyd angau, gan gadw ei hun yn ddifrycheulyd mewn cenedlaeth bechadurus a throfaus.[a]

CANT XVIII.

Dyoddefiadau Mr. Gregory.

William y trydydd, gwedi teyrnasu pedair blynedd ar ddeg, a fu farw, an Anne, tywysoges Denmark, a merch Iago yr ail, a deyrnasodd yn ei le ef. Cynnygwyd cyfyngu rhagorfreintiau yr Ymneillduwyr y flwyddyn hon, a'r un ganlynol, ond nis llwyddwyd.

Marwolaeth y brenin William III. O. C. 1702.

Ganwyd Mr. James Owen yn y Bryn, yn mhlwyf Abernant, yn agos i Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1654. Gwedi bod dros ychydig o amser mewn ysgol yn y wlad, cafodd ei anfon at

Bywyd Mr. James Owen.

Mr.

[a] Richard's Life of H. Gregory.

CANT XVIII.



Mr. Picton, un o'r Crynwyr, ag oedd yn hyfforddi plant yn Nghastell Caerfyrddin. Oddi yno cafodd ei anfon i'r ysgol-rydd yn y dref hono, ag oedd y pryd hyny dan ofal Mr. David Phillips. Cynnyddodd i'r fath raddau yn yr ysgol hono, fel ag y daeth i fod yn anwylyd ei athraw ardderchog, yr hwn a'i cyfrifai yn llangc gobeithiol anghyffredin. Cymmaint oedd ei awydd am wybodaeth fel ag yr oedd yn ymarferid y diwydrwydd mwyaf i'w gyrhaeddyd; gan wybod nad oes dim ffrwyth yn yr hydref os na bydd blaguriad yn y gwanwyn. O'r amser ag oedd yn dair ar ddeg oed, nid oedd ganddo ddim blas ar chwarau, nac un difyrwch plentynaidd arall. Yn nghylch yr amser hyn y clywodd efe y bregeth gyntaf gan Ymneillduwr oddiwrth Mal. iv. 1. Cafodd y bregeth hono ei bendithio er lleshad trag'wyddol i'w enaid. Ac er mor foesol oedd gwedi byw trwy ei holl fywyd, gwnaeth yr olwg a gafodd y pryd hyny ar ei gyflwr drwg fel pechadur, iddo dreulio llawer o ddyddiau mewn ympryd a gweddi; a chymmaint oedd ei ofnau, fel ag yr oedd yn gorwedd nosweithiau cyfan ar y llawr noeth, gan ymostwng mewn dagrau wrth draed yr Iesu. Gwedi parhau felly dros ryw amser, gwelodd Duw fod yn dda i symud ei ofnau, a'i lanw o lawenydd a gorfoledd. Pan orphenodd fyfyrio yn ysgol-rydd Caerfyrddin, aeth i athrofa yr

Dychweliad Mr. Owen.

enwog

enwog Mr. Samuel Jones, o Brynllwarch, yn sir Forganwg. Bu mor ddiwyd yn yr athrofa hono, fel y dywedai ei athraw dysgedig ei fod yn deilwng o'r enw Astudiwr diorphwys. Gwedi ymadael â'r athrofa hono, aeth dros ychydig o amser at ei dad-bedydd, Mr. James Howells, offeiriad o eglwys Loegr, yr hwn a gymmerodd lawer o boen i'w berswadio i gydymffurfio, ond nis llwyddodd. Ystyriodd Mr. Owen y pwngc o ymneillduaeth gydâ y manyldra mwyaf, fel ag yr oedd yn Ymneillduwr o gydwybod. Efe a ddechreuodd bregethu yn Abertawe fel cynnorthwywr i Mr. S. Hughes, gydâ llawer o dderbyniad; ac er ei fod mewn perygl bob dydd o gael ei garcharu, nid oedd arno nac ofn na chywilydd yn ngwaith yr Arglwydd. Yn nghylch yr amser hyn Mr. Henry Maurice a gymmerodd sylw neillduol o Mr. Owen, ac a'i hannogodd ef, oblegid yr erledigaeth, i fyned i Ogledd Cymru. Er mor anhawdd oedd gan Mr. S. Hughes i fadael â gwr ieuangc mor dduwiol, dysgedig, a doniol; etto ar gais Mr. Maurice efe a adawodd iddo fyned. Gwedi 'madael âg Abertawe, Mr. Owen a sefydlodd yn Bodwel, yn sir Gaernarfon, ond cyn iddo fod yno yn hir, dechreuwyd ei fygwyth â dirwy ac â charchar. Yr oedd ei weinidogaeth yn dderbyniol iawn, a phan nad oedd yn nghylch ei waith cyhoeddus, arferai i fyfyrio un awr ar

CANT XVIII.

Mr. Owen yn gynnorthwywr i Mr. S. Hughes.

CANT XVIII.



Diwydrwydd Mr. Owen.

bymtheg o bob pedair awr ar hugain. Gwedi bod yn y wlad hono fel carcharor oddiamgylch i naw mis, aeth liw nos at yr enwog Mr. Hugh Owen, o Broncydwr, yn sir Feirionydd. Ni wnaeth yr annogaeth a gafodd efe i sefydlu yn y wlad hono, ond cynnyddu yr erledigaeth yn ei erbyn, yr hyn a barodd iddo o'r diwedd i benderfynu i fadael. Yn y flwyddyn 1676, cafodd alwad i Swiney, yn agos i Groesyswallt, lle y sefydlodd fel caplan i Mrs. Baker, yr hon oedd wraig o dduwioldeb mawr. Yr oedd hefyd yn pregethu i gynnulleidfa o gristianogion yn, ac oddiamgylch i Groesyswallt, lle yr oedd Mr. Rowland Nevet gwedi bod yn weinidog ddeng mlynedd ar hugain. Gwedi pregethu yno fel

Urddiad Mr Owen.

prawf-ddyn, cafodd ei gymmeradwyo a'i urddo yn weinidog yn y flwyddyn 1677. Cymmaint oedd sel Mr. Owen yn ngwaith ei Arglwydd, fel ag yr oedd yn teithio yn fynych i barthau tywyll Cymru i bregethu yr efengyl. Fel ag yr oedd unwaith yn myned o Gaerlleon i bregethu yn y Treythyn, yn sir Fflint, ac yn anwybodus o'r ffordd, galwodd wrth dafarn-dŷ i gael cyfarwyddyd. Dygwyddodd fod cymdeithas o foneddigion yno yn yfed y pryd hyny, a phan glywsant ei lais, un o honynt ag oedd yn elyn mawr i'r Ymneillduwyr a ofynodd i Mr. Owen, I ba le yr ewyllysiai efe gael ei gyfarwyddo, a chyda y parodrwydd mwyaf a ddangosodd iddo

y

CANT XVIII.

y ffordd. Er mor ochelgar oedd Mr. Owen, tybiodd y gwrboneddig mai pregethwr oedd, a'i fod i bregethu yn y fan lle yr oedd yn myned; a chytunodd â'i gyfeillion i fyned dranoeth i'r gymmydogaeth hono dan ffug o heboca neu ryw ddifyrwch arall, fel y gallent weled i ba le y byddai y bobl yn myned. Dranoeth gwedi myned yno, a gweled y bobl yn myned i dŷ un Thomas Fenner, yn agos i'r Treythyn, hwy a ruthrasant i'r tŷ, ac a aflonyddasant y gynnulleidfa ar yr addoliad. Tra yr oedd rhai o honynt yn gwilio y drysau, ereill a ddaliasant Mr. Owen, a phan welsant fod Geiriadur Ysgrythyrol gwedi ei rwymo gydâ'i Fibl, tyngasant mai Bibl anghyfreithlon oedd, ac y cai ddyoddef am hyny. Gwedi edrych ar ei bregeth ef a methu ei deall oblegid ei bod yn y iaith Lladin, tyngasant mai Pabydd oedd, ac y profent hyny. Gwedi bygylu llawer ar Mr. Owen a'r bobl, daeth yr hedd-geidwad ac a'u cymmerodd hwynt oll i dref Mould. Pan ddaethant yno, anfonwyd am yr Ustus Heddwch, yr hwn a ymddygodd yn dra sarug tuag at Mr. Owen a'i gyfeillion. Dywedodd yr offeiriad mai pregeth ar Can. v. 16. oedd yr ysgrifen Lladin o eiddo Mr. Owen. Gwedi llawer o ddrwg-driniaeth, cafodd Mr. Owen a gwr y tŷ lle y bu yn pregethu eu hanfon i garchar Caerwys, a rhwymwyd y gwrandaw-wyr oll i ymddangos yn yr eisteddfod

Carchara Mr. Owen.

CANT XVIII.



fod trimisol. Tra bu Mr. Owen yn y carchar, dangosodd ceidwad y carchar lawer o garedigrwydd iddo; a daeth llawer o offeiriaid i'w weled; ac ni allasai ei wrthwynebwyr lai nâ chanmol ei ddoniau mawr. Bu Mr. Owen yn y carchar oddiamgylch tair wythnos, ond nid oedd yn segur yno, canys treuliai oddiamgylch pedair neu bum awr bob dydd i weddio, pregethu, ac esponio yr ysgrythyrau i'w gyd-garcharorion ac ereill. Pan wybu ei wrthwynebwyr hyn, gorchymynasant i gadw drws y carchar yn nghlo, ac na byddai i neb gael myned i mewn i wrando pregethau, nac uno mewn un rhan o addoliad crefyddol. Er i geidwad y carchar orfod ufuddhau, ni ddychrynwyd y bobl, canys casglent oddiamgylch y ffenestri ar yr amser arferol i wrando ar Mr. Owen yn pregethu. Pan oeddent yn anobeithio cael eu rhydd-did, anfonodd Mr. John Evans, o Wrecsam, eu hachos at gyfreithiwr enwog, yr hwn a farnodd eu bod gwedi eu carcharu yn anghyfiawn. Gwedi gwneuthur hyn yn adnabyddus i'r Ustusiaid yn yr eisteddfod tri misol, syrthiodd yr holl fai ar yr Ustus hwnw a'u hanfonodd i garchar; yr hwn, pan wybu ei berygl, a roddodd orchymyn i geidwad y carchar i ollwng y carcharorion yn rhydd. Llawer a gynghorent Mr. Owen i gospi yr Ustus anghyfiawn, ond efe a wrthododd, gan ddewis yn hytrach i adael yr achos

Maddeugarwch Mr. Owen.

achos i law Duw, yr hwn sydd Farnwr cyfiawn. Pan welodd yr Ustus anghyfiawn fod Mr. Owen yn wr heddychlon, ac nad oedd yn dewis dilyn y gyfraith, efe, gydâ y diffeithder mwyaf gwedi i'r eisteddfod tri misol fyned heibio, a ddirwyodd Mr. Owen, gwr y tŷ, a'r gwrandaw-wyr; ac yn fuan gwedi hyny, cymmerodd eu meddiannau i dalu y dirwy. Dyoddefodd Mr. Owen y pethau hyn gydâ y gwroldeb a'r amynedd mwyaf. Yn un o'i lythyrau o'r carchar at ei berthynasau, efe a sylwodd fel hyn: "Os nad yw yr efengyl yn deilwng i ddyoddef drosti, nid yw yn deilwng i gael ei phregethu. Mae yn wir yn anrhydedd gwedi i ni i bregethu y gwirionedd i gael ein galw i ddyoddef drosto."

CANT XVIII.

Yn y flwyddyn 1679, Mr. Owen a briododd Sarah George, yn Nghroesyswallt, yr hon oedd ferch enwog iawn mewn duwioldeb, ac yn mhob ystyriaeth yn deilwng o'r fath briod. Bu iddynt saith o blant. Yn nghylch yr amser hyn symudodd cynnulleidfa Swiney i Groesyswallt, lle yr oedd Mr. Owen yn awr mae yn debygol yn byw; a lle y bu dros ugain mlynedd yn llafurio yn y gair a'r athrawiaeth. Ar farwolaeth Mr. Bryan yn y flwyddyn 1699, Mr. Owen a symudodd i'r Mwythyg, lle y bu yn weinidog ac yn athraw, hyd ddydd ei farwolaeth. Tra yr oedd Mr. Owen yn cyflawnu dyledswyddau y

Mr. Owen yn symud i'r Mwythig

weinidogaeth

CANT XVIII. weinidogaeth gydâ ffyddlondeb a derbyniad, yr oedd hefyd yn barchus iawn fel athraw. Yr oedd gwedi bod yn hyfforddi gwyr ieuaingc i waith y weinidogaeth yn Nghroesyswallt, ac yr oedd ynddo addasrwydd hynod i'r gwaith. Yr oedd ei gynneddfau naturiol yn gryf, ei ddysgeidiaeth yn helaeth, a'i dduwiolrwydd uwchlaw mesur. Fel difeinydd, ieithydd, celfyddwr, a hanesydd, yr oedd Mr. Owen uwchlaw y cyffredin. Pan wybu Mr. Owen fod dydd ei ymadawiad yn nesâu, efe a annogodd ei ysgoleigion yn y modd mwyaf cariadus i gyflwyno eu holl fywyd i wasanaeth Duw, ac eneidiau dynion. "Ni fynwn i ddim, eb efe, er deng mil o fydoedd, i fyw ond fel ag y buais. Yn awr yr wyf yn mwynhau cysuron y cyfryw fywyd, ac ni fyddwn, er y byd, heb y cysuron dwyfol hyn ag sydd yn awr yn fy lloni." Gwedi dywedyd llawer o bethau ereill ag oedd yn profi ei fod mewn heddwch â Duw, ac mewn mwynhâd o lawn sicrwydd gobaith, Mr. James Owen a hunodd yn yr Arglwydd, yr wythfed dydd o Ebrill, y flwyddyn hon, yn y deuddegfed flwyddyn a deugain o'i oed; ac a gladdwyd yn eglwys St. Chad, yn y Mwythig. Mr. Owen a ysgrifenodd lawer o lyfrau yn Gymraeg ac yn Saesneg. Heblaw y Traethawd ar Fedydd, efe a ysgrifenodd y llyfrau canlynol yn Gymraeg. Trugaredd a Barn; Cyfieithiad o Gatecism y



Marwolaeth Mr. Owen. O. C. 1706.

Gymmanfa;

Gymmanfa; a llyfr bychan ar Ddyledswydd Gweinidogion a Phobl.[a] CANT. XVIII.

Er mor flin yw ymraniadau mewn eglwysi i bawb sydd yn caru tangnefedd ac undeb, mae Pen mawr yr eglwys rai troion yn eu goruwchlywodraethu er helaethiad ei achos. Y flwyddyn hon a'r ddwy ganlynol, bu anghydfod galarus yn eglwys Henllan, yn sir Gaerfyrddin, mewn canlyniad i wahanol olygiadau ar athrawiaethau gras. Er ymdrechu mewn amryw gyfarfodydd i wneuthur heddwch rhwng y ddwy blaid wrthwynebol, ymranodd yr eglwys; a'r cyfryw a ymadawsant a osodasant addoliad i fynu yn Rhydyceisied, ac oddiyno y tarddodd eglwys Glandwr. Yr oedd Mr. Lewis Thomas, Mr. Henry Palmer, a Mr. Matthias Maurice, yn mhlith y rhai a aethant i Rydyceisied; ond dychwelodd Mr. H. Palmer yn ol i Henllan drachefn, a chafodd ei urddo yn weinidog yno yn y flwyddyn 1721, gwedi ymadawiad Mr. Jeremiah Owen, mab Mr. David Owen yr hen weinidog.[b] Y flwyddyn hon y bu farw Mr. Morgan Williams, yr hwn ddewiswyd yn weinidog Tredustan yn ol marwolaeth Mr. Rees Prydderch.[c] Ymraniad yn Henllan. O. C. 1707.

Yr oedd y frenines Anne gwedi bod yn ffafriol O. C. 1707.

[a] James Owen's Life. [b] Hanes eglwys Rhydyceisied.

[c] Tredustan Church Book.

CANT XVIII.

Cyfreithiau caeth. O. C. 1711.

riol i'r Ymneillduwyr dros lawer o flynyddoedd, ond yr oedd plaid y brenin Iago yr amser hyn gwedi ennill y fath awdurdod yn y llys, fel ag y gwnaethpwyd cyfraith y flwyddyn hon, i rwystro pawb mewn swyddau dan y llywodraeth i fyned i dŷ cyfarfod. Gelwir y gyfraith hono, Bil y Cydffurfiad achlysurol. Dwy flynedd yn ol hyn, cafodd y Sism-Bil gydsyniad y freninea. Yn ol y gyfraith hono ni oddefid i neb o'r Ymneillduwyr ddysgu eu plant eu hunain, ac nid oedd i un ysgol-feistr i fyned i un lle o addoliad o eiddo yr Ymneillduwyr. Yr oedd y gyfraith gaeth hon i'w gosod mewn grym ar y dydd cyntaf o Awst, y flwyddyn hon. Ond gwelodd Duw fod yn dda i alw y frenines i dragywyddoldeb ar y dydd hwnw, a chafodd Siors y cyntaf yr hwn oedd gyfaill ffyddlon i rydd-did gwladol a chrefyddol, ei gyhoeddi yn frenin Brydain; a diddymwyd y Sism-Bil yn y pummed flwyddyn o'i deyrnasiad.

Marwolaeth Anne. O. C. 1714.

Cynnydd yr Ymneillduwyr. O. C. 1715.

Mae yn debygol fod achos yr Ymneillduwyr yn myned ar gynnydd trwy holl Gymru yr amser hyn, yn neillduol yn y Deheubarth, a bod yn eu plith lawer o weinidogion duwiol, dysgedig, a ffyddlon. Dywedir fod o leiaf chwech ar hugain o gynnulleidfaoedd y Presbyteriaid a'r Independiaid, a naw o gynnulleidfaoedd y Bedyddwyr digymmysg yn Nghymru, y pryd hyn.

Ychydig

Ychydig o flynyddoedd yn ol hyn, Dr. Hoadley, esgob Bangor, a bregethodd ger bron y brenin, ar freniniaeth Crist. Yn y bregeth hono dangosodd nad oedd teyrnas Crist o'r byd hwn, ac na wnaeth Crist esgobion yn arglwyddi, ac na roddodd efe iddynt yr awdurdod a honent fod ganddynt. Ysgrifenodd lyfr gwedi hyny yn erbyn traws-lywodraeth dymhorol ac ysbrydol, a dywedodd lawer am yr angenrheidrwydd o ddiwygio gwasanaeth eglwys Loegr. Cafodd ei wrthwynebu i'r eithaf gan Dr. Sherlock, Dr. Trapp, ac ereill, ag oedd dros ddull presennol eglwys Loegr. Ond ymddiffynodd y llywodraeth ef, ac ni wnaethpwyd iddo ddim niweid. CANT XVIII.

Y flwyddyn hon y bu farw y dysgedig Henry Rowland, B. A. o sir Fon. Yr oedd Mr. Rowland yn henafiaethydd da, ac efe a ysgrifenodd y llyfr rhagorol hwnw, a elwir Mona Antiqua Restaurata.[a] Y flwyddyn yn ol hon, y gorphenodd Dr. Hugh May, o'r Fenni, ei yrfa. Ar symudiad Mr. Thomas Cole, gweinidog yr Independiaid yn y Fenni, i sir Gaerloyw, cafodd Dr. May ei urddo yn weinidog yn ei le ef, yn y flwyddyn 1719. Dywedir mai ar ddydd ei urddiad y cafodd Dr. May ei wir ddychwelyd at yr Arglwydd. Gwedi gorphen y gwasanaeth aeth y gweinidogion i giniaw; a phan welsant O. C. 1722.

4 I nad

[a] Cam. Biog.

CANT XVIII.


nad oedd Dr. May yn eu plith, hwy a ymofynasant am dano, a chawsant ef yn ei ystafell ddirgel yn wylo dagrau yn hidl, a chyfaddefodd wrthynt, na wyddad efe ddim yn gadwedigol am grefydd hyd y dydd hwnw. Bu yn weinidog ffyddlon a llwyddiannus o'r dydd hwnw hyd ddydd ei farwolaeth.*

Y brenin, y flwyddyn ar ol hon, yn ystyried fod yr Ymneillduwyr yn ddeiliaid ffyddlon i'r llywodraeth, ac etto yn gorfod cynnal eu crefydd eu hun, a lwyddodd gyda'r senedd i roddi iddynt oddiamgylch dau cant ar bymtheg o bunnau yn flynyddol o hyny allan. Gelwir yr arian hyn yn Regium Donum,* ac y maent yn cael eu hymddired i flaenoriaid y Presbyteriaid, yr Independiaid, a'r Bedyddwyr, i'w cyfranu i weinidogion tlodion ac anghenus perthynol i'w cynnulleidfaoedd.

O. C. 1726. Yr oedd Arminiaeth ar gynnydd yn Nghymru y dyddiau hyn, a bu dadl fawr rhwng Mr. Jenkin Jones, yr hwn oedd wedi ei urddo y flwyddyn hon yn weinidog yn Llwynrhydowen, â Mr. James Lewis, o Bencader, yn nghylch etholedigaeth, prynedigaeth, pechod gwreiddiol, gras effeithiol, a pharhad mewn gras.† Mr. Abel Francis, hefyd,

* Llythyr Mr. Harries. * Rhodd Freninol.

† Yr oedd Mr. James Lewis, o Bencader, wedi ei urddo

hefyd, gweinidog y Bedyddwyr yn Nghastell- CANT XVIII.
newydd, a gyfnewidiodd yn ei farn yr amser hyny, ac a unodd â Mr. Jenkin Jones i ymddiffyn Arminiaeth. Gwedi i Mr. A. Francis fyfyrio llawer ar y pynciau mewn dadl, efe a argraffodd lyfr yn cynnwys ei farn arnynt, a elwir Gair yn ei bryd. Dywedir ei fod yn y llyfr hwnw yn ymresymu yn fwynedd a serchog, fel un yn llawn cariad at Grist a'i wirioneddau, yn nghyd âg eneidiau dynion. Yn ol ychydig o flynyddoedd ymadawodd Mr. A. Francis â'r Bedyddwyr, ac a unodd â'r Presbyteriaid âg oedd o'r un farn ag ef ei hun.[a] Bu farw Mr. John Powell, o Dredustan, y flwyddyn hon. O. C. 1729.
Cafodd Mr. Powell ei urddo yn y flwyddyn 1708, a dywedir ei fod yn ysgolhaig da, ac yn bregethwr llwyddiannus.[b] Yr un flwyddyn hefyd y bu farw Mr. Lewis Richards, o'r Fronlas, gweinidog eglwys yr Independiaid yn Nghappel y Graig, yn mhlwyf Trelech. Yr oedd Mr. Richards yn wr duwiol a llafurus iawn yn y weinidogaeth; ac mae yn debygol mai efe oedd y gweinidog cyntaf a urddwyd gan



yn y flwyddyn 1706, ychydig flynyddau gwedi symudiad Mr. W. Evans i Gaerfyrddin. Ac y mae yn debygol i'r ddadl uchod gymmeryd lle yn fuan gwedi i bobl Llwynrhydowen neillduo o Bantycreiddin.

[a] Hanes y Bedyddwyr, p. 382. [b] Tredustan Church Book.

CANT XVIII.



yr eglwys hono, a'i fod yn un o'r aelodau pan gafodd yr eglwys ei chorpholi.[a]

Cymmanfa Hengoed O. C. 1730.

Bu dadl, nid bychan, yn nghymmanfa y Bedyddwyr yn Hengoed, yn sir Forganwg, y flwyddyn hon, oblegid fod Mr. Charles Winter, a rhai ereill yn yr eglwys hono, yn arddel Arminiaeth. Yr oedd Mr. C. Winter yn wr o blwyf Bedwellty, yn sir Fynwy, ac yn aelod yn Hengoed. Gwedi ei ddwyn i fynu yn athrofa Caerfyrddin, cafodd ei ddewis gan eglwys Hengoed i fod yn gynnorthwywr i'w gweinidog Mr. Morgan Griffiths. Pan gyfarfu y gweinidogion, gofynodd Mr. John Harry, gweinidog Blaenegwent, Pa beth oedd i'w wneuthur i'r cyfryw ag oedd yn credu prynedigaeth gyffredinol, ewyllys-rydd, ac y gallasai dyn fod yn gadwedig heb ras Duw? Pan glybu Mr. Winter hyny, efe a safodd i fynu, ac a ddywedodd, "Cyfeirio yr ydych yn ddiammau attaf fi a'r ychydig bobl ag sydd yn dal yr un egwyddorion â mi, am hyny yr ydwyf yn teimlo rhwymau arnaf i haeru i Grist farw dros bawb, a bod ewyllys dyn yn rhydd i ddewis da neu ddrwg. Ond nid wyf yn dysgwyl cael fy nghadw ond trwy ras Duw, canys effeithiau gras yw iechydwriaeth a'i holl fendithion." Gwedi dadleu llawer, gorchymynwyd i Mr. Winter, a'i gyfeillion

[a] Llythyr Mr. Jones.

eillion fyned allan; yna gorphenwyd y cyfarfod gydâ llawer o annhrefn. Mr. Winter gwedi hyn a osododd ei law wrth erthyglau ffydd a osodwyd ger ei fron, a bu yn llafurio yn Hengoed hyd farwolaeth Mr. Morgan Griffiths. Gwedi marwolaeth Mr. M. Griffiths, gwrthododd eglwys Hengoed wneuthur dewisiad o Mr. Winter yn weinidog iddynt: ac er nad oedd ganddynt ddim yn erbyn ei dymher na'i foesau, torasant ef a phedwar ar hugain o'r aelodau allan, oblegid eu daliadau. Mr. Winter, gwedi ei dori allan o Hengoed, a bregethodd mewn tai yn y gymmydogaeth, lle y cawsai annogaeth; ac yn mhen ychydig o flynyddoedd efe a adeiladodd y tŷ cyfarfod, a elwir Craigfargod, lle y bu yn llafurio yn agos hyd ddydd ei farwolaeth.[a] CANT XVIII.

Yr oedd Mr. Griffith Jones, o Landowror, yn sir Gaerfyrddin, yn offeiriad llafurus a defnyddiol iawn yr amser hyn. Heblaw Llandowror a Llandeilo Abercowin, yr oedd Mr. Jones yn gweinidogaethu yn achlysurol yn eglwys Llanllwch, gerllaw Caerfyrddin. Dan ei weinidogaeth ef yn Llanllwch, y cafodd Miss Bridget Vaughan, merch y Derllysg, yn mhlwyf Merthyr, gwedi hyny Mrs. Bevan, o Laugharne, ei thueddu i ymofyn am wir grefydd. Arferai Mr. Griffith Jones ddarllen y gwasanaeth yn fisol, ar y dydd Sadwrn Mr. G. Jones, o Landowror.

wrn

[a] Monthly Repos. Vol. I.

CANT XVIII.



wrn o flaen y Sabbath y cyfranai ordinhad swper yr Arglwydd. Ar ol darllen yr ail lith, gofynai a oedd neb yn y gynnulleidfa gwedi dal sylw ar un adnod yn y pennodau a ddarllenodd. Gwedi i ryw rai enwi adnod neu adnodau, yna yr eglurai yntau yr adnodau mewn modd goleu a deallus. Gwedi hyny holai y rhai fyddai yn dyfod o'r newydd i'r ordinhad, 1. Yn nghylch gwaith Ysbryd Duw ar eu heneidiau; 2. Am eu gwybodaeth o athrawiaethau yr efengyl; 3. Am eu bucheddau. Byddent yn dyfod o bob parth o'r wlad i wrando arno, ac i gyfranogi o'r swper santaidd gydâg ef; ac yn aml byddai o bymtheg i ddeg ar hugain yn cael eu holi ganddo yn gyhoeddus, er mawr adeiladaeth i'r gwrandawwyr, cyn eu derbyn i gymundeb. Ond y rhan fwyaf o'r rhai ag oedd eisiau y cyfryw addysgiadau arnynt a safent yn ol, yn enwedig dynion gwedi tyfu i fynu a heneiddio mewn anwybodaeth. I feddyginiaethu hyn, o leiaf yn mhlith y tlodion, cyhoeddodd ar y Sabbath y byddai bara yn cael ei gyfranu ar y Sadyrnau misol hyn i'r tlodion, gwedi ei brynu â'r arian a dderbynid wrth weinyddu y cymun. Pan ddoent i dderbyn y bara, gosodai hwynt yn rhes, a gofynai iddynt ychydig gwestiynau mwyaf hawdd eu hatteb, mewn dull caredig rhag eu dyrysu a'u cywilyddio. Ac er eu cynnydd mewn gwybodaeth o'r ysgrythyrau, rhoddodd arnynt ddysgu

adnod

adnod neu ddwy o'r Bibl i'w dywedyd yn gyhoeddus yn yr eglwys cyn derbyn y bara; fel yr aeth yn ddefod i bob un adrodd adnod cyn derbyn y dorth fara. Yn y ffordd hon daeth Mr. G. Jones yn hysbys o'r anwybodaeth mawr sydd yn mhlith y bobl nas gallent ddarllen, a bu hyny yn ofid calon iddo. Gwedi hir brofiad o'r dull hwn dros amryw flynyddoedd, daeth i'w feddwl, fel peth dymunol, yn hytrach na gobeithiol, i osod i fynu ysgolion rhad Cymreig. A'r arian a dderbynid wrth yr ordinhad, gosododd i fynu yn gyntaf un ysgol, ac wedi hyn dwy; attebodd y rhai hyn y dyben mor rhagorol, fel y buont yn annogaeth i osod i fynu ychydig yn ychwaneg; a daeth rhagluniaeth yn ddaionus â modd i'w cynnal. Gwelodd yr Arglwydd fod yn dda i gynnyddu eu llwyddiant a'u rhifedi, a buont o fendith fawr i'r Cymry mewn amrywiol ystyriaethau, dros lawer o flynyddoedd. Y Gymdeithas anrhydeddus tuag at daenu gwybodaeth Gristianogol, a gynnorthwyodd yr ysgolion yn haelionus âg anrhegion o Fiblau, a miloedd o lyfrau ereill. Ar rai achosion byddai hefyd yn cyfranu at gynnaliaeth teuluoedd tlodion, tra byddent yn rhoddi eu hamser i fod yn yr ysgol.*

CANT XVIII.

Dechreuad yr ysgolion olusengar cylchynol. O. C. 1730.

Y flwyddyn hon y bu farw Mr. James James, gweinidog

Dyoddefiadau a Marwolaeth Mr. James. O. C 1734.

* Trysorfa, Rhif. I.

CANT XVIII. gweinidog enwog yn mhlith y Bedyddwyr. Dywedir mai gwr o sir Gaerfyrddin oedd Mr. J. James, a'i fod o dylwyth da. Gwedi uno â'r eglwys Rhydwilym, efe a gyflwynodd ei hun i waith y weinidogaeth, a chafodd ei urddo yn weinidog i'r eglwys hono. Aeth Mr. James i fyw i Landyssil. Yn amser yr erledigaeth cyhoeddwyd dydd o ympryd a gweddi, ar ryw achos neillduol, ond rhoddwyd gorchymyn na byddai neb i bregethu ar yr achlysur: ac os pregethai neb, fod iddo dalu deugain punt o ddirwy. Cynnaliodd y Bedyddwyr gyfarfod gweddi y dydd hwnw, a gwnaeth Mr. James James ragymadrodd ar ddechreu y cyfarfod, i ddangos ei ddyben a'r dull y dylasai gael ei gadw. Mewn canlyniad i hyn dywedwyd iddo bregethu, a daeth un at wr y tŷ, ac a ddywedodd fod rhaid iddo dalu deugain punt o ddirwy. Gan nad oedd yr arian gan wr y tŷ i'w talu lawr, cymmerwyd ei anifeiliaid. Gwr y tŷ, pan welodd hyny, a fenthyciodd yr arian, a chafodd ei anifeiliaid yn ol; a rhoddodd gyfraith ar ei wrthwynebwyr am gymmeryd ei arian yn anghyfiawn. Awd â'r mater i'r eisteddfod trimisol yn Llanbedr, ac wedi hir ddadleu, penderfynwyd fod y gwr yn cael cam, a gorfu arnynt dalu yn ol y deugain punt ar yr amser. Ar hyn dywedodd y cyfreithiwr ag oedd gwedi colli y dydd, "Tra byddo y fraich yma

wrth

CANT XVIII.

wrth fy nghorph, myfi a fyddaf yn erbyn y blaid hon." Ar hyn tarawodd dolur yn ei fraich, a dywedir na wellodd mo honi, nes pydru oddiwrth ei gorph a marw o hono. Er i Mr. James ddyoddef llawer, nid oes dim hanes iddo gael ei garcharu.*

Nid ymddengys fod, hyd yn hyn, un blaid grefyddol o ddim enwogrwydd yn Nghymru, ond Eglwyswyr, Presbyteriaid, Independiaid, Bedyddwyr, a'r Crynwyr. Ond mewn canlyniad i gynnydd y diwygiad ag oedd yn awr yn dechreu cymmeryd lle yn eglwys Loegr, mewn rhai lleoedd, cyfododd plaid newydd yn Nghymru, a elwir Methodistiaid. Yr achlysur o'r enw hwn oedd fel y canlyn: Pan oedd Mr. John Wesley yn athrofa Rhydychen, cytunodd efe ac ychydig o wyr ieuaingc difrifol, yn y flwyddyn 1729, i gyfarfod â'u gilydd ar brydnawnau i ddarllen y Testament Groeg, a llyfrau ereill. Mewn ychydig o amser gwedi hyny, cytunasant i fyned i ymweled â'r carcharorion yn y carchar unwaith bob wythnos. Pan welsant fod eu gwasanaeth yn gymmeradwy, a'u cynghorion yn llesiol i'r carcharorion, cytanasant i fyned oddiamgylch y ddinas, i ddarllen a gweddio gydâ y tlodion yn eu cystuddiau, a rhoddi ychydig arian iddynt at brynu lluniaeth a physygwriaeth.



* Hanes y Bedyddwyr, p. 337, 367, 395.

CANT XVIII. O.C. 1735.

Y flwyddyn hon unodd Mr. George Whitfield â hwynt. Gwedi parhau yn yr ymarferiad canmoladwy hyn dros ryw amser, cawsant, oblegid eu bywydau rheolaidd a threfnus, eu galw yn Drefnyddion neu yn Fethodistiaid, yn ol enw y blaid hono o physygwyr gynt, ag oedd yn ymarferyd physygwriaeth wrth reolau trefnus. Mewn ychydig o amser yn ol hyn, amrywiodd blaenoriaid y gyfeillach hon, yn eu tybiau crefyddol; ac yn y flwyddyn 1741, ymranodd y Methodistiaid yn Lloegr yn ddwy blaid; un yn Galfiniaid, dan Mr. George Whitfield, a'r llall yn Arminiaid, dan Messrs. John a Charles Wesley. Gan eu bod gwedi eu dwyn i fynu yn Rhydychen, parhaodd eu blaenoriaid i broffesu ymlyniad wrth eglwys Loegr, er eu bod yn fyrych yn addoli yn null yr Ymneillduwyr. Bu poblogrwydd Mr. G. Whitfield a Mr. J. Wesley yn foddion i ennyn digasedd llawer o offeiriaid yn eu herbyn, ac mewn ychydig o amser gwrthodasant genad iddynt bregethu yn yr areithfâau. Pan gafodd Mr. Whitfield a Mr. Wesley eu cau allan o areithfâau yr eglwys sefydledig, aethant i bregethu i'r meusydd, a byddai miloedd o bobl yn myned i'w gwrando; a gorfu i'w gelynion gyfaddef iddynt fod yn offerynol i ddychwelyd llawer at yr Arglwydd.*

Mr. Howell Harris

Yr oedd Mr. Howell Harris, o Drefeca, yn sir

* The Oxford Methodists. Evans's Sketch.

sir Frycheiniog, yn bwriadu bod yn offeiriad, ac aeth i Rydychen gydâ y dyben hyny. Ond blinodd yn fuan ar annhrefn ac anfoesoldeb y lle hwnw, a dychwelodd at ei gyfeillion yn Nghymru. Gwedi dychwelyd i Gymru, Mr. H. Harris a ddechreuodd fyned i gynghori pechaduriaid o dŷ i dŷ yn ei blwyf genedigol ei hun, a'r plwyfau cymmydogaethol yn raddol. Aeth son am dano yn fuan trwy yr holl wlad, a thyrfaoedd lluosog a gasglent i'w wrando ef; a dywedir fod y fath awdurdod yn cydfyned â'r gair o'i enau, fel y gwaeddai llawer allan yn y fan dan deimlad o drueni eu cyflyrau. Y flwyddyn hon gosododd ysgol i fynu yn Trefeca, ac oddiyno aeth i eglwys y plwyf, a daeth llawer o'r ieuenctid ato er mwyn ychydig o addysg yn mhethau Duw. Byddai hefyd yn myned atynt yn eu cyfarfodydd i ddysgu canu psalmau, i'r un dyben pwysig o ddywedyd wrthynt am eu cyflyrau tragywyddol. Cafodd llawer eu hargyhoeddi trwy y moddion hyn, a dechreuodd Mr. Harris osod i fynu gymdeithasau neillduol mewn amrywiol leoedd. Dyma ddechreuad cyntaf y cymdeithasau neillduol yn mhlith y Methodistiaid yn Nghymru. Y flwyddyn yn ol hon, anfonodd rhyw wr boneddig o sir Faesyfed am Mr. Harris i'w dŷ i lefaru; cynhyrfodd hyn lawer o oreuon y wlad i ddyfod i'w wrando, a chafodd dderbyniad, nid bychan, ganddynt.

CANT XVIII.

O. C. 1736.

Dechreuad y Methodistiaid yn Nghymru.

O. C. 1736.

O. C. 1737.

 Hyd

CANT XVIII.


Diwydrwydd Mr. Harris.

Hyd yn hyn yr oedd yn parhau i gadw yr ysgol, ond yn cynghori y nosweithiau, y sabbathau, a'r gwyliau. Diwedd y flwyddyn hon bwriwyd ef allan o fod yn athraw ar yr ysgol yn eglwys y plwyf. Rhwyddâodd hyn ei ffordd i fyned i ba le bynag y cai ei alw ddydd a nos, gan lefaru yn aml dair, pedair, a phum' waith yn y dydd. Fel ag yr oedd ei lwyddiant yn cynnyddu, felly yr oedd ei wrthwynebiadau. Y pen-swyddwyr a fygythient ei gospi, yr offeiriaid a bregethent yn ei erbyn, gan ei ddynodi fel twyllwr a gau broffwyd, a'r werinos gyffredin fyddent barod yn mron yn mhob man, i derfysgu a'i luchio. Nid oedd Mr. Harris y pryd hyn yn arfer pregethu oddiwrth un testun, ond yn traddodi yr hyn a roddai yr Arglwydd iddo i'r bobl, yn gyffredin mewn ffordd daranllyd ac argyhoeddiadol. Yr oedd yr ysgolion rhad, dan olygiad Mr. Griffith Jones, yn taenu ar led y wlad yn fwy fwy, a chymdeithasau neillttuol yn cael eu gosod i fynu mewn amryw fanau trwy siroedd Cymru: Mr. G. Whitfield, gwedi clywed am Mr. H. Harris, a ysgrifenodd ato lythyr cysurus, i'w annog i fyned yn mlaen yn ei waith yn hyderus. Yn nghylch yr amser hyn y cafodd Mr. Daniel Rowlands, o Langeitho, yn sir Aberteifi, ac ereill o offeiriaid ieuainc eglwys Loegr, eu galw i bregethu yr efengyl.*

Mr. Daniel Rowlands.

Mr

* Trysorfa, Rhif. IV.

CANT XVIII.

Marwolaeth Mr. J. Lewis a Mr. M. Griffiths. O. C. 1738.

Mr. James Lewis, o Bencader, gwedi bod dros ddeuddeg mlynedd ar hugain yn weinidog llafurus a llwyddiannus, a fu farw y flwyddyn hon yn drugain mlwydd a phedair oed.[a] Yr un flwyddyn hefyd y bu farw Mr. Morgan Griffiths, o Hengoed, yn sir Forganwg. Yr oedd Mr. M. Griffiths yn wr o sir Benfro, yn agos i Hwlffordd. Gwedi uno âg eglwys y Bedyddwyr yn Prendergast, yn amser Mr. William Jones, eu gweinidog cyntaf, efe a ddechreuodd bregethu; ac ar farwolaeth Mr. Jones cafodd ei urddo yn un o weinidogion yr eglwys hono. Yn y flwyddyn 1701, Mr. M. Griffiths a symudodd i Hengoed, lle y bu yn gweinidogaethu gydâ llawer o gymmeriad hyd ddydd ei farwolaeth. Yn amser Mr. Griffiths, yr oedd eglwys Hengoed yn gymmysg o Fedyddwyr neillduol a chyffredinol. Dywedir fod Mr. M. Griffiths yn gristion llariaidd a chariadus, ac yn bregethwr goleu a serchiadol; a pharhaodd ei enw yn barchus yn mhlith ei orfucheddwyr duwiol lawer o flynyddoedd gwedi iddo orphen ei yrfa.[b]* Y flwyddyn ganlynol y bu farw Mr. Rees Price, o'r Ty'nyton, yn sir Forganwg, tâd yr enwog Dr. Price, gynt o Lundain. Yr oedd Mr. Price

[a] Cilgwyn Church Book. [b] Richard's Life of M. Griffiths.

* Gorwyr i Mr. Morgan Griffiths yw John Griffiths, Yswain, o Benywenallt, yn sir Aberteifi.

CANT XVIII. Price yn fardd da, a chafodd ei ddewis yn y flwyddyn 1730, yn ddysgybl gorsedd Morganwg.[a]

Erlid Mr. H. Harris O. C. 1739. Pan oedd Mr. Howell Harris, y flwyddyn hon, yn pregethu mewn rhyw fan yn agos i'r Cemmes, yn sir Drefaldwyn, daeth marchog y sir, offeiriad y plwyf, dau ustus heddwch, a'r heddgeidwad gydâ hwynt, i'w gymmeryd i fynu. Ond wedi ei fygwth, gollyngasant ef yn rhydd. Wedi hyny aeth yn mlaen i sir Feirionydd, a bu ei lafur dan fendith i rai yno y tro cyntaf hwn. Ar ei ddychweliad pregethodd yn ninas Mowddwy, ac aeth y'mlaen i Machynlleth, lle y ceisiodd lefaru mewn drws agored, uwchlaw y bobl; ond gorfu arno yn fuan roddi heibio gan swn y dorf yn bloeddio, yn tyngu a rhegu, yn taflu cerrig, neu y peth cyntaf a gaent afael ynddo. Daeth i fynu ato gyfreithiwr, yn gynddeiriog iawn, a'i araeth yn hynod o uffernol, a gwr bonheddig, ac offeiriad y dref yn yr un ysbryd ac iaith, yn flaenoriaid ar y werin derfysglyd. Aeth i'w canol heb ddysgwyl dyfod byth yn fyw o'u plith; ond gwaredodd yr Arglwydd ef o'u dwylaw gwaedlyd. O sir Drefaldwyn aeth Mr. Harris trwy

Mr. H. Harris yn cyfarfod â Mr. Whitfield. siroedd y deheudir, hyd nes y daeth i Gaerdydd, lle y cyfarfu â Mr. George Whitfield, gwedi ei ddychweliad o'i fordaith gyntaf i America.[b]

Mr.

[a] Cam. Biog. [b] Drysorfa, Rhif. IV.

Mr. Harris gwedi cael ei loni yn fawr yn nghyfeillach Mr. Whitfield, a barhaodd yn y gwaith gogoneddus ag oedd gwedi cyflwyno ei hun iddo, a dangosodd y ffyddlondeb mwyaf, trwy fyned oddiamgylch i siroedd Cymru i gyhoeddi yr Iechydwriaeth rad yn ngwaed Crist, dros lawer o flynyddoedd. Ac er cymmaint oedd yn cael ei erlid gan swyddogion gwladol, offeiriaid anystyriol, a'r werin annuwiol, rhoddodd Duw iddo wroldeb a hyfdra mawr, a llwyddodd ei lafur i ddychwelyd llawer i'r ffydd, a dangosodd ei anfodlonrwydd hefyd tuag at ei wrthwynebwyr, trwy dywallt ei farnedigaethau ar amryw o honynt.[a] CANT XVIII.

Y flwyddyn hon, a'r ddwy ganlynol, bu farw amryw o weinidogion enwog yn mhlith y Presbyteriaid a'r Independiaid; megis Mr. Vavasor Griffiths, o'r Maesgwyn; Mr. Edward Kenrick, o Fronclydwr; Mr. David Sais, o Lechryd; Mr. David Price, o Lwynllwyd; Mr. Roger Howell, o Langywc; Mr. Henry Palmer, o Henllan; Mr. Jenkin Jones, o Lwynrhydowen; Mr. Thomas Maurice, o'r Down; Mr. John Williams, o Aberhonddu; Mr. William Jervoise, o Lanfyllin; a Mr. David Williams, o Dinbych. Ond er i'r ser dysclaer hyn fachludo, cyfododd yr Arglwydd ereill yn eu lle, O.C. 1741.

[a] H. Harris's Life.

CANT XVIII.

lle, y rhai fu yn tywynu yn Nghymru dywyll dros lawer o flynyddoedd. Urddwyd Mr. Owen Rees, yn sir Forganwg; Mr. David Griffiths yn gynnorthwywr i Mr. David Evans, yn Llechryd; Mr. William Jenkins; Mr. David Loyd yn Brynberian; Mr. John Lewis yn Mhencader; Mr. Owen Davies yn Crofft y Cyff; a Mr. James Davies yn weinidog Abermeirig.* Ychydig o amser gwedi hyn urddwyd Mr. Thomas Evans yn Llanuchlyn; Mr. Milbourne Bloome; Mr. Samuel Davies yn Merthyr Tydfil; Mr. David Loyd yn Llwynrhydowen; Mr. William Llewelyn, yn y Cwmmawr; Mr. Thomas Morgan yn Henllad; ac amryw ereill.*

Morafiaid

Yr oedd llawer o'r Morafiaid gwedi dyfod i Loegr yr amser hyn, ac mewn ychydig o flynyddoedd gwedi hyn, daeth rhai o honynt i Gymru, ac a ffurfiasant gymdeithasau mewn rhai trefydd; ond nid yw y blaid hon yn lluosog yn Nghymru. Gelwir y Cristianogion hyn yn Forafiaid, oblegid iddynt ddyfod o wlad Morafia; ond yr enw mwyaf cyffredin ag y maent hwy yn roddi iddynt eu hunain yw Y Brodyr Unol. Nid hawdd gwybod beth yw tybiau arweiniol y bobl hyn.

* Cafodd Mr. Owen Davies a Mr. James Davies eu hurddo ar yr un diwrnod yn Crofft y Cyff, yn y flwyddyn 1743.

* Cilgwyn Church Book.

hyn. Maent yn cyfeirio eu haddoliad at Iesu Grist, ac yn ffurfio yr aelodau yn raddau, yn ol eu rhyw, eu hoedran, a'u sefyllfaodd. Mae y priodasau yn eu plith bob amser dan gyfarwyddyd yr eglwys. Yn eu cyfarfodydd, o'r Nadolig i'r Pasg, darllenant hanes bywyd a marwolaeth Crist. Dechreuant yr Actau ar y Sulgwyn, gwedi hyny darllenant yr epistolau yn y drefn yr ysgrifenwyd hwynt. Pan byddo plant yn cael eu bedyddio, mae tri neu bump o dystion yn bresennol, y rhai a unant â'r gweinidog i osod eu dwylaw ar y baban, ac i gyhoeddi y bendithiad bedyddiol. Y gweinidog a weina swper yr Arglwydd mewn gwisg wen, a'r diaconiaid a'i cynnorthwyant i ranu y bara, yr hwn a gadwir yn eu dwylaw hyd oni byddo pawb gwedi ei dderbyn. Yna yr holl eglwys a blygant ar eu gliniau, ac a fwytant y bara tra y byddo y gweinidog yn adrodd y geiriau, "Cymmerwch, bwytewch, hwn yw fy nghorph, yr hwn a dorir trostoch." Gweinant y cymun yn fisol, ar brydnawn dydd Sadwrn; ond os na bydd yn gyfleus ar y dydd hwnw, oedir gweinyddiad yr ordinhad hyd y dydd canlynol. Cyn y cymun, mae y gweinidog yn eu hannog i hunan-ymholiad; a'r holl gynnulleidfa ar eu gliniau a ofynant faddeuant. Mae yr aelodau yn cyfarfod yn y fynwent bob Sul y Pasg ar godiad yr haul, i gadw coffadwriaeth o adgyfodiad Crist. Gwedi

CANT XVIII.

CANT. XVIII. di dyfod i'r fynwent, y gweinidog a ddywed, 'Yr Arglwydd a gyfododd;' yna y bobl a attebant, 'Efe a gyfododd yn wir.' Yna y mae y gweinidog yn darllen cyffes eu ffydd mewn ffurf o weddi, yn yr hon y mae yn crybwyll am y brodyr a'r chwiorydd a fuont feirw y flwyddyn o'r blaen. Diweddir y cyfarfod trwy weddi am ras i gadw y gorfucheddwyr mewn tragywyddol gymundeb âg ysbrydoedd y cyfiawn a berffeithiwyd. Maent yn golchi traed eu gilydd unwaith bob blwyddyn, ac yn rhai o'u cyfarfodydd yn rhoddi cusan heddwch; y gwŷr i'r gwŷr, a'r gwragedd i'r gwragedd. Ond yr hyn sydd yn ardderchogi y blaid hon, yn mron tu hwnt i bob plaid arall, yw eu sel i daenu yr efengyl yn mhlith y paganiaid.*



Gwrthryfel yn Scotland. O. C. 1745. Charles Edward, mab yr hen Bretender, a ddaeth drosodd o Ffrainc i Scotland y flwyddyn hon, gydâ bwriad i orchfygu Brydain. Gwedi tirio yn Scotland, unodd miloedd o'r trigolion âg ef, yn neillduol y Pabyddion. Pan ddaeth i Perth, cyhoeddodd ei dad yn frenin Brydain; gwedi hyny aeth yn mlaen ac a gymmerodd feddiant o Edinburgh, lle y cyhoeddodd ei dad drachefn yn frenin. Gwedi deall fod Syr John Cope yn dyfod yn ei erbyn â llu lluosog, efe a aeth allan i'w gyfarfod, ac a laddodd bum mil o'i wŷr yn

* Hist. Dissenters, Vol. III.

yn agos i Preston. Charles Edward, gwedi cael ychwaneg o filwyr, a aeth yn mlaen i Manchester, ac oddiyno i Derby, gan fwriadu myned trwy Gaerlleon i Gymru, lle yr oedd yn dysgwyl yr unai llawer âg ef. Ond pan ddechreuodd anfoddlonrwydd gyfodi yn mhlith ei filwyr, a gwybod o hono fod y brenin yn bwriadu arwain ei filwyr yn bersonol i'r maes, efe a ddychwelodd i Scotland. Gwedi dychwelyd, y Duc o Cumberland a phedair mil ar ddeg o wŷr a aethant ar ei ol ef, ac a'u gorchfygasant ar wastadedd Culloden. Charles Edward, gwedi ei orchfygu, a ffodd am ei einioes, a gwedi crwydro llawer yn anialwch Scotland, a dyoddef llawer o galedi, a ddychwelodd yn ol i Ffrainc. Ac felly y gwaredodd yr Arglwydd y deyrnas hon unwaith drachefn oddiwrth draws-arglwyddiaeth a Phabyddiaeth.[a]

CANT XVIII.

Mae yn debygol i gyfnewidiad nid bychan gymmeryd lle yn ngweinidogaeth Mr. Howell Harris yn nghylch yr amser hyn, yr hyn fu yn achos o ymraniad rhyngddo ef a rhai o'i frodyr, y Methodistiaid, o hyny allan. Yr oedd dull gweinidogaeth Mr. H. Harris hyd yn hyn yn ddeffrous iawn, ac mae yn debygol nad oedd ei wrandaw-wyr yn clywed am ddim ond am ddrwg pechod, tân uffern, a damnedigaeth, nes byddent yn

Anghytundeb rhwng Mr. H. Harris, a Mr. Daniel Rowlands.



[a] Goldsmith's Hist. Eng. Vol. III.

CANT XVIII.



yn crynu gan ofn a dychryn calon.* Ond yn awr dechreuodd Mr. Harris bregethu ar berson yr Iachawdwr, a'r athrawiaethau cysylltiedig â hyny. Barnodd rhai o'r brodyr fod dull Mr. Harris yn pregethu ar berson Crist yn anysgrythyrol, ac yn tueddu i Sabeliaeth; a gwrthwynebasant ef oblegid hyny. Mr. Harris yn lle arafu, ac ystyried a oedd ei ymadroddion yn nghylch person a marwolaeth Crist yn addas, a chwerwodd tuag at ei frodyr, a phellasant oddiwrth eu gilydd yn raddol, nes iddynt ymranu yn hollol. Mewn canlyniad i hyn aeth y bobl yn ddwy blaid. Glynodd rhai wrth Mr. Harris, ac ereill wrth Mr. Rowlands, a dechreuasant i ymddadleu ac ymryson â'u gilydd hyd nes y drylliwyd y cymdeithasau bychain ar hyd y wlad, ac yr aeth crefydd yn gwbl i'r dim mewn llawer o ardaloedd, lle yr oedd ymddangosiad golygus gwedi bod unwaith. Mr. Harris, wedi yr ymraniad hyn, a roddodd i fynu, mewn gradd fawr, i deithio trwy Gymru fel arferol, ac a gartrefodd yn Nhrefeca, yn ei dŷ ei hun. Llawer o'r rhai a dderbyniasent fendith trwy ei weinidogaeth, a gasglasant ato i Drefeca o bob parth o'r wlad, ac yr oedd yn pregethu iddynt yn ei dŷ ei hun ddwy waith neu dair bob dydd.*

Marwolaeth Mr. Walker. O.C. 1751.

Y flwyddyn hon y bu farw Mr. Fowler Walker,

* Trysorfa, Rhif. IV, V.

laeth, Dr Henni, gwedi bod dros bum mlynedd ar hugain yn weinidog eglwys yr Independiaid yn y dref hono. Yr oedd Mr. Walker yn wr o gynneddfau cryfion, fel yr ymddengys oddiwrth ei lyfr ar fedydd plant. Yr oedd gan Mr. Walker deulu lluosog, ac yn ei amser diweddaf, dymunai yn fynych yn ei weddiau cyhoeddus ar i'r Arglwydd sefyll o blaid y teuluoedd hyny ag oedd yn debygol i gael eu gadael mewn amgylchiadau angenus. Gwedi ei farwolaeth gwrandawodd Duw ei weddiau, trwy gyfodi ei holl blant i amgylchiadau cysurus, a rhai o honynt i fwynhau llawer o lawndid yn y byd. Urddwyd Mr. David Jardine y flwyddyn ganlynol yn weinidog yn lle Mr. Walker.* Yn nghylch yr amser hyn cafodd Salmau Dafydd, ag oedd gwedi eu cyfansoddi yn ol iaith y Testament Newydd, a'u cymmwyso i ystad ac addoliad cristianogol, gan Dr. Watts, eu cyfieithu i'r Cymraeg gan Mr. Dafydd Jones, o Gayo; a thrwy ganmoliaeth yr enwog Mr. Philip Pugh, ac ereill, cawsant eu hargraffu er budd i'r Cymry. Gwaith arch-diacon Prys oedd fwyaf mewn ymarferiad gan yr Ymneillduwyr yn Nghymru hyd yn hyn. Ychydig o flynyddoedd yn ol hyn, Mr. D. Jones a gyfieithodd Hymnau Dr. Watts hefyd i'r Cymraeg.

CANT XVIII.

O. C. 1753.

William

* Mr. H. Harris's Letter.

CANT XVIII.

Marwolaeth Mr. W. Wyn. O. C. 1760.

William Wyn, A. M. yr hwn oedd brydydd a difinydd enwog, o deulu Rhaged, yn Meirion, a fu farw y flwyddyn hon. Yr oedd Mr. Wyn yn berson plwyf Llangynhafal a Manafon, yn sir Dinbych. Mae peth o'i waith wedi ei argraffu yn y Dewisol Ganiadau.* Y flwyddyn ganlynol y bu farw Mr. Griffith Jones, o Landowror, yn sir Gaerfyrddin.

Marwolaeth Mr. Griffith Jones. O. C. 1761.

Hanodd Mr. G. Jones o deulu crefyddol a pharchus yn mhlwyf Cilrhedyn, yn sir Gaerfyrddin. Bu ei dad farw pan oedd yn ieuanc, a holl ofal ei ddygiad i fynu yn ganlynol oedd yn gorphwys ar ei fam. Dangosodd yn fore fywiogrwydd cymeddfau, ac awyddfryd i ddysgu. Gwedi bod yn ei febyd mewn ysgol yn y wlad, anfonodd ei fam ef i fod dan addysg athraw dysgedig y brif-ysgol yn Nghaerfyrddin, lle y cynnyddodd yn fuan mewn gwybodaeth helaeth o'r ieithoedd Groeg a Lladin, er ei fod dan yr anfantais o feddiannu corph llesg ac egwan. Ymddangosodd sobrwydd neillduol ynddo yn yr amser hwn; a byddai arferol yn aml o dynu o'r neilldu i weddi a myfyrdod, yn lle dilyn y difyrwch a'r oferedd a hudant, a lygrant, ac a faglant y rhan fwyaf o ieuenctid y byd. Dangosodd Mr. Jones yn fuan dueddrwydd cryf i waith y weinidogaeth, a chafodd ei urddo gan y dysgedig esgob Bull, yn y flwyddyn 1708. Gwedi ei urddo cyflwynwyd iddo

* Cam. Biog.

CANT. XVIII.

iddo Periglorïaeth Llandilo Abercowin; ac wedi hyny, Llandowror. Bu Mr. G. Jones yn briod â merch i Syr Erasmus Philips, hanner chwaer i Syr John Philips, o Picton Castle, yn sir Benfro. Cyrchai llawer o bob parth o'r wlad i wrando Mr. Jones yn Llanddowror, a byddai y cynnulleidfaoedd yn dra lluosog yno ar y Sabbath cymundeb. Heblaw ei weinidogaeth gyhoeddus yr oedd Mr. Jones yn fendithiol iawn yn nhrefn addoliad Duw yn ei deulu, ac yn ei gymdeithas rwydd ac adeiladol â phawb a droai yno. Yr oedd Mr. Jones yn bregethwr goleu, yn aml yn finiog, yn daranllyd, ac yn ddeffröus; bob amser yn athrawiaethol, yn ddefnyddiol, ac yn fucheddol. Yr oedd ei agwedd gorphorol yn barchus; ei lais yn eglur ac yn bêraidd; ei ddarluniadau yn ardderchog; ei resymiadau yn gedyrn; a'i gynghorion a'i rybuddion yn fywiog, yn llym, ac yn afaelgar yn y gydwybod. Yr oedd ei holl enaid yn y gwaith, ac yn profi yn fywiog bob teimlad addas i'r gwirionedd a draddodai. Holl ymddygiad Mr. Jones oedd bob amser yn addfwyn, yn sobr, yn garedig, ac yn ostyngedig. Bu Mr. Jones dros lawer o flynyddoedd yn cadw athrofa yn Llanddowror, yn yr hon y dygwyd i fyny amryw ddynion defnyddiol yn yr eglwys. Y mwyaf enwog o'r rhai hyn oedd Mr. Howell Davies. Ychydig o amser cyn marwolaeth Mr. Jones aeth cyfaill

CANT XVIII. i'w weled, ac wedi gofyn iddo am helynt ei iechyd, attebodd yn siriol fel y canlyn: 'Rhaid i 'mi ddwyn tystiolaeth o blaid daioni Duw! O 'mor rhyfedd yw cariad Duw tuag ataf fi! Yr 'ydwyf yn awr yn rhydd oddiwrth y diffyg anadl 'poenus yr oeddwn yn ddarostyngedig iddo yn fy 'ieuenctid, i'r fath radd fel nas gallaswn gerdd'ed ar draws yr ystafell hon heb yr anhawstra 'mwyaf. Mor rhyfedd yw cariad Duw tuag 'ataf fi! Nad ydwyf yn ddall, fel y bum dros 'dair wythnos yn fy mabandod gan y frech wen: 'ac nad ydwyf yn gardotyn dall, yn hel fy 'nhamaid o ddrws i ddrws! Mor rhyfedd yw 'cariad Duw, fod genyf y fath gyfaill i ofalu 'am danaf pan nad ydwyf yn gallu helpu fy 'hun! Mor rhyfedd yw daioni Duw nad yd'wyf yn teimlo dim poen, ac am fy mod yn de'byg o fyned i'r bedd mewn esmwythder! Mor 'rhyfedd yw trugaredd Duw, fy mod yn gallu 'canfod yn eglur yr hyn a wnaeth ac a ddyo'ddefodd Crist drosof fi; ac nad oes ynof yr am'mheuaeth leiaf am fy hawl yn fy Achubwr 'Hollalluog! Ymgais y gelyn i aflonyddu fy 'heddwch a'm tangnefedd, ond diolch i Dduw 'am ei ras digonol! Mor rhyfedd yw tiriondeb 'Duw fod holl gynneddfau fy meddwl mor gry'fed ag erioed; ond yn unig yr wyf yn profi ych'ydig balldod ar fy nghof.' Aeth rhagddo yn y dull hwn o ddiolch tra y gallodd lefaru. Amser

arall

arall dywedodd, 'Bendigedig fyddo Duw! mae ei ddiddanwch yn llenwi fy enaid.' Mwynâodd lawer o ddiddanwch, a dysgwyliad hiraethlon am ei orphwysfa dragywyddol, nes llewygu natur, ac i'r babell briddlyd gael ei dattod. Ymadawodd Mr. Jones â'r bywyd hwn mewn cysur a thangnefedd ar yr wythfed dydd o Ebrill, y flwyddyn hon, yn y ddeunawfed flwyddyn a thrugain o'i oed, yn nhŷ Mrs. Bevan, lle yr oedd gwedi bod ennyd amser cyn ei farwolaeth. Rhoddwyd ei gorff i orphwys yn eglwys Llanddowror. Bu Mr. G. Jones yn offeryn ymdrechgar i gael allan ddau argraffiad o'r Bibl yn Gymraeg; a chyfansoddodd ei hun amryw lyfrau yn Saesneg ac yn Gymraeg, y rhai sydd yn dangos ei fod yn ddifeinydd da, o wybodaeth a doniau helaeth, a chariad gwresog at achos yr efengyl.*

CANT. XVIII.

Gwedi i Mess. John a Charles Wesley deithio trwy Gymru, a phregethu yn fynych mewn amrywiol barthau o'r wlad, cawsant annogaeth i anfon un o'u pregethwyr fel cenadwr i blith y Cymry. Yn ganlynol, cafodd Mr. Thomas Taylor ei anfon y flwyddyn hon. Dechreuodd Mr. Taylor bregethu yn Chepstow, ac aeth yn mlaen gan bregethu yn mhob tref nes ei ddyfod i Frowyr, yn sir Forganawg. Dyoddefodd lawer

Y Wesleaid yn Nghymru.

O. C. 1761.



* Trysorfa, Rhif. I.

CANT XVIII.


o galedi trwy oerfel a newyn ar y daith hono. Yn nghylch dechreuad y flwyddyn ganlynol, llwyddodd Duw ei lafur, yn neillduol yn y Frowyr, a bu yn offerynol i gasglu saith o gymdeithasau. Yr hâf canlynol aeth Mr. Taylor i sir Benfro, lle yr oedd yn cael llawer o wrandawwyr. Pregethodd yn Aberdaugleddyf a'r lleoedd oddiamgylch, gydâ llawer o gymmeriad; a bu y bobl yn daer arno i sefydlu yn eu plith. Gwedi bod oddiamgylch dwy flynedd yn Nghymru, a bod yn offerynol i sefydlu wyth neu naw o gymdeithasau yn sir Benfro, cafodd Mr. Taylor ei symud i'r Iwerddon. Ac o hyny allan, anfonwyd pregethwyr ereill o blith y corff hwn o gristianogion i bregethu yn Nghymru; ac y mae Duw gwedi llwyddo eu gweinidogaeth i raddau helaeth.*

Cymmanfa gyntaf y Methodistiaid.

Y gymmanfa gyntaf yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd Cymru, a gynnaliwyd yn nhŷ Jeffrey Dafydd, o'r Rhiwiau, yn mhlwyf Llanddausant, yn sir Gaerfyrddin. Yr oedd yn bresennol yn y cyfarfod hwn, Mr. Howell Harris, Mr. Daniel Rowlands, Mr. W. Williams, o Bantycelyn, a dau neu dri o gyngborwyr. Er nad oedd ond bychan o ran nifer, etto yr oedd gwedi ei anrhydeddu yn fawr â phresennoldeb yr Arglwydd. Dywedir i Mr. H. Harris mewn

cymmanfa

* Mr. O. Davies's Letter.

cymmanfa fore gwedi hyny, i annog pawb ag oedd yno, i gyfansoddi ychydig beunillion o brydyddiaeth erbyn y gymmanfa nesaf, i edrych a oedd yr Arglwydd gwedi rhoddi dawn prydyddiaeth i un o honynt, a phwy oedd hwnw. Felly y gwnaethant; ac wedi iddynt gyd-ddarllen eu cyfansoddiadau, penderfynwyd yn gydun mai Mr. W. Williams a gafodd y dawn godidog hwn, ac annogodd Mr. Harries, a phawb ereill, iddo ei harferyd er gogoniant Duw, a lles i'w eglwys. Y llyfr cyntaf a gyhoeddodd Mr. Williams oedd casgliad o Hymnau, a elwir Halleluia. Cymmaint oedd y galwad am y gwaith hwn, fel yr argraffwyd ef dair gwaith yn fuan i'w gilydd. Y flwyddyn hon, argraffodd Mr. Williams y llyfr Hymnau, a elwyr y Môr o Wydr, yr hwn a aeth trwy bump o argraffiadau yn fuan. Mae yn debygol ei bod yn amser marwaidd, tywyll iawn ar waith Duw yn mhlith y Methodistiaid y dyddiau hyn, mewn canlyniad i'r rhwyg ag oedd gwedi cymmeryd lle rhwng Mr. Howell Harris a Mr. Daniel Rowlands. Yn y cyfamser, profodd Mr. Williams lawer o brofedigaethau yn dufewnol ac yn allanol, y rhai a barodd yr amrywiol deimladau a osodir allan yn y llyfr hwnw. Y mae yn nodedig mai y diwrnod y dygodd y llyfr hwn i Langeitho y torodd y dywygiad mawr allan, a'r cyntaf wedi y rhwyg.[a]

CANT XVIII.

O. C. 1762.

 Lewis

[a] Trysorfa, Rhif. XI.

CANT XVIII.

Marwolaeth L. Morris. O. C 1765.

Lewis Morris, mab Morris Pritchard Morris, o bentref Eirianell, yn sir Fon, a gafodd ei ddwyn i fynu yn fesurydd tir, ond treuliodd y rhan fwyaf o'i amser mewn gwahanol swyddau dan y llywodraeth. Cafodd yn gyntaf ei wneuthur yn gasglydd toll ar halen a phethau ereill, yn Nghaergibi. Gwedi hyny cafodd ei osod gan y môr-lys i arolygu glan y môr Cymru, yr hyn a wnaeth i foddlonrwydd, ac argraffwyd ei waith yn y flwyddyn 1748. Yn nghylch yr un amser cafodd orfucheddwriaeth tir y llywodraeth yn Nghymru; ac mewn ychydig gwedi hyny gwnaethpwyd ef yn olygwr ar fwyn-gloddiau y brenin yn y dywysogaeth. Efe a gyfansoddodd ddarluniad hanesiol o gelfyddyd mwynyddiaeth, o fewn cylchdro ei raglawiaeth, ond ni argraffodd mo hono. Yr oedd Mr. Morris yn brydydd da yn y iaith Gymraeg, ac y mae peth o'i waith yn y Dyddanwch Teuluaidd. Treuliodd Mr. Morris y rhan olaf o'i fywyd yn Mhembryn, yn sir Aberteifi, ac yr oedd ei wybodaeth mewn physygwriaeth yn llesiol iawn i'w gymmydogion. Bu Mr. Morris farw y flwyddyn hon, yn y drugeinfed flwyddyn a thair o'i oed, ac a gladdwyd yn Llanbadarn-fawr, yn sir Aberteifi.* Yr un flwyddyn y bu farw Mr. John Davies, o Drelech, yr hwn oedd wr duwiol, defnyddiol, a chyfrifol iawn yn ei ddydd.

Y

* Cambrian Register, Vol. II.

CANT XVIII. O. C. 1766.

Y flwyddyn ganlynol bu farw Mr. Samuel Thomas, o Gaerfyrddin; Mr. J. Powell, o Henllan; a Mr. D. Jardine, o'r Fenni; tri gweinidog enwog yn mhlith yr Ymneillduwyr.

Arglwyddes Huntington.

Arglwyddes Huntington, gwedi ei dychwelyd at yr Arglwydd, a gyssegrodd ei holl fywyd i'w wasanaeth ef. Ac i'r dyben i helaethu teyrnas Crist, hi a adeiladodd gapeli mewn amrywiol leoedd yn Lloegr, yn y rhai y byddai offeiriaid eglwys Loegr yn gweini. Ond pan welodd nad oedd yn bosibl iddi gael nifer ddigonol o offeiriaid rheolaidd i bregethu yn y capeli hyny, hi a benderfynodd i arferyd yr un drefn ag a arferasid gan Mr. Whitfield a Mr. Wesley, gydâ chymmaint o lwyddiant cyn hyny. Annogodd wŷr ieuainc o dduwioldeb a chynneddfau, i bregethu yn ei chapeli, a chadw yn nghyd y cynnulleidfaoedd ag oedd hi gwedi gasglu. Ac i'r dyben i ddarparu gweinidogion addas i'r gwaith, hi a ddaeth i Gymru, ac a osododd athrofa i fynu yn Nhrefeca, y flwyddyn hon, i ddwyn gwŷr ieuainc i fynu i'r weinidogaeth. Mr. Flecher oedd athraw athrofa Trefeca nes i'r Methodistiaid ymranu yn ddwy blaid. Cyn marwolaeth arglwyddes Huntington, ei chyfeillion a ffurfiasant danscrifiad i gynnal yr athrofa yn mlaen; ac yn y flwyddyn 1792, cafodd yr athrofa ei symud o Drefeca i Cheshunt, yn Hertfordshire,

Athrofa Trefeca. O. C. 1768.

CANT XVIII. Hertfordshire, lle y mae hyd heddyw: Nid oes fawr o wahaniaeth rhwng y rhai ag sydd yn nghydundeb arglwyddes Huntington a'r Methodistiaid Calfinaidd ereill yn Nghymru, ond eu bod yn darllen gweddiau eglwys Loegr yn eu capeli.[a]

Yn nghylch y flwyddyn 1728, cafodd Mr. John Glas, gweinidog yr efengyl yn Scotland, ei gyhuddo o fwriad i ddymchwelyd yr eglwys wladol, trwy ei fod yn haeru nad yw eglwys Crist o'r byd hwn, a bwriwyd ef allan o eglwys Scotland. Mewn canlyniad i hyn, canlynwyr Mr. Glas a ffurfiasant eu hunain yn eglwysi yn gyffelyb, yn eu tyb hwy, i drefn yr eglwysi cyntaf a grybwyllir am danynt yn y Testament Newydd; a galwyd y bobl hyn Glassites, yn ol enw eu seiliwr. Yn fuan yn ol y flwyddyn 1755, Mr. Robert Sandiman, henuriad yn un o'r eglwysi hyn yn Scotland, a ysgrifenodd lythyrau at Mr. Hervey, mewn canlyniad i'r llyfr hwnw o waith Mr. Hervey, a elwir Theron ac Aspasio. Yn y llythyrau hyn y mae Mr. Sandiman yn honi nad yw ffydd ddim ond cydsyniad unig â'r dystiolaeth ddwyfol yn nghylch Iesu Grist, fel un gwedi ei draddodi dros bechodau dynion, a'i adgyfodi er eu cyfiawnâad, yn ol yr ysgrythur. Mae yn maentumio hefyd fod y gair ffydd yn cael

Glassites.

[a] Hist. Dissenters.

CANT XVIII.

cael ei arferyd bob amser gan yr apostol i arwyddo yr hyn a feddylir wrthi mewn siarad cyffredin; sef cred o wirionedd rhyw beth ac nad oes un gwahaniaeth rhwng credu tystiolaeth gyffredin a chredu tystiolaeth apostolaidd, ond yr hyn sydd yn deilliaw oddiwrth y dystiolaeth ei hun, a'r awdurdod dwyfol ar ba un y mae yn gorphwys. Dilynwyr Sandiman a ffurfiasant eu hun yn eglwysi mewn cymundeb âg eglwysi Scotland, ond nid â neb rhyw eglwysi ereill. Galwyd y bobl hyn yn Sandiminiaid. Daeth rhai o'u pregethwyr i Gymru oddiamgylch i'r amser hyn, ac a ffurfiasant rai cyfeillachau yn y wlad hon: ond nid oes ond ychydig o honynt mewn bod yn bresennol. Mae y Sandiminiaid yn wahanol oddiwrth gristianogion yn gyffredinol yn y pethau canlynol: megis gweini swper yr Arglwydd bob Sabbath; cyniawa gydâ eu gilydd yn eu tai rhwng yr addoliad boreuol a phrydnawnol, yr hyn a elwir ganddynt yn gariad wleddoedd; cusan cariad ar y cyfryw amser, ac ar dderbyniad aelod i'w plith, ac ar amseroedd ereill pan dybiont yn addas; eu casgliad wythnosol cyn y cymun at gynnal y tlodion, ac achosion ereill; ymgadw oddiwrth y peth a dagwyd, ac oddiwrth waed; golchi traed eu gilydd; cyffredinolrwydd meddiannau mor belled a bod pob un yn ystyried yr hyn oll sydd ganddo yn ddarostyngedig i alwad y tlodion a'r eglwys.

Sandiminiaid. O. C. 1770.

CANT XVIII.  lwys. Maent yn amddiffyn lluosogrwydd o henuriaid, bugeiliaid, ac esgobion yn mhob eglwys, a'r angenrheidrwydd o ddau henuriad i fod yn bresennol yn mhob gweithred o ddysgybliaeth, ac yn ngweinyddiad y cymun. Mae eu dysgybliaeth eglwysig yn llym.[a]

O. C. 1771. Mr. John Gambold, o Hwlffordd, yr hwn oedd yn esgob gydâ y Morafiaid, a fu farw y flwyddyn hon. Yr oedd Mr. Gambol yn rammadegwr da yn y iaith Gymraeg, ac efe a gyhoeddodd rammadeg Cymraeg gwedi ei egluro yn Saesneg.[b]

Adeilad Trefeca. Gorphenodd Mr. Howell Harris yr adeilad yn Nhrefeca yn y flwyddyn 1753, a chasglodd nifer mawr o bobl atto i fyw, o bob parth o Gymru. Dywedir eu bod oddiamgylch cant o rifedi y flwyddyn ganlynol, heblaw llawer a fyddai yno yn achlysurol, Nid oedd gan Mr. Harris tuag at gynnal y fath deulu, ond dau dyddyn bychan dan ardreth, ac ychydig o wlan wedi ei brynu i'r merched i'w nyddu. Aeth trwy lawer o gyfyngderau allanol yr amser hyn, ond nid oedd yn pallu yn ei lafur ysbrydol yn eu plith. Codwyd llawer o enllib a chabl arno o'r achos. Yr oedd llawer o'r rhai a aeth i Drefeca yn berchen meddiannau, ac ereill yn dlodion, ac yn gorfod cael eu cynnorthwyo.

Yr

[a] Evans's Sketch, p. 185—188. [b] Cam. Biog.

CANT XVIII.

Yr oedd Mr. Harris yn cyfarfod â'r holl deulu dair gwaith bob dydd, i'w cynghori a gweddio gydâ hwynt. Dywedir fod llawer o ddifrifoldeb yn eu plith, a bod llywodraeth Mr. Harris ar ei deulu lluosog yn dduwiol ac yn hardd. Cyn y wawr-ddydd cyfarfyddent oll i addoli Duw, a'u gwaith diweddaf bob dydd fyddai cyfaddef ei ddaioni, a gorchymyn eu hunain i'r Arglwydd. Yn nghylch diwedd y flwyddyn 1759, pan oedd y deyrnas hon mewn rhyfel â Ffrainc, rhai o foneddigion sir Frecheiniog a gynnygasant i Mr. Harris swydd yn *Militia* y sir hono. Gwedi ystyried y peth, ac ymgynghori â'i deulu, efe a gydunodd â'u deisyfiad, ar yr ammod iddo gael rhydd-did i bregethu yr efengyl pa le bynag y byddai Cyd-unasant â'r ammodau hyn, gan wasgu arno i gymmeryd y swydd. Gwedi gosod pob peth mewn trefn yn y teulu, Mr. Harris yn nechreu y flwyddyn 1760 a aeth, yn nghyd â phedwar ar hugain o'r teulu gydâg ef, gydâ bwriad i wasanaethu yr Arglwydd a'i frenin hyd angau. Deuddeg o'r gwyr a aethant oeddent ar draul Mr. Harris. Cafodd swydd banerwr yn gyntaf, ac wedi hyny gwnawd ef yn gadpen. Cawsant eu trefnu i barthau o Loegr, a chafodd Mr Harris gyfleusdra i bregethu lle bynag yr aethent. Gwedi bod dair blynedd yn y *Militia*, darfu y rhyfel, a Mr. Harris a'i wyr a ddychwelasant i Drefeca.

Mr. H. Harris yn filwr.

CANT XVIII.

Treuliodd weddill ei ddyddiau gydâ y teulu yno; oddieithr ychydig o deithiau a gymmerodd weithiau i bregethu yn Lloegr a Chymru. Yr oedd efe a'i holl deulu yn myned i eglwys y plwyf bob Sabbath, ac yr oedd Ficer y plwyf yn cyfranu swper yr Arglwydd iddynt bob mis ar eu penau eu hunain. Gwedi marw ei wraig yn y flwyddyn 1770, anmharodd iechyd Mr. Harris yn raddol; ac yn y flwyddyn olaf o'i fywyd, cafodd wasgfäon aml oddiwrth ddolur y gareg, yr hyn o'r diwedd a'i dygodd ymaith. Ymdrechai, er ei boen dirfawr, yr wythnosau diweddaf o'i fywyd, i bregethu a chynghori y teulu, a hyny gydâ llawer o rym. Cynghorai lawer arnynt i wylied yn erbyn ymorphwys mewn crefydd allanol, a derbyn gwirioneddau Duw yn ysgafn, heb deimlo eu heffeithiau gwirioneddol ar y galon yn cyfnewid yr ysbryd a'r holl ddyn i ddelw Crist. Gwedi dywedyd llawer o eiriau hyderus a gorfoleddus yn yr Arglwydd, gorphwysodd oddiwrth ei lafur yr unfed ar hugain o fis Gorphenaf, y flwyddyn hon, yn y drugeinfed flwyddyn o'i oed, a chladdwyd ef yn eglwys Talgarth, yn y fan lle yr argyhoeddwyd ef o bechod, ac y cafodd yr amlygiad cyntaf o Grist i'w enaid *. Gwedi marwolaeth Mr. Harris aeth y teulu yn mlaen fel arferol, ac y mae yno rai hyd heddyw.

Marwolaeth Mr. H. Harris. O. C. 1773.

* Trysorfa, Rhif. V.

Gan fod yr ymneilldawyr yn llafurio dan gymmaint o anfanteision oblegid eu anghydffurfiad, cydunasant y flwyddyn hon i anfon deisyfiad i'r Senedd i gael eu rhyddâu oddiwrth yr angenrheidrwydd i osod eu dwylaw wrth erthyglau eglwys Loegr. Bu gweinidogion yr ymneillduwyr yn Nghymru, yn ddiwyd iawn y pryd hyny i beri i'w pobl i osod eu dwylaw wrth y deisyfiad; ond gwrthododd rhai o honynt wneuthur hyny, oblegid eu bod yn barnu y buasai y rhydd-did ag oeddid yn ei geisio yn fanteisiol hefyd i'r Arminiaid, Ariaid, a Sosiniaid. Er na lwyddodd yr ymneillduwyr yn eu deisyfiad y pryd hyn, gwelodd y Senedd yn addas chwech mlynedd gwedi hyny, i ganiatau iddynt eu gofyniad. CANT XVIII. O. C. 1773.

Yn nghylch yr amser hyn y bu farw Mr. Theophilus Evans, periglor Llangamarch yn sir Frycheiniog, yr hwn a gyhoeddodd grynodeb o hanes Brydain, dan yr enw Drych y Prif Oesoedd.[a] Mr. Evans a gyhoeddodd hefyd Esponiad ar weddi yr Arglwydd mewn ychydig o bregethau yn yr iaith Gymraeg, dan yr enw Pwyll i Bader; cyhoeddodd hefyd lyfr ar ffug-ysprydoliaeth, yr hwn sydd yn cynnwys ymosodiad ar yr Ymneillduwyr. Dywedir mai Mr. Evans oedd y cyntaf a ddatguddiodd rinweddau ffynon O. C. 1775.

 Llanwrtyd.

[a] Cam. Biog.

CANT XVIII.


Llanwrtyd. Pan oedd gwedi gwisgo allan gan y clefri poeth,† clywodd yn ddamweiniol am y ffynon wenwynig hon, fel y gelwid hi y pryd hyn. Manylrwydd a'i harweiniodd un diwrnod y ffordd hono, ac adnabu y ffynon wrth ei harogl, ac a eisteddodd ar ei hymyl yn ammheus pa beth i'w wneuthur. Fel ag yr oedd yn ystyried beth oedd oreu iddo wneuthur, canfu froga yn cyfodi o waelod ffynon, ac yn edrych yn siriol arno fel pe buasai yn yn ei wahodd i brofi y dwfr. Penderfynodd yn union-gyrch nad oedd y dwfr yn wenwynllyd, gan fod y creadur hwnw yn byw ynddo; ac efe a yfodd o'r ffynon. Mr. Evans gwedi profi nad oedd dim niwed yn y dwfr a barhaodd i'w yfed, ac yn mhen dau fis yr oedd yn holl iach. Gwedi hyny gwnaeth y peth yn gyhoeddus. [a]

Y Bedyddwyr yn anfon pregethwyr i'r Gogledd. O. C. 1776.

Nid oedd ond ychydig o Fedyddwyr yn Ngogledd Cymru hyd yn hyn. Y Bedyddwyr yn y Dehcubarth gan hyny, a anfonasant genadau y flwyddyn hon i bregethu yn siroedd Meirionydd, Caernarfon, a Môn; a llwyddasant i gasglu llawer o eglwysi, y rhai a gynnyddasant yn fawr gwedi hyny.[b]

Marwolaeth Mr. E. Richards. O. C. 1777.

Y flwyddyn ar ol hyn y bu farw Mr. Edward Richards o Ystrad-Meurig, yr hwn oedd yn athraw enwog yn yr ieithoedd dysgedig,

† Scurvy. [a] Jones's Hist. Breck. Vol. II.

[b] Richards's Life of Dr. Llewellyn.

CANT XVIII.

edig, ac yn brydydd godidog yn yr iaith Gymraeg. Gosododd Mr. Richards ysgol i fynu yn Ystrad-Meurig, yn sir Aberteifi, yn y flwyddyn 1735, a bu yn ddiwyd iawn yn hyfforddi gwyr ieuainc yn yr ieithoedd dysgedig hyd amser ei farwolaeth. Cafodd llawer o wyr defnyddiol iawn eu dwyn i fynu yn yr ysgol hono, dan olygiad Mr. Richards, ac wedi hyny dan olygiad Mr. Williams, yr athraw presennol. Yr oedd gwybodaeth a chynnefindra Mr. Richards â'r beirdd Rhufeinig a Groegaidd, yn foddion i beri i'w waith awenyddol i ragori mewn purdeb, eglurder, dwysder, a rhwyddineb iaith. Argraffwyd y Bugeilgerdd, a chân y Bont, o'i waith ef yn ddiweddar.[a]

Mr. Thomas Llewellyn a anwyd yn Penallt-au-isaf, yn mhlwyf Gelligaer, yn sir Forganwg. Gwedi uno âg eglwys y Bedyddwyr yn Hengoed, efe a gafodd ei dueddu i gyflwyno ei hun i waith y weinidogaeth; a chwedi bod dros ychydig amser yn ysgol Trosnant, gerllaw Pontypool, efe a aeth i athrofa Brysto, yr hon oedd y pryd hyny dan olygiad Mr. Bernard Foskett. Pan orphenodd ei amser yn Mryste, efe a aeth i Lundain, lle y bu yn hyfforddu gwyr ieuainc i waith y weinidogaeth. Tra yr oedd Mr. Llewellyn yn y sefyllfa hono, cafodd ei wneuthur

yn

[a] Yr Eos.

CANT. XVIII.



yn athraw cyfreithiau. Yr oedd dda gan Dr. Llewellyn am ei wlad, ac yn ei flynyddoedd diweddaf arferai i ranu ei amser rhwng Llundain a Chymru. Bu yn offerynol yn y flwyddyn 1769, i ddwyn allan argraffiad o'r Bibl yn Gymraeg; ac er annogaeth i hyny, efe a ysgrifenodd hanes o'r argraffiadau Cymraeg o'r Bibl, yr hyn fu yn foddion i ddwyn yn mlaen ei ddybens. Argraffodd Dr. Llewellyn hefyd sylwadau hanesiol a manwl ar yr iaith Gymraeg, a'i chysylltiad â'r ieithoedd ereill. Yr oedd Dr. Llewellyn yn ddarostyngedig dros lawer o flynyddoedd i glefyd y gareg, yr hwn a'i dygodd i'r bedd y flwyddyn hon, er mawr alar i'w holl gyfeillion.[b]

Marwolaeth Dr. Llewellyn. O. C. 1783.

Mr. Daniel Rowlands o Langeitho, gwedi bod dros haner can mlynedd yn llafurus a llwyddiannus iawn yn y weinidogaeth, a fu farw y flwyddyn hon, yn ddwy ar bymtheg a thrugain oed. Yr oedd Mr. Rowlands yn ŵr enwog iawn yn ei ddydd, ac yr oedd yn cynnyddu mewn cymeriad gan y wladwriaeth yn gyffredin hyd ddydd ei farwolaeth. Dywedir fod pob rhagoriaethau yn noniau Mr. Rowlands; dyfnder defnyddiau, grym a phereidd-dra llais, ac eglurdeb a bywiogrwydd yn traddodi dyfnion bethau Duw, er syndod, a'r effeithioldeb mwyaf ar ei wrandawyr.

Marwolaeth Mr. Rowlands. O. C. 1790.

[b] Richards's Life of Dr. Llewellyn.

CANT XVIII.

wrandawyr. † Y flwyddyn hon hefyd y bu farw Mr. Evan Evans, o Gynhawdref, yn sir Aberteifi. Cafodd Mr. Evans ei ddwyn i fynu yn Rhydychen, a bu yn gwasanaethu llawer o eglwysi yn Lloegr a Chymru, yn neillduol Newick yn Cent, Llanfair Talhaiarn yn sir Dinbych, a Thowyn Meirionydd. Bu Mr. Evans yn ddiwyd trwy ei fywyd i gasglu ac adysgrifenu hen ysgrifenadau Cymraeg, a gadawodd dros gant o'r cyfryw lyfrau ar ei ol. Cyhoeddodd gân Saesneg a elwir Cariad at ein gwlad, yn nghyd â llawer o bethau yn Gymraeg, y rhai a argraffwyd yn y Diddanwch Teuluaidd. [a]

Marwolaeth Mr. E. Evans. O. C. 1790.

Ganwyd Mr. W. Williams o Bant y Celyn yn y flwyddyn 1717, yn Cefn y Coed, yn mhlwyf Llanfair y Brin, yn agos i Lanymddyfri yn sir Gaerfyrddin. Ymneillduwyr oedd rhieni Mr. Williams, a gorphenodd ei ddygiad i fynu yn athrofa yr Ymneillduwyr ag oedd y pryd hyny yn Llwynllwyd yn agos i'r Hay. Wrth ddyfod adref o'r Athrofa yn y flwyddyn 1738, cafodd ei alw dan bregeth Mr. H. Harries yn monwent Talgarth. Yn y flwyddyn 1740, cafodd ei urddo yn ddiacon, gan Nicholas Claget, esgob Tŷ Ddewi, ac a wasanaethodd eglwysi Llanwrtyd,

Bywyd a Marwolaeth Mr. W. Williams.

† Buasai yn ddymunol, pe buasai mwy o hanes y gwr enwog hwn i'w gael.

[a] Cam. Biog.

CANT XVIII.



tyd, a Llanddewi Abergwesin, dros dair blynedd. Yr oedd y pryd hyny yn cadw gweddi deuluaidd dair gwaith yn y dydd; ac yr oedd ei holl ymddygiad yn dduwiol, yn syml, ac yn hardd. Ond oblegid ei fod yn pregethu mewn tai heblaw yr eglwysi, gwrthododd yr esgob ei urddo yn offeiriad. Gwedi gadael yr eglwys sefydledig, daeth yn gydnabyddus â Mr. D. Rowlands; a pharhaodd y brawdgarwch mwyaf rhyngddynt tra buont byw. Byddai Mr. Williams yn gyffredin yn myned yn fisol i Langeitho i gynnorthwyo Mr. Rowlands i weini Swper yr Arglwydd i'r tyrfaoedd a fyddai yn dyfod yno. Pregethodd bymtheg mlynedd ar hugain yn Nghapel Llanlluan unwaith bob mis; ac yn Nghaio a Llansawel dros yr un amser unwaith yn y mis, ond pan ymwelai âg eglwysi Gwynedd; neu y byddai ar ryw dro maith yn y Deheudir. Yr oedd doniau areithiol Mr. Williams yn helaeth, ei bregethau yn efangylaidd, yn brofiadol ac yn felus; a llawer o ddylanwadau nefol ar ei yspryd wrth weinidogaethu yn gyhoeddus, ac yn ei ymddiddanion mewn cymdeithasau neillduol. Gwedi bod yn llafurus a defnyddiol yn eglwys Dduw, bu farw yn Pant y Celyn y flwyddyn hon, yn bedair ar ddeg a thrugain oed, ac a gladdwyd yn monwent Llanfair y Brin. Cyfansoddodd ac argraffodd Mr. Williams lawer mewn prydyddiaeth a rhydd-

Marwolaeth Mr. W. Williams.

O. C. 1791.

iaith.

iaith. Megis, Haleluia, Golwg ar deyrnas Crist; Pantheologia; Theomemphus; Môr o Wydr; Tri Wyr Sodom a'r Aipht; Crocodeil Afon yr Aipht; Ductor Nuptiarum; Martha, Philopur, a Philo-Evangelius; Ffarwel Weledig, &c. Haleluia Drachefn; Drws Society Profiad; a llawer o Farwnadau.[a] CANT XVIII.

Mr. John Wesley, gwedi bod yn llafurus a llwyddiannus iawn yn y weinidogaeth dros fwy nâ hanner can mlynedd, a orphenodd ei yrfa yn orfoleddus y flwyddyn hon, yn bedwar ugain ac wyth oed, ac a gladdwyd yn Llundain.[b] Marwolaeth Mr. Wesley. O. C. 1791.

Ffurfiodd y Bedyddwyr y flwyddyn hon gymdeithas genadawl yn Kettering, i'r dyben i ledu yr efengyl yn mhlith y paganiaid. A'r flwyddyn ganlynol anfonasant Mr. Thomas a Mr. Carey, yn genadwyr i'r India ddwyreiniol lle buont yn ddefnyddiol iawn. Y mae y gymdeithas hon gwedi bod o fawr fendith i drigolion India. Mae cannoedd o honynt trwy fendith Duw ar ymdrechiadau y cenadwyr gwedi cael eu dwyn i gredu yn Nghrist; ac y mae Dr. Carey a'i gyfeillion, gwedi cyfieithu yr ysgrythyr i lawer o ieithoedd y dwyrain, ac yn parâu i fyned yn mlaen â'u gwaith canmoladwy a gogoneddus. Tra yr oedd rhai yn ymdrechu i helaethu yr Cymdeithas genadawl y Bedyddwyr. O. C. 1792.



[a] Trysorfa, Rhif. XI.

[b] Coke and Moore's Life of Wesley.

CANT XVIII.



efengyl yn mhlith y paganiaid, yr oedd ereill yn llafurus iawn yn y weinidogaeth yn Nghymru, a Duw yn llwyddo eu hymdrechiadau mewn amrywiol leoedd. Symudodd Mr. Owen Davies, yn y flwyddyn 1767, i Drelech, lle y bu yn llwyddiannus iawn dros lawer o flynyddoedd. Dywedir fod Mr. Davies yn ŵr o ddeall da, ac o dduwioldeb mawr; ei fod yn ddiwyd iawn yn y weinidogaeth, ac iddo farw y flwyddyn hon mewn henaint teg.

Marwolaeth O. Davies. O. C. 1792.

Bywyd a marwolaeth Mr. Edmund Jones.

Ganwyd yr enwog Mr. Edmund Jones, yn mhlwyf Aberystwith, yn sir Fynwy, o rieni duwiol mewn amgylchiadau isel. Gwedi ei wneuthur yn gyfranog o ras Duw, efe a gyflwynodd ei hun i waith y weinidogaeth; a phan oedd yn nghylch dwy flwydd ar hugain oed, dechreuodd bregethu yn ei gymmydogaeth ei hun, a Duw a'i llwyddodd i raddau helaeth. Yn y flwyddyn 1740, cafodd ei sefydlu yn weinidog eglwys Ebenezer, yn agos i Bontypool, yr hon oedd ef gwedi bod yn offerynol i gasglu, a lle y bu yn gwinidogaethu hyd ddydd ei farwolaeth. Yr oedd Mr. Jones yn ŵr o dduwioldeb a diwydrwydd mawr, yn hyddysg yn hanes yr eglwys, a phethau ereill perthynasol i'w swydd fel gweinidog Iesu Grist. Byddai pwy bynag a ymwelai â Mr. Jones, yn sicr o'i gael naill ai wrth ei lyfr neu gydâ ei Dduw. Yr oedd ei ddull o ymddyddan

âphobl

â phobl ieuainc yn serchiadol ac ennillgar iawn; a dywedir fod ei ymddygiad bob amser yn brydferth ac efengylaidd. Pan byddai oddi cartref yn ymweled â'i gyfeillion, esponiai gyfran o'r ysgrythur fore a hwyr; ac os byddai cyfleustra esponiai ar ol ciniaw, a diweddai trwy weddi fer a gwresog. Er nad oedd Mr. Jones yn cael ond ychydig gan ei bobl at ei gynnaliaeth, nid oedd neb yn fwy haelionus i'r tlodion yn ol ei sefyllfa. Ymadawai hyd y nòd â'i ddillad oddi am dano os gwelai wrthddrych tlawd mewn diffyg o honynt. Yr oedd Mr. Jones yn caru dynion da o bob enw. Yn mhlith ei gyfeillion mwyaf hoff y gellir cyfrif y diweddar arglwyddes Huntingdon. Daliodd gyfrinach â hi trwy lythyrau dros lawer o flynyddoedd; a phan byddai hi yn dyfod i Gymru, treuliai ychydig o amser gydâ hi yn athrofa Trefeca, ac y mae ei goffadwriaeth yn anwyl gan lawer o'r gweinidogion a ddygwyd i fynu yn yr athrofa hono. Ychydig o amser cyn ei farwolaeth, gofynodd cyfaill iddo, a oedd ef yn ofni angau? Attebodd yntef gydâ syndod, Y fi yn ofni angau! Nac ydwyf; yr ydwyf yn adnabod Iesu Grist yn rhy dda i ofni angau. Y mae angau ynddo ei hun yn ddychrynllyd, ond nid wyf i yn ei ofni. Pan oedd ar ei wely angau, gofynwyd iddo pa fodd yr oedd ar ei enaid? Attebodd, "Y mae y nefol wlad yn eglur yn fy ngolwg, ac nid oes

CANT. XVIII.

CANT XIII un cwmwl rhyngwyf â'r gogoniant." Felly y bu farw y gwr hynod hwnw yn y ddauddegfed Marwolaeth Mr. Edmund Jones. O. C. 1793. flwyddyn a phedwar ugain o'i oed, ac a gladdwyd yn ei dŷ cyfarfod ei hun. Yr oedd llarieidd-dra, aeddfwynder, symylrwydd, a chariad Mr. Jones y fath, fel ag yr addefodd gelynion crefydd, os oedd dynion da ar y ddaear fod Mr. Edmund Jones yn un.[a] Y flwyddyn ganlynol y bu farw Mr. D. Griffiths, o'r Feynor, yr hwn fu yn weinidog defnyddiol yn Llechryd, dros lawer o flynyddoedd.

O. C. 1795. Y flwyddyn hon y ffurfiwyd Cymdeithas Genadawl Llundain, yr hon sydd gwedi bod yn offerynol i anfon yr efengyl i ynysoedd môr y dëau, India, China, Affrica, ac amrywiol barthau ereill Marwolaeth Mr. P. Williams. O. C. 1796. o'r byd. Y flwyddyn ganlynol y bu farw Mr. Peter Williams, yn y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg a thrugain o'i oed. Yr oedd Mr. Williams gwedi ei urddo yn weinidog eglwys Loegr; ond yn fuan gwedi ei urddiad, efe a unodd â'r Methodistiaid, ac a fu yn wenidog llafurus, defnyddiol, ac enwog, yn eu plith. Cyhoeddodd Mr. Williams dri argraffiad o'r Bibl, yn llyfr pedwar plyg, a sylwadau ar bob pennod. Argraffodd hefyd Fibl bychan, Mynegair ysgrythyrol, ac amryw Draethodau crefyddol.[b]

John Walters, A. M. person plwyf Llandochau,

[a] Geirgrawn. [b] Cam. Biog.

CANT XVIII.

Marwolaeth Mr. Walters. O. C. 1797.

dochau, yn sir Forganwg, yr hwn oedd ddifeinydd a beirniad enwog, a fu farw y flwyddyn hon. Ei brif lafur oedd cyfansoddiad o Eirlyfr Saesneg a Chymraeg, yr hwn a gyhoeddodd efe yn y flwyddyn 1794. Efe a ysgrifenodd hefyd Draethawd ar yr iaith Gymraeg, a rhai pregethau.[a]

Yn nghylch y flwyddyn 1790, un John Evans, gwr ieuanc o sir Gaernarfon, a aeth i America i'r dyben i gael allan yr Indiaid Cymreig, neu hiliogaeth Madog a'i ganlynwyr. Gwedi myned trwy lawer o anhawsderau, a threiddio y'nghylch tri chant ar ddeg o filldiroedd ar hyd yr afon Missouri, gorfu iddo ddychwelyd i St. Louis ar yr afon Mississippi. Y penllywydd yno a'i hannogodd i gymmeryd taith arall, gyda chymdeithion a phob peth angenrheidiol i wneuthur dadguddiadau. Ond bu farw John Evans o dwymyn y flwyddyn hon, pan oedd pob peth yn barod i ddiogelu llwyddiant ei anturiaeth.[b] O. C. 1797.
Paul Panton, Yswain, o Blas-gwyn, yn sir Fon, a fu farw y flwyddyn hon, yn y seithfed flwyddyn a thrugain o'i oed. Yr oedd Mr. Panton yn hyddysg iawn yn hanes a hynafiaethau Cymru, ac a adawodd ar ei ol gasgliad gwerthfawr o ysgrifenadau Cymreig. Yr oedd hefyd yn haelionus iawn i'r cyfryw ag oedd yn llafurio yn yr un gorchwyl. Daeth yn feddiannol ar lyfrau Mr.

[a] Cam. Biog. [b] Cam. Biog.

CANT XVIII.



Mr. Evan Evans, mewn canlyniad iddo sefydlu ugain punt y flwyddyn, ar yr offeiriad aflwyddiannus hwnw yn ei flynyddoedd diweddaf.[a]

Y Ffrancod yn tirio yn Nghymru. O. C. 1797.

Tiriodd dros ddeuddeg cant o'r Ffrancod yn agos i Abergwaun, yn sir Benfro, y flwyddyn hon, yr hyn a barodd ddychryn nid bychan trwy yr holl gymmydogaethau. Ond cyn iddynt fyned yn mhell o'r lle y tiriasant, daeth arglwydd Cawdor ac ychydig o filwyr yn eu herbyn, a thaflasant eu harfau lawr heb wneuthur llawer o ddrwg. Y Saeson hefyd a gymmerasant y llongau yn y rhai y daethant drosodd.

O. C. 1798.

Yn nghylch yr amser hyn y bu farw Goronw Owain, A. M. un o'r prydyddion mwyaf a ddangosodd yn mhlith y Cymry. Yr oedd Mr. Owain, yn fab i wladwr o Lanfair yn Mathafarn Eithaf, yn sir Fon. Mr. Lewis Morris, gwedi sylwi ar ei gynneddfau cryfion pan oedd yn fachgen, a'i dygodd ef i fynu yn offeiriad. Gwedi ei urddo, sefydlodd Mr. Owain dros ychydig yn ei blwyf ei hun, ond gorfu arno symud yn fuan oddi yno i Groesoswallt. Yn y flwyddyn 1748, aeth oddi yno i Donnington, lle y bu yn hyfforddi ieuenctyd, ac yn gwasanaethu eglwys Uppington. Yn 1753, symudodd oddi yno i Walton, yn sir Gaerlleon. Bu gwedi hyny yn gurad yn Northolt. Pan fethodd gael un dyrchafiad yn yr eglwys sefydledig,

[a] Cam. Biog.

sefydledig, efe a aeth drosodd i America, ac a sefydlodd yn weinidog eglwys Williamsburg yn Virginia.[b] CANT XVIII.

Llawer o'r Bedyddwyr yn Nëaubarth Cymru, yn nghylch diwedd y cant hwn, a newidiasant eu barn yn nghylch y pum pwnc mewn dadl rhwng y Calfiniaid a'r Arminiaid; a chafodd eglwysi o Fedyddwyr cyffredinol eu corffoli mewn amrywiol leoedd mewn canlyniad i hyny. Ond er i lawer y pryd hyny fadael â'r Bedyddwyr neillduol, dychwelodd rhai gweinidogion a llawer o aelodau, yn ol drachefn at eu hen frodyr. Y flwyddyn hon y bu farw Mr. David Samwell, prydydd enwog o Nantglyn, yn sir Dinbych. Yr oedd Mr. Samwell, yn llawfeddyg yn y llong Discovery, gydâ chadpen Cook, ac yn llygaddyst o farwolaeth y mordwywr clodfawr hwnw, ac efe a ysgrifenodd hanes ei farwolaeth alarus yn y Biographia Britanica. O. C. 1799.

Y beirdd mwyaf enwog yn y cant hwn, heblaw y rhai a enwyd eisoes, oedd y gwyr canlynol. David Jones, Trefriw; David Hopkin, o'r Coity; David Nicolas, o Ystrad Dyfodawg; David Thomas, o Ystrad Dyfodawg; Robert Hughes; Huw Huws, neu y bardd Coch; Lewis Hopkin; a Sion Rhydderch.[c] Beirdd.

Dangosodd

[b] Cam. Biog. [c] Cam. Biog.

CANT XVIII.

Dangosodd yr Arglwydd lawer o diriondeb tuag at y Cymry mewn amrywiol ffyrdd yn ystod y cant hwn. Cyfododd lawer o weinidogion ffyddlon yn eu plith, y rhai fu yn ddefnyddiol iawn yn eu dydd. Parâodd, helaethodd a bendithiodd hefyd ragorfreintiau gwladol ac eglwysig y Cymry, fel ag y mae terfynau teyrnas Crist, yn lawer mwy helaeth yn ein gwlad ar ddiwedd nag oeddent ar ddechreuad y cant hwn.

Y PEDWERYDD

## Y PEDWERYDD CANT AR BYMTHEG.

CANT XIX.

Mr. L. Rees.

GANWYD Mr. Lewis Rees, yn y flwyddyn 1710, yn agos i Gastell Nedd, yn sir Forganwg. Yr oedd ei rieni yn bobl dduwiol, ac yn aelodau yn Blaengwrach. Cafodd Mr. Rees ei dueddu at grefydd yn ieuanc, a phan welodd yr eglwys ei fod yn ŵr ieuanc duwiol, o gynneddfau cryfion, a doniau helaeth mewn gweddi; annogasant ef i gyflwyno ei hun i waith y weinidogaeth. Gwedi bod gydâ Mr. Davies, gweinidog Blaengwrach, dros ychydig yn yr ysgol, aeth Mr. Rees, i ysgol Mr. J. Simons o Gastell Nedd, ac oddi yno i ysgol Mr. Price o Tynton, yn agos i Ben-y-Bont. O Tynton aeth i áthrofa yr Ymneillduwyr, ag oedd y pryd hyny yn y Maesgwyn, yn sir Faesyfed, dan olygiad Mr. Vavasor Griffiths. Gwedi i Mr. Rees dreulio ychydig fisoedd yn yr athrofa hono, ei athraw yn gweled fod ganddo gymhwysderau at y weinidogaeth, a bod diffyg mawr o weithwyr yn ngwinllan Crist, a'i hannogodd i gyflwyno ei hun yn hollol i'r gwaith o bregethu. Er cymmaint oedd dymuniad Mr. Rees am wybodaeth o'r ieithoedd a'r celfyddydau, efe a ufuddâodd i'w athraw, ac yn

CANT XIX. nghylch y flwyddyn 1734, efe a sefydlodd gydâ chynnulleidfa o Ymneillduwyr, ag oedd gwedi eu casglu trwy lafur Mr. V. Powel a Mr. H. Owen, yn Llanbrynmair. Nid oedd ond chwech lle addoliad gan yr Ymneillduwyr yn Ngogledd Cymru pan aeth Mr. Rees i Lanbrynmair. Dau yn Ngwrecsam, un yn Llanfyllin, un yn Dinbych, un yn Newmarket, ac un yn Mhwllheli. Yr oedd ychydig o Ymneillduwyr mewn rhai lleoedd ereill, ond cyfarfyddent i addoli mewn tai cyffredin. Ar daer ddymuniad Mr. Rees, yr aeth Mr. Howell Harries gyntaf i bregethu i gymmydogaeth y Bala. Byddai Mr. Rees, pan yn Llanbrynmair, yn myned yn fynych i bregethu i'r siroedd cymmydogaethol, ac er cymmaint oedd yn cael ei erlid, yr oedd Duw yn ei lwyddo i raddau helaeth gartref ac oddi cartref. Efe oedd yr offeryn a ddechreuodd achos yr Ymneillduwyr yn Llanuwchlyn; ac mae yn debygol mai efe oedd yr Ymneillduwr cyntaf a fu yn pregethu yn sir Fôn. Gwedi myned yno ar ddeisyfiad William Pritchard, a thri brawd ag oedd yn byw yn Môn, efe a ganfu liaws o wrthwynebwyr gwedi dyfod y'nghyd, gydâ bwriad i'w rwystro a'i anmharchu. Safodd yntau i fynu a rhoddodd yr adnod gyntaf o'r salm CXXI, allan i'w chanu. "Dysgwyliaf o'r mynyddoedd draw, lle daw i'm help 'wyllysgar," &c. Tybiodd ei wrthwynebwyr fod llu yn dyfod ar ei ol

o fynyddoedd

CANT XIX.

o fynyddoedd Caernarfon i'w amddiffyn, a llanwyd hwynt â'r fath fraw, fel y cafodd lonydd i fyned yn mlaen â'i waith. Bu ei fywyd mewn perygl lawer gwaith, ond yr Arglwydd a'i gwaredodd o'i holl drallodion. Pan oedd Mr. Rees yn myned heibio i ryw eglwys ar y Sabbath, canfu amryw lanciau yn chwareu pêl yn y fonwent. Nesâodd atynt a gofynodd iddynt, "A oedd dim cywilydd arnynt i halogi y Sabbath?"—Pan glywsant hyn, eu blaenor a gymmerodd bawl o'r cae, ac a redodd at Mr. Rees, gan ddywedyd, "Pwy hawl sydd genych chwi i ddywedyd dim wrthym ni?" "Beth, ebe Mr. Rees, ai chwi yw gwas penaf y diafol, eich bod yn dyfod i amddiffyn ei achos ger fy mron i?"—Yn y fan collodd y llanc rym ei aelodau, ac a syrthiodd ar y ddaear, a gorfu i'w gyfeillion annuwiol i'w gario ef adref. Ar amser arall, pan oedd Mr. Rees yn myned trwy Lanymowddy, canfu ŵr yn dyfod allan o efeildy-gôf, ac yn rhedeg i'w gyfarfod â phawl mawr yn ei ddwylaw, fel pe buasai yn bwriadu i'w daro oddi ar ei geffyl âg ef; ac yn yr agwedd hono yr aeth heibio heb wneuthur dim niwed iddo. Pan aeth Mr. Rees heibio yr efeildy, efe a glywodd y gwyr ag oedd yno yn gofyn i'r gwr â'r pawl pan ddychwelodd, paham na tharawsai efe ef fel ag yr oedd yn bwriadu. "Nis gwn i," ebe yntau, "beth oedd ar fy mreichiau, canys nid oedd yn bosibl i mi i'w plygu, er cym-

 maint

CANT XIX.



maint fy ymdrech, nes iddo fyned heibio i mi." Yn y flwyddyn 1759, symudodd Mr. Rees i'r Mynyddbach, gerllaw Abertawe, lle y bu yn gweinidogaethu hyd ei farwolaeth. Gwedi bod bum mlynedd ar hugain yn llafurio yn Llanbrynmair, ac un a deugain yn y Mynyddbach, efe a orphenodd ei fywyd gwerthfawr y flwyddyn hon, yn y ddegfed flwyddyn a phedwar ugain o'i oed, ac a gladdwyd yn y Mynyddbach. Yr oedd gan Mr. Rees ddawn mawr mewn gweddi, a phan byddai mewn teuluoedd dyeithr, gweddiai dros bob un o'r teulu wrth ei enw. Llygredd y natur ddynol, iawn Crist, a gwaith yr Ysbryd Glân, oedd yr athrawiaethau ag y byddai yn pregethu fynychaf arnynt. Yr oedd Mr. Rees yn ŵr o ddeall da, ac o reswm parod; a gwnaeth lawer o ddaioni yn ei oes.[a] Y flwyddyn ganlynol y bu farw Mr. Rice Jones o'r Blaenau, yn sir Feirionydd, yr hwn oedd un o'r prydyddion mwyaf enwog yn Nghymru, yn ei ddydd. Yn y flwyddyn 1770, efe a gyhoeddodd lyfr pedwar plyg, yn cynnwys pigiadau dewisol o waith y prydyddion o'r amrywiol oesoedd.[b]

Marwolaeth Mr. L. Rees. O. C. 1800.

Unwyd yr Iwerddon yn un deyrnas â Brydain y flwyddyn hon; a chytunwyd na byddai ond un senedd i gael ei chynnal ganddynt. Anfonir 32 o arglwyddi

[a] Roberts's Life of Mr. L. Rees.

[b] Cam. Biog.

o arglwyddi o'r Iwerddon, i eistedd yn nhŷ yr arglwyddi yn Lloegr, a chant o gynnrychiolwyr siroedd a threfydd, i eistedd yn y tŷ cyffredin. CANT XIX.

Gwedi i'r bobl a elwir Sosiniaid fod dros lawer o flynyddoedd mewn cymundeb a rhai eglwysi nad oeddent yn hollol o'r un ddaliadau â hwynt, neillduasant y'nghylch yr amser hyn, a ffurfiasant eu hunain yn gorph gwahanol, dan yr enw Dwyfundodiad; ac y mae yn bresennol amryw o eglwysi y Dwyfundodiaid yn y Dëaubarth. Dwyfundodiaid. O. C. 1802.

Robert Raikes, Yswain, o Gaerloyw, wrth weled y nifer mawr o blant tlodion ag oedd yn cael eu dwyn i fynu mewn anwybodaeth o Dduw, a dyledswyddau crefyddol, a dybiodd y gallasai Ysgolion Sabbathol fod o ddefnydd mawr yn y wlad. Ac wedi iddo sefydlu Ysgolion Sabbathol yn gyntaf yn Nghaerloyw, yn y flwyddyn 1783, a gweled eu heffeithiau dymunol, bu yn gynnorthwyol i'w sefydlu hefyd mewn amryw ranau o'r deyrnas. Yr oedd yr Ysgolion Sabbathol gwedi cynnyddu i'r fath raddau y pryd hyn yn Nghymru, fel nad oedd digon o lyfrau i ddiwallu diffyg y cyfryw ag oedd yn dysgu darllen. Mewn canlyniad i hyn Mr. Charles o'r Bala, a brynodd gymmaint o Destamentau Cymraeg a allasai gael, ac ymdrechodd i dycio gydâ y Gymdeithas tuag at ddwyn yn mlaen Wybodaeth Dechreuad Ysgolion Sabbathol.

CANT XIX.



aeth Gristianogol, i gyhoeddi argraffiad o'r Bibl Cymraeg. Gwedi methu llwyddo yn y ffordd hono, daeth i'w feddwl y gallasid cyhoeddi argraffiad o'r Bibl Cymraeg trwy gynnorthwy tansgrifiadau dynion neillduol. Gydâ golwg ar hyn efe a aeth i Lundain, a chwedi ymddyddan â'i gyfeillion yno, cafodd annogaeth ddigonol i fyned yn mlaen â'i waith canmoladwy. Gwedi ymgynghori yn mhellach ar y peth, tybiwyd mai peth dymunol a fyddai sefydlu cymdeithas i'r dyben i roddi Biblau i'r tlodion am bris isel; a hyn oedd yr arweiniol achos i flurfio y sefydliad gogoneddus hwnw, ag sydd o gymmaint bendith i ddynolryw, sef y Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor.*

Dechreuad y Bibl Gymdeithas. O. C. 1803.

Mr. Richard Morgans a gafodd ei ddwyn i fynu yn athrofa y Fenni, ac a sefydlodd yn weinidog yn Henllan. Yr oedd yn ŵr dysgedig, yn bregethwr iachus, ac yn weinidog llafurus. Gwedi bod yn ddiwyd yn y weinidogaeth dros un flynedd ar bymtheg ar hugain, efe a fu farw y flwyddyn hon, ac a gladdwyd yn Henllan. Dewisodd yr eglwys Mr. John Lloyd o Horeb, ag oedd gwedi ei ddwyn i fynu yn athrofa Caerfyrddin, yn weinidog yn ei le ef.

Marwolaeth Mr. R. Morgans. O. C. 1805.

Ganwyd Mr. Isaac Price mewn lle yn agos i Lanwrtyd, ac yr oedd ei dad yn aelod yn yr eglwys

* Evan. Mag.

CANT XIX.

eglwys hono. Cafodd Mr. Price ei dueddu at grefydd yn ieuanc, a dechreuodd bregethu yn bedair ar bymtheg oed. Gwedi i'r eglwys gael boddlonrwydd yn ei gymhwysder a'i alwad i waith y weinidogaeth, cafodd ei urddo pan oedd yn dair ar hugain oed yn Troedrhiwdalar, fel cynnorthwywr i Mr. Thomas Morgan, yr hwn a ddaeth yn weinidog yno ar ol Mr. James Davies. Cyfododd Mr. Price fel mab y daran, a bu lwyddiannus i ddwyn cannoedd o bechaduriaid at Grist. Cyfododd dros bymtheg o bregethwyr defnyddiol yn ei eglwysi yn ei amser ef. Gwedi bod hanner can mlynedd yn y weinidogaeth heb i'w droed lithro yn weledig, na neb yn abl i'w gyhuddo o fai cyhoeddus, efe a fu farw yn dawel yn Nghrist y flwyddyn hon, yn driugain a thair ar ddeg oed:[a] a chafodd Mr. David Williams, o'r gymmydogaeth hono, ei urddo yn weinidog yn ei le ef.

Marwolaeth Mr. J. Price. O. C. 1805.

Bu y deyrnas hon dros lawer o flynyddoedd yn dwyn yn mlaen fasnach mewn dynion. Cymmerid hwynt trwy drais o gyffiniau Affrica, a chwedi eu dwyn hwynt mewn llongau i ynysoedd yr India Orllewinol, gwerthid hwynt yno fel anifeiliaid i drin y tir. Bu cyfeillion dynoliaeth yn ymdrechu dros lawer o flynyddoedd i ffynu gydâ y senedd, i ddiddymu y fasnach ddrygionus

[a] Mr. Williams's Letter.

CANT XIX.



O. C. 1807.

ddrygionus hono; ac er mawr lawenydd i bawb ag sydd yn caru dynolryw, cafodd ei ddiddymu y flwyddyn hon.

Bywyd a Marwolaeth Mr. Llwyd, o Gaio.

Mr. William Llwyd, o Gaio, yn sir Gaerfyrddin, a gafodd ei ddwyn i fynu dan olygiad Mr. Owen Davies, a phan oedd yn ddeunaw oed, cafodd ei argyhoeddi dan weinidogaeth Mr. Peter Williams, a'i ddwyn i ryddid dan weinidogaeth Mr. Evan Jones, o Ledrod. Mr. W. Llwyd, gwedi ei ddychwelyd at yr Arglwydd, a unodd â chynnulleidfa o Ymneillduwyr ag oedd yn y gymmydogaeth. Ond pan ffurfiwyd cymdeithas neillduol gan y Methodistiaid yn mhlwyf Caio, efe a adawodd yr Ymneillduwyr ac a unodd â'r Methodistiaid. Pan oedd yn ddwy ar hugain oed, cafodd ei alw a'i neillduo i bregethu yn mhlith y Methodistiaid. Dechreuodd ei weinidogaeth gydâ bywiogrwydd anarferol, a gwnaeth yr Arglwydd ddefnydd mawr o hono, fel y cafodd llawer eu galw trwyddo. Yr oedd yn gweinidogaethu yn danllyd ac yn argyhoeddiadol yn aml, ond testun cyffredin ei weinidogaeth oedd Crist a'i iechydwriaeth. Yr oedd ei weinidogaeth yn efengylaidd, yn beraidd, yn wlithog, ac yn doddedig iawn; a pheth sydd yn fwy nâ'r cwbl, yr oedd Duw yn arddel ac yn llwyddo ei lafur. Teithiodd i bregethu yr efengyl trwy y Dëaudir a Gwynedd, dros ddeugain mlynedd,

mlynedd gydâ mawr lafur a lludded; ac ni bu fawr attalfa arno yn ei lafur oddiwrth afiechyd corfforol, na negesau bydol yn yr holl amser hyny. Yr oedd yn dangnefeddwr neillduol yn yr eglwys tra fu byw, a gorchymynodd i'w frodyr crefyddol, yn ei oriau diweddaf, am iddynt fod yn wyliadwrus ac yn ymdrechgar i feithrin brawdgarwch, a chadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd. Yr oedd Mr. Llwyd yn pregethu yn Llanddeusaint a Llansadwrn y Sabbath y cafodd ei daro â'r clefyd a fu yn angau iddo. Daeth adref, ac wedi gorwedd ar ei glâf wely bum' niwrnod, gorphenodd ei yrfa y 17 o Ebrill y flwyddyn hon, yn y seithfed flwyddyn a thriugain o'i oed, ac a gladdwyd yn monwent Caio. Yn yspaid y pum' diwrnod y bu yn glâf, yr oedd ei feddwl yn dawel ac yn gysurus, gan bwyso yn gwbl ar haeddiant a ffyddlondeb Iesu. Gofynodd un o'i frodyr iddo, beth oedd ei feddwl am yr athrawiaeth y bu yn ei phregethu dros gynnifer o flynyddoedd—Attebodd yntau, "Dim i mi, yr wyf yn *mentro* fy mywyd arni am dragywyddoldeb." Cafodd ei gynnal o ddechreuad ei daith yn ddiddolur i'r eglwys, ac yn ddiachos cabl i'r efengyl.[a]

O. C. 1808.

Mr. Simon Williams, gwedi bod dros flynyddoedd lawer yn weinidog llafurus, defnyddiol, a

 pharchus,

[a] Trysorfa, Rhif. III.

CANT XIX. O. C. 1810. pharchus, yn Tredwstan, a fu farw y flwyddyn hon, yn bedwar ugain a deg oed. Mr. Walter Lewis, yr hwn a ddygasid i fynu yn athrofa Caerfyrddin, a gafodd ei urddo yn weinidog Tredwstan wyth mlynedd cyn marwolaeth Mr. Williams.

Y Wesleaid. Nid oedd gan y Wesleaid un gweinidog teithiol, yn pregethu yn yr iaith Gymraeg, cyn dechreu y cant hwn. Ond yn y gynnadledd a gynnaliwyd yn Llundain, yn y flwyddyn 1800, y brodyr a ddeisyfasant ar Mr. Owen Davies, a Mr. John Hughes, i fyned yn Genadwyr i Wynedd. Ufuddâusant i'r deisyfiad hwnw, a dechreuasant yn union-gyrch ar eu cenadwri yn Ruthyn, yn sir Dinbych, lle y cawsant gymdeithas fechan, ac un arall yn Dinbych, y rhai oedd gwedi eu ffurfio gan Mr. John Bryan, a Mr. Edward Jones, y rhai ychydig cyn hyny oeddent gwedi dechreu pregethu yn yr iaith Gymraeg. Trwy eu cynnorthwy hwynt, a hên ddyscybl yn Northop, bu y Cenadwyr yn abl i ymweled â'r rhan fwyaf o'r trefydd a'r pentrefydd mawr yn sir Dinbych a sir Fflint; a Duw yn rhoddi iddynt ffafr yn ngolwg y bobl, a chymdeithasau yn cael eu ffurfio yn mron yn mhob lle y byddent yn myned iddynt i bregethu. Yn fuan yn ol hyn, Mr. Bryan, a Mr. Jones, a gyflwynasant eu hunain yn hollol i waith y weinidogaeth fel pregethwyr

CANT XIX.

wyr teithiol. Gwedi hyny, cyfododd dau neu dri o bregethwyr yn ychwaneg, yr hyn a'u galluogodd i fyned yn mlaen trwy sir Gaernarfon, sir Fôn, sir Feirionydd a sir Drefaldwyn. Fel ag yr oeddent yn myned yn mlaen yr oedd pregethwyr newydd yn cyfodi fynu, a chymdeithasau yn cael eu ffurfio, nes iddynt yn yspaid deng mlynedd, helaethu eu llafur yn mron trwy bob parth o Wynedd a Dëaubarth. Y mae ganddynt yn bresennol ddau ar bumtheg o gylchau, yn cynnwys y'nghylch pedwar cant o gymdeithasau, a chwe' mil o aelodau; ac y mae ganddynt oddiamgylch pedwar ugain o gapeli gwedi eu hadeiladu, o fewn i'r naw mlynedd diweddaf, y rhai a gyflawnir gan bregethwyr Cymraeg yn unig. Y mae un ar bumtheg o bregethwyr teithiol yn yr iaith Saesonaeg, a deugain yn yr iaith Gymraeg, heblaw llawer o bregethwyr llëawl, yn y ddwy iaith, yn gwasanaethu yn bresennol yn y weinidogaeth yn mhlith y Wesleaid yn y Dëaubarth a Gwynedd.[a] O. C. 1810.

Mr. John Griffiths, o Glandwr, a anwyd yn y Castellgarw, yn mhlwyf Llanglwydwen, yn sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1732. Gwedi uno âg eglwys Glandwr, efe a gyflwynodd ei hun i waith y weinidogaeth. Bu dros ychydig amser yn athrofa Caerfyrddin, ond gorphenodd ei ddygiad i fynu, yn athrofa y Fenni. Cafodd al-



[a] Mr. O Davies's Letter.

CANT XIX.


wad gan eglwys Glandwr, ac yn y flwyddyn 1760, urddwyd ef yn weinidog yno, a pharâodd i weinidogaethu yn eu plith hyd fis Medi, yn y flwyddyn 1802, pan gafodd, trwy afiechyd, ei analluogi i gyflawni dyledswyddau y weinidogaeth. Bu farw yn dawel y seithfed o Dachwedd, y flwyddyn hon. Yr oedd Mr. Griffiths yn ŵr duwiol, o gynneddfau cryfion; yn ysgolhaig da, ac yn bregethwr enwog. Bu yn ddefnyddiol iawn yn ei ddydd, nid yn unig fel gweinidog yr efengyl, ond hefyd fel hyfforddwr dynion ieuainc. Mae ei fab, Mr. W. Griffiths, yn weinidog yn ei le yn Glandwr, a Mr. W. Evans yn weinidog yn yr eglwysi ereill.

Marwolaeth Mr. J. Griffiths. O. C. 1811.

Gan nad oedd nifer ddigonol o offeiriaid eglwys Loegr, yn gweinidogaethu yn mhlith y Methodistiaid, yn gyfattebol i luosogiad y corff ac ëangder y gwaith, a bod llawer o'u heglwysi dan anfantais mewn canlyniad i hyny, gwelodd y corff yn gymhwys ac yn angenrheidiol, i neillduo nifer addas o lefarwyr, yn yr amrywiol siroedd i gynnorthwyo yr offeiriaid yn ngweinyddiad yr ordinâdau. Mewn canlyniad i hyn, cafodd wyth o lefarwyr y Gogledd eu hurddo yn y Bala, yn mis Mehefin y flwyddyn hon, yn y dull canlynol. Darllenodd Mr. John Evans, o'r Bala, 1 Tim. iii. ac a wnaeth sylwadau addas ar y bennod. Yna darllenodd Mr. Charles, o'r

Yr urddiad cynta' y'mhlith y Methodistiaid. O. C. 1811.

Bala,

CANT XVIII.

Bala, enwau y personau oedd wedi cael eu dewis gan gyfarfodydd misol yr amrywiol siroedd, a gofynodd iddynt eu barn yn nghylch amrywiol athrawiaethau y grefydd Gristianogol. Wedi derbyn eu hatebion syml a golau, gofynodd i gynnrychiolwyr y corff, a oeddent hwy yn dewis y brodyr hyny i weini yr ordinâdau o Fedydd a Swper yr Arglwydd yn eu plith.—Wedi cael ateb cadarnâol, gofynodd Mr. Charles i'r brodyr, a oeddent hwy yn cydsynio â galwad y corff i weini yr ordinâdau yn eu plith, ac yn ymroddi i fod yn ffyddlon, yn llafurus, ac yn ddiwyd, yn holl waith y weinidogaeth, yn ol y cymhorth a gaent gan Dduw. —Wedi atteb eu bod, rhoddodd Mr. Robert Jones, o sir Gaernarfon, air o gynghor difrifol iddynt hwy, ac i'r corff yn gyffredin, a diweddodd y cwbl gydâ gweddi daer ac addas i'r achos. Cafodd tri ar ddeg o lefarwyr y Dëaudir eu hurddo y mis Awst canlynol yn Llandilo-Fawr, yn yr un dull ond gan wahanol bersonau. Nid oes un o weinidogion y Methodistiaid yn cael eu golygu fel yn perthyn i un gangen o'r corff yn fwy nâ'u gilydd; ond eu bod oll i weini yr ordinâdau i bob cangen o'r corff, fel y byddo eu cyfleusdra, a'r galwad am danynt.*

Ganwyd

* Golygiad Byr, &c.

